# TESTAMENT

YR

# YSGOL SABBOTHOL,

YNGHYD A

SYLWADAU EGLURHAOL AC YMARFEROL ARNO.

YR EPISTOL AT Y

## RHUFEINIAID.

**CYFROL V.**

GAN

JOHN JONES, MERTHYR TYDVIL,

GYNT O LANGOLLEN.

---

MERTHYR TYDVIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN JOHN JONES,

AC AR WERTH HEFYD

GAN HOLL LYFRWERTHWYR Y DYWYSOGAETH.

1849.

# RHAGYMADRODD.

Yr wyf yn cyhoeddi i'r byd ffrwyth fy llafur ar yr epistol at y Rhufeiniaid gyda gwylder diffuant, a theimlad crynedig o'r cyfrifoldeb yr aethum dano drwy hyny; a chan mai ynddo mae'r gwaith ar ba un y gorphwysa'm prif obaith o ddefnyddioldeb, fy nyledswydd gyntaf yw cydnabyddiaeth ddiolchgar a gostyngedig i Dduw yn Nghrist, am y gradd o dderbyniad a roddwyd iddo gan wyr defnyddiol a dysgedig, i'w heglwysi.

Diangheñrhaid i mi ddywedyd fy mod yn gweled anghen am y fath lyfr ar fy nghydgenedl, a bod ynddo lawer o ddeongliadau, esboniadau, a sylwadau duwinyddol ac ymarferol, a'r nad oedd gyrhaeddadwy i'r Cymry uniaith, os nad i'r Saeson hefyd, o'r blaen. Pe na thybiaswn hyny, buasai yn feius ynof flino y cyffredin ag ef.

Mae yr epistol hwn wedi bod yn fath o fynydd Olympus, os gellir arferyd y gydmhariaeth, ar ba un y mae cystadleuwyr duwinyddol wedi cyfarfod â'u gilydd i wrth-ymdrechu o hyd er y drydedd ganrif, ac fe allai yn foreuach.

Pa fodd y gallai hyn fod yn wahanol, tra dadleua'r epistol ar y penaf a dyfnaf o bynciau y gyfundrefn Gristionogol; tra mae dynion yn cael eu magu mor wahanol i'w gilydd, o ran ffordd o esbonio yr ysgrythyrau? Oherwydd hyn, rhaid i esboniwr yr epistol hwn yn yr oes bresennol ddysgwyl gwrthwynebiad, bydded ei olygiadau yr hyn a f'ont. Bydded efe yn Galfiniad, Arminiad, Morganiad, Fwleriad, Antinomiad, Sociniad, neu unrhyw blaid arall, ofer hollol iddo ddysgwyl dianc; ac nid wyf finnau, yn dysgwyl, (tra yn teilyngu hyny,) dianc ychwaith, ac er yn medru hawlio rhyddid oddiwrth gredoeu pob un o honynt. Mae Paul yn ysgrifenydd rhy drwm i neb ddewis ei addef yn wrthwynebydd. O ganlyniad, pan ei deongler nes y tybir ei fod yn tueddu at farn rhyw blaid yn neillduol, mae pleidiau ereill yn rhy barod i gyduno mewn condemnio y deongliad. Ni bydd dim a'u boddlona ond gosod Paul yn rhenc eu byddin dduwinyddol hwynt. Truan, ynte, fydd yr esboniwr! Nid oes ganddo ddim, gan hyny, i'w wneuthur, ond grymuso ei feddwl, cyn dechreu cyhoeddi, i ddwyn y cwbl, a'i ddwyn yn amyneddgar a diysgog, onide gwell iddo guddio ei ysgrif yn ei lyfrgell. Yr holl gysur a gaiff fydd tystiolaeth ei gydwybod, a'i obaith yn ieuenctyd ymchwilgar ei oes a'r oesoedd dyfodol, i gael eu hennyn gan Dduw y gwirionedd, i ymholi ar ol y gwir drwy lewyrch y naill esboniad ar ol y llall, nes dod i weled y meddwl dwyfol i fanylder.

Am danaf fy hun, nid wyf yn proffesu fy mod yn rhydd oddiwrth holl ragfarnau dygiad i fyny, ac ymlyniad credoaidd, i'r fath raddau ag i sicrhau na all fy ngolygiadau, ar ol y cwbl a ellais, aros o hyd ar rai pynciau, yn frycheulyd oddiwrthynt. Ac nid wyf yn proffesu y fath oleuni mewn pethau dwyfol, a medrusrwydd yn yr ieithoedd gwreiddiol, a deddfau beirniadaeth y Testament Newydd, ag i sicrhau fod fy holl benderfyniadau mewn perthynas i ystyriaethau yr epistol yn gywir. Etto mae fy argyhoeddiadau o'm cywirdeb ar bob pwnc a broffesais egluro, yn gryfion a chyflawn. Eu dangos yn amgen fuasai yn annhegwch â hwynt. Eithr, nid yw hyn yn rhoi lle i gasglu fy mod yn anghofus o wendidau y natur ddynol, neu o'm peryglon fy hun o gyfeiliorni. Os meddaf y wybodaeth leiaf o'm calon fy hun, y mae yn mhell iawn oddiwrth y fath ddideimladrwydd. Ond, gwedi'r cyfan, dichon dyn fo'n agored i gyfeiliorni ffurfio tybiau, a theimlo yn sicr a thawel o'u cywirdeb. Y mae pob dyn fel hyn, a dylai pob dyn wneuthur hyn; a'r hyn oll a ellir yn rhesymol ei ofyn oddiwrthym yw, dal ein hunain yn agored i argyhoeddiad, pa bryd bynag y cynnygir rhesymau digonol i'n hargyhoeddi o'n cyfeiliornadau.

Yn y sefyllfa hon yr wyf finnau, debygwyf, yn aros, o ran y tybiau a ddygir allan yn yr esboniadau a ganlyn. Gallaf ddywedyd yn ddifrifol, nad oes dybiau ynddynt wedi eu coleddu a'u cyhoeddi yn fyrbwyllaidd. Mi a fum yn lled hir yn olrhain yr Epistol at y Rhufeiniaid, a llafuriais fwy i'w iawn ddeall na chydag un gyfran arall o'r ysgrythyrau; ac am hyny y cyhoeddais fy nodiadau arno *yn awr*, yn hytrach nag aros nes cyhoeddi'm sylwadau ar y rhanau blaenorol o'r Testament Newydd yn gyntaf; oherwydd pe gwelsai doeth Ragluniaeth yn dda fyrhau fy einioes, dewisach oedd genyf fyned i orphwys i'm bedd wedi methu cyhoeddi fy esboniadau ar y rhanau ereill o'r llyfr dwyfol, na chwedi methu dwyn allan i'm cydwladwyr, yr hyn oedd yn gorphwys yn ddwys ar fy meddwl er ys blynyddau, mewn perthynas i wir ystyr yr Epistol tra chynnwysfawr *hwn*.

Gallaf ddywedyd nad wyf wedi rhuthro yn ddiystyr o feddyliau y gwyr da a dysgedig a'm rhagflaenasant yn yr ymchwyl hyn, canys dyfynais a gosodais fwy o honynt gerbron y darllenydd, ar o'r bron bob adnod, nag a osodwyd o'r blaen mewn un llyfr o gyffelyb faintioli; ïe, gallaf ychwanegu y dywed pob beirniad, nad oes i'w gael mewn un iaith farnau cynnifer o wyr gwir ddysgedig wedi eu dethol ynghyd, ag a geir yma i'r Cymro uniaith, am ddim ond pum-swllt yn unig.

Dylid awgrymu i'r darllenydd y bydd ei amynedd yn cael ei alw at ei waith, a'i ragfarn yn cael ei rhoi ar brofiad tanllyd, gan aml ddalen o'r gwaith hwn. Dymunwn wystlo ei bwyll wrth ddarllen y golygiadau gwreiddiol a geir yma ar y Ddeddf, y Ffydd, yr Iawn, Pechod Gwreiddiol, Cadwyn yr Achub, yr Etholedigaethau, a Thynghedfen yr Iuddewon, ynghyd â'r ugeiniau o sylwadau hollol ddyeithr a gyfarfyddant â'i sylw mewn ffurf beirniadaeth a deongliad. Oddiwrth y rhai nas gwnaethant yr Epistol at y Rhufeiniaid erioed yn destyn ym-

chwyl gonest a diduedd, ynghyd â'r rheiny sy'n meddu esboniadau traddodiadol a chredoawl ag sy'n ateb eu pwrpas yn hollol dda, gallaf ddysgwyl, ond odid, ar rai pynciau, y gwrthwynebiad cryfaf, a'r condemniad mwyaf difrawdle a difarn. Etto, o'r braidd y mae hawl gan y cyfrywi alw am i mi blygu fy marn onest at gamni eu barn hwy. nac i orchymyn fy nystawrwydd hollol nes y darfyddont hwy lefaru; yn gymmaint a'u bod hwy a minnau yn dewis llwybrau duwinyddol mor hollol ar wahan. Myfi, y llwybr sy'n olrheiniad manwl i ystyr geiriau y testyn dwyfol, gan wybod mai cyfres o'i eiriau sy'n gwneyd i fyny ei adnodau, a chyfres o'r adnodau sy'n gwneyd i fyny y llyfr. Hwythau y llwybr sy'n eu harwain at ystyr yr adnodau drwy ddiystyru ystyr y geiriau, a pharchu barnau gwyr doniol a pharchus yn hytrach.

Wrth y rhai a allant, ar ol gonest ymchwiliad, wahaniaethu oddiwrthyf, nis gallaf ond dywedyd—"Mae y maes yn agored; mor agored i chwi ag i minnau, Mae genych yr un hawl i gyhoeddi eich meddyliau i'r byd, ag sydd genyf finnau i gyhoeddi'm rhai innau; a chystal hawl i amddiffyn eich golygiadau, ag sydd genyf fi i gynnyg fy rhai innau. Y canlyniad o wneuthur hyn, os gwneir gydag ystyriaeth ddofn a phwyllog, ac mewn ysbryd tiriondeb, ni all fod amgen na chymhorth i'r gwirionedd. O bosibl na chaf fyw i egluro, profi, a chadarnhau, fy ngolygiadau lle maent yn gywir, neu i wadu y cyfeiliornadau y gallwch fy argyhoeddi o honynt; ond bydd ereill byw. y rhai a wnant y naill neu y llall drosof, os bydd raid. Y gwirionedd raid, ac a gaiff o'r diwedd, orchfygu. Yr un o feirniaid anfeirniadol, ac o enwogion dienw; pa rai, byd yn nod eu hunain, a ystyriant eu henwau yn rhy barchus i gael cyffwrdd â'r un bapur-len â'u hysgrifau, i ba rai y ceidw ein cylchgronau niwl tywyllwch yn dragywydd, ni allant, ac ni chânt, ennill dwysach sylw nag eiliadol wên cyntafanedigion llênyddiaeth Cymru."

Mi a ragluniais ol-draethodau ar amrywiol bynciau ychwanegol; ond gorfuwyd arnaf gan ddiffyg lle, a chan awydd gwneyd uniondeb â'r pynciau dan sylw, i'w hoedi hyd y rhifynau dyfodol.

Y mae, er hyn oll, i awdurdod ddynol, ar bynciau crediniaeth, le pwysig a hollol gyfreithlon: iawn adnabyddiaeth o'r hyn sy'n gynnorthwy i beidio â'i gamarferyd. Nid yw hyn ond peth a raid gymmeryd lle o anghenrheidrwydd yn mhob gradd o gynnydd mewn gwybodaeth. Nid oes ond ychydig o blant dynion ag a allant yn bersonol wneyd ymchwiliadau ehelaeth, neu gloddio i ddyfnderoedd dirgeledigaethau, neu brofi y dedwyddwch o ddarganfyddiadau disymwth. Etto mae ffrwyth sylw, a phrawf, a darganfyddiad, i'r graddau helaethaf, yn cael eu derbyn a'u gosod yn wrthddrychau ymddiried; o herwydd fod cymmeriad, a rhif y darganfyddwyr, yn ein cynnysgaethu â sicrhad o'u ffyddlondeb, yn ol graddau eu galluoedd a'u manteision. Rhaid i'r cyffredinolrwydd o Gristionogion osod y cyffelyb bwys ar ffyddlondeb ac awdurdod dynion, yn eu hymchwiliadau ar athrawiaethau a rhwymedigaethau crefydd. Rhaid i benderfyniadau y cyffredin bwyso ar osodiadau, pa rai ni allant hwy eu hunain sefyll yn dystion

i'w gwirio; sef, tystiolaethau cyfieithwyr, deonglwyr, a beirniaid: eithr, yr un modd ag yn mhrofion anwadadwy y gwybodau a chelfyddyd, felly yma hefyd, mae ymddiried y cyffredin yn ddigon diogel, oherwydd rhif, a chymmeriad, ac amgylchiadau y tystion dysgedig a llafurus. Fel yma, mae yn eglur, a rhesymol, a diogel, gan awdurdod ddynol le o bwys ac uchel ddylanwad yn mherthynas i bethau crefydd; etto, swydd weinidogaethol hollol yw; swydd tyst, ac nid barnwr ydyw; arweinydd ydyw at safon pob cred ac ymarferiad crefyddol —at ffynnon y gwirionedd, gair Duw.

Rhaid i'r awdwr gyfaddef gyda pheth gwylder, iddo dybied mai ei ddyledswydd oedd cyflwyno i'w ddarllenydd gyfieithiad newydd o'r epistol hwn allan o'r iaith wreiddiol; ac nid oddiar un ysfa am weled ei gyfieithiad ef yn cael ei dderbyn yn lle yr un awdurdodedig, eithr oddiar deimlad o ddyledswydd; canys ei awydd oedd am osod gerbron ei ddarllenydd mewn Cymraeg mor gaeth ag y gallai, nad pa mor afrwydd o ran coethder cyfansoddiad, yr ymddangosai, wir ystyr y testyn gwreiddiol. Gyda golwg at gyrhaedd hyn, efe a aberthodd ddestlusrwydd Cymreig er mwyn dod i ben â chymreigio Groeg ei destyn. Y mae genym ni, ynghyd a'r Saeson, eisoes ddigonedd o gyfieithadau *rhydd;* ac ond odid, y cyfryw yw y goreu at arferiad cyffredin, tra y mae y llall yn rhagorach i'r beirniad dealldwrus. Nid oes i un gwahaniaeth oddiwrth y cyfieithiad cyffredin ei sail mewn mympwy na chredöusrwydd; ond yn ddiball, hyd ag y gallai medr yr awdwr, yn rheolau Gramadegawl a deongliadol Winer, Bornemann, ac ereill o flaenoriaid yr un dosparth llafurfawr, ag sydd wedi eu dyrchafu i, ac yn parhaus addurno, prif gadair y deongli, yn mhlith beirniaid athronyddol ein hoes.

Yn ddiweddaf, erfyniaf ar y darllenydd ddiwygio â'i bin: y rhaniad ar ddechreuad Pen. V; yn lle "Rhan II, Pen. V—VIII," ysgrifened Pen. V—XI. Hefyd o flaen y Cyfieithad Newydd o Pennodau VI, VII, VIII, noded hwynt un yn îs nag y maent ar lawr. Ac, wrth gyfarfod â'r gwallau hyn, ynghyd â rhai ereill llai eu pwys, cofied fod yr awdwr gan amlaf oddicartref, ac efe a gaiff ar ei feddwl, gobeithiaf, ddigon o annogaeth i gydymdeimlo â'r ysgrifenydd, ac i faddeu iddo y cwbl.

Mi a wnaethum a allwn dros fy nhestyn; mi a osodais fy narllenydd ar dir i farnu drosto ei hun. Gwnaed felly!

# ESBONIAD

AR YR

# EPISTOL AT Y RHUFEINIAID.

---

## AMCAN YR EPISTOL.

### RHAN I. PEN. I—IV.

*Fod yr holl fyd paganaidd ac Iuddewig dan gondemniad, am eu pechodau gwirfoddol ac hunan-wybyddus; ac nad drwy un o'r cyfundraethau cenedlig, na thrwy oruchwyliaeth yr Enwaediad, nac ychwaith drwy oruchwyliaeth ddiweddarach y Ddeddf, eithr drwy hen oruchwyliaeth Fawr y Ffydd, y dadguddir cyfiawnder achubol Duw i bechadur. Hyd ddiwedd pen.* iv.

DECHREUA yr apostol drwy amlygu mai un o'r apostolion galwedig ydyw efe, a bod ei gommissiwn yn cynnwys yr holl fyd (i, 5), ac o ganlyniad, Rhufain ei hun hefyd (6). Ar ol hysbysu ei deitl, ei swydd, a'i waith, anercha alwedigion *(cletoi)* Rhufain, dan yr enw o saint *(agioi)*, gyda'r cyfarchiad cyffredin yn mysg eglwysi yr oes; ac yna egyr ei neges o'u blaen, drwy ganmol eu ffydd hwynt, a'u hysbysu am ei daer weddiau drostynt, ei awydd cryf am eu gweled, a'i fynych amcaniad o dalu ymweliad iddynt, yr hyn a luddiasid gan liosogrwydd a phwys ei ddyledswyddau beunyddiol (13).

Ar ol eu hanerch, ymollynga ar unwaith ar ei bwnc, sef, PA GYNLLUN OEDD YR UN CYWIR I GADW PECHADUR.

Ymddengys fod dadl ar hyn yn yr eglwys anerchedig, a bod yr apostol, drwy y cyfleusdra o'u hanerch hwy ar bynciau yr ymrafael hyny, yn ystyried y pynciau o gymmaint pwys ag i deilyngu traethawd manwl a sylfaenol arnynt; er nad oedd efe, ar yr un pryd, yn esgeuluso bwrw gyda llaw ar holl berthynasau y dadleuon lleawl â'i athrawiaethau.

CYFIAWNDER DUW

yw pwnc mawr y ddadl. *Chwilio yn mha le ei dadguddir* yw amcan yr wyth pennod cyntaf o'r epistol. Mynai philosophyddion Rhufeiniaidd yr oes, mai mewn marweiddiad o chwantau cyfreithlon y corff

gyda'r Stoiciaid, neu mewn gwirion ymollyngiad gyda'u ffrydiau gwresocaf, fel yr Epicuriaid, yr oedd gwir ddedwyddwch i'w gyrhaedd. Yr Iuddewon Moesenaidd a ddalient mai mewn enwaediad, neu berthynas gnawdol ag Abraham dan gyfammod yr enwaediad, ynghyd â chadw gosodiadau Moses, yr oedd *cyfiawnder Duw* i gadw dyn, yn gynnwysedig; tra proffesai Paul mai drwy ffydd Crist yn unig—mai yn yr efengyl yn unig y dadguddir y cyfiawnder hwnw (adn. 17).

Ymresyma nas gall fod y cyfiawnder hwn gan neb o'r cenedloedd paganaidd, oherwydd ddarfod i ddigofaint Duw gael ei ddadguddio yn erbyn y naill a'r llall o honynt, ac mai am eu diffyg o'r cyfiawnder hwn yr oedd hyny yn disgyn arnynt (18).

Nad ar Dduw yr oedd y bai o'u bod yn anwybodus o'i gyfiawnder Ef, canys yr oedd digon o amlygiadau o dragywyddol allu a Duwdod y Creawdwr o flaen eu llygaid. Mai eu bai oedd dal y gwirionedd hyn mewn anghyfiawnder, yn lle chwilio nes cael allan o hono gyfiawnder Duw er eu cadwedigaeth (18, 19).

Mai troi dadguddiadau o wirionedd Duw yn y greadigaeth, a wnaethant yn gelwydd (25), ac ymollwng i'r fath raddau gyda ffrwd eu chwantau, nes na allasent yn hawdd fod yn fwy annuwiol nag oeddynt: fod y rhai goreu, a mwyaf athronyddol o'r paganiaid, er yn gwybod mai drygau damniol oedd gweithredoedd eu cydwladwyr, etto yn cydlawenhau â hwynt yn eu canol (adn. 21—32); yr hyn a brawf nad oedd yr hyn a elwid yn *gyfiawnder Duw* er cadwedigaeth, yn meddiant neb o honynt hwy. "Cymmaint â hyna," ebe'r apostol, "am y cenedloedd!" "Cymmaint â hyna," ebe efe, "am ddadl philosophi yr oes dros eu honiad o adnabod cyfiawnder Duw er dedwyddoli dyn."

Yn awr AT YR IUDDEW. Hen gondemniwr oedd hwn. Beiai yn rhigl iawn ar yr holl genedloedd paganaidd. Eithr gadawn i Paul nesâu ato ef. "Yr wyt ti, O ddyn! yn beio ar y cenedloedd am y pethau a gyflawnir genyt ti dy hun," ebe'r apostol (ii, 1); "ond cei weled mai yn ol gwirionedd—yn ol y pethau a wnelo dynion, ac nid yn ol eu henwaediad a'u disgyniadau o'r henafiaid, y barna Duw yn y dydd mawr!" Dengys yr apostol, fod hyd y nod Iuddew enwaededig i gael ei ddiosg o holl amblygion cyfammodau yr Hen Destament, a'i osod i sefyll yn y farn, yn ngwyneb y goleuni mwy a gawsai, a'i weithredoedd yn ei ymyl (4—11); oherwydd nad oedd derbyn wyneb dyn er mwyn ei dadau a'i nodau corfforol, gerbron Duw.

Yn lle cytuno â'r Iuddew, i ganiatâu trwydded iddo ef i bechu faint a fynai, a llechu yn y diwedd dan gysgod ei dadau a'i freintiau, try Paul yn ddidrugaredd a diweniaith arno ef, gan ddywedyd ei fod ef yn waeth nâ'r un o'r cenedloedd paganaidd, ac y byddai penderfyniadau y frawdle yn llawer gwaeth yn ei erbyn ef nâ'r llall.

Yma dyry'r apostol ryw naid fach o'r neilldu, i brofi yr hyn a ddywedwyd ddiweddaf, drwy ddesgrifio y pagan a'r Iuddew ochr yn ochr yn y farn; ac ychwanega fod y paganiaid, er heb y ddeddf ddadguddiedig, yn ddeddf iddynt eu hunain. "Er enghraifft", ebe efe, "maent yn dwyn yn mlaen esgusodion dros eu gweithredoedd, ac yn cyhuddo eu

gilydd, yr hyn a brawf fod eu cydwybodau yn ddigon goleu i ddangos iddynt mai drwg y gwnant" (12—16).

"Ond, tydi yr Iuddew sy'n fy ngolwg i etto," ebe'r apostol. Yr wyt ti â'th lyfr yn dy law, yn dysgu y paganiaid fel y dysga dyn fabanod (20), ac yn adnabod ewyllys Duw fel y mae ar lawr yn y ddeddf neu yr Hen Destament. Eithr nid yw hyn namyn arddangos dy egwyddorion a'th fuchedd yn waeth etto; canys yr ydwyt a'th lyfr yn dy law yn bloeddio, 'Na ladrata,' ac yn lladrata hefyd ar yr un pryd; yn llefain ar y pagan, 'Na odineba,' ac yn odinebwr euog ar yr un pryd" (21, 22). Ychwanegai yr apostol fod enw Duw y gyfraith yn cael ei gablu gan y paganiaid, oherwydd rhagrith a thwyll dysgawdwyr Iuddewig y gyfraith hòno (24).

Cyfaddefai Paul fod enwaediad yn dda; ac felly yr ydoedd, canys trefnasid gan Dduw; etto, mai i rwymo y sawl oedd dano i fod yn ufydd i'w ddeddf yr oedd efe yn dda (25).

Gyda golwg ar addewidion yr Hen Destament i ddeiliaid yr oruchwyliaeth newydd; er mai i had Israel y maent, ac i'r enwaediad; etto, nad enwaediad *corfforol* cenedlaethol, ond mai enwaediad *ysbrydol*, a feddylid yn yr addewidion hyny; a bod y pagan, yr hwn a fo'n Iuddew mewnol—neu enwaededig o galon, ac ysbryd, yn cael clod gan Dduw; tra mae holl glod yr Iuddew corfforol ac anufydd yn unig o ddynion (25—29); yr hyn a brawf nad oedd addewidion Duw yn cynnysgaethu yr Iuddew anufydd â'r cyfiawnder dan sylw.

Wele ein hapostol yn ymattal, fel yn canfod ddarfod iddo redeg yn llawn digon pell ar warthaf yr Iuddew, cyn eglurhau rhai pethau a adawsai efe wrth fyned heibio. "Pa faint gwell yw Iuddew, a pha fantais a roddes Duw i'r genedl yn anad ereill, yn ol y cynllun yna?" oedd ofyniad digon naturiol i darddu allan o enau Iuddew yn y fan hon. Etto, yr holl fantais a wel Paul yn ngolwg Duw i'w gyfranu iddynt, oedd derbyniad ac ymddiriediad yr oraclau dwyfol (iii, 1, 2).

Yma, mae yn weddus i ni sylwi ar y gwahanol oruchwyliaethau o eiddo Paul yn ein hepistol. Y benaf yw goruchwyliaeth y Ffydd, yr hon a esyd efe allan fel yr un fawr ac achubol. Un arall oedd goruchwyliaeth yr Enwaediad, yr hon ydoedd o Abraham yn mlaen. Y drydedd oedd goruchwyliaeth y Ddeddf, yr hon oedd o gyfammod Sina hyd Grist.

Dengys Paul yn adn. 3—6, nad oedd ond yr ynfydrwydd mwyaf i dybied fod anufydd-dod rhai o ddeiliaid goruchwyliaeth y *Ddeddf* yn gwneyd yn ofer yr addewidion dan sylw o eiddo Duw; oherwydd nad i ddeiliaid y Ddeddf fel y cyfryw, ond i ddeiliaid y *Ffydd* yn unig eu hamcanasid.

Yma cawn ffigiwr o ddeddf arglwydd neu briod dwyreiniol ar ei wraig, i arddangos awdurdod Pechod, yr hwn, er mwyn eglurdeb, a bersonolir yn y pennodau dilynol. Adn. 9. Rhag ammau a thaeru o neb, profa yr apostol ei osodiad hwn; sef fod Iuddewon yn gystal ag ereill dan lywodraeth lofruddiadol Pechod. A rhag cymmeryd un dystiolaeth annerbyniol, efe a ddyfynodd ddarnau o'u Salmau hwy eu hunain yn eu herbyn eu hunain, gan orphen gyda'r ymresymiad nad am y cenedloedd, ond mai am y rhai oedd dano y llefarai yr Hen

Destament yn y dyfyniadau hyny. Gellir cael yma (adn. 19) eglurhad o'r hyn a ystyria Paul wrth y DDEDDF yn yr epistol hwn, canys ar ol dyfynu o'r Salmau, efe a ddywed mai dyfynu allan o'r ddeddf a wnaethai, yr hyn a brawf mai yr Hen Destament o gyfammod Sina yn mlaen a feddyliai efe wrth y DDEDDF. Ac yn wir, hanesion a phrofiadau ysgol fawr y Ddeddf ydyw oll yn mron.

CASGLIAD YR AIL. Eglur yw nad yw cyfiawnder Duw i'w gael allan o'r ddeddf ychwaith (20).

Gwelwn wrth fyned heibio, mai cyfiawnder *cyfiawnhaol* Duw oedd y cyfiawnder y dadleuid am dano, a'r hwn a osodasid yn destun arholiadau yr epistol, yn mhen 1, 17; canys cawn y cwestiwn yn mhen. 3, 20, yn cael ei alw yn *gyfiawnhau.*

*Bellach;* os nad yw cyfiawnhad pechadur yn ol y philosophi baganaidd, nac yn ol goruchwyliaeth yr ENWAEDIAD Abrahamaidd, nac etto yn ol cyfiawnderau y DDEDDF Foesenaidd, o ba le, attolwg, y ceir ef? Yr atebiad eglur, cawn yn adn. 22, mai y cyfiawnder sydd o Dduw drwy y FFYDD yw y pwnc sydd yn ngholl—mai yn yr oruchwyliaeth *fawr*, drwy yr hon y cyfiawnheid Abel a'r cyn-ddiluwiaid (Heb. xi), a saint goruchwyliaeth yr enwaediad ar ol hyny, a saint goruchwyliaeth y Ddeddf Foesenaidd ar ol hyny eilwaith, a saint goruchwyliaeth teyrnas nefoedd ar ol y cwbl;—mai yn ngoruchwyliaeth fawr y FFYDD y ceir gafael ar y cyfiawnhad anhebgorol dan sylw.

Nad oes y gwahaniaeth lleiaf rhwng Cenedl-ddyn ac Iuddew yn ngolwg yr oruchwyliaeth fawr hon; mai i bawb a gredant yn unig y mae cyfiawnder y ffydd; a bod pob cenedl yn bechaduriaid fel eu gilydd, ger ei bron; a bod hyd y nod y ddeddf a'r prophwydi yn tystio fel hyn am y ffydd, yn eu herbyn eu hunain (21—23).

Mai drwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu y mae y llwybr i gyrhaedd y cyfiawnder dan sylw, sef trwy y prynedigaeth a'r iawn gosodedig gan Dduw, yr hyn a gafwyd yn ei farwolaeth Ef; a bod y ffydd, sef yr hen oruchwyliaeth fawr, wedi bod yn maddeu pechodau er y dechreuad ar gyfrif yr un farwolaeth, er nad oedd cymmaint ag un yn cael ei gyfiawnhau heblaw drwy ffydd Iesu; fod, yn wir, y *ddeddf* a'r *enwaediad* yn bodoli dros holl dymmor y maddeuant dan sylw, ond fod holl orfoledd y maddeu wedi cael ei gau oddiwrthynt eu dwyoedd, drwy ddeddf neu gyfundrefn y ffydd (24—27). "A thyna y pwnc wedi ei brofi," ebe'r apostol, "mai drwy *y ffydd* y cyfiawnheir dyn, heb ddim o weithredoedd na gosodiadau y ddeddf yn peri ei gyfiawnhad (28)."

*Casgliad* yn y fan hon yw, pe buasai Duw yn dewis cyfiawnhau drwy oruchwyliaethau yr enwaediad a'r ddeddf, na allasai efe felly fod yn Dduw i'r holl fyd; eithr gan mai drwy yr hen oruchwyliaeth fawr, sef *y ffydd*, y dadguddir, ac y mwynheir y cyfiawnhad hwn, fod Duw yn Dduw i'r enwaediad ac i'r dienwaediad. Felly y gallodd Efe ddod i ben â sugno megys o, neu allan o (EK), y ffydd, cyn ei dadguddiad, gyfiawnder i'r crediniol gynt; felly hefyd y ceir, drwy (DIA, *with genitive)* yr un ffydd, i'r crediniol yn awr, ar ol ei dadguddiad a'i chadarnhad. A chan nad i gyfiawnhau y rhoddwyd goruchwyliaeth y ddeddf, nid yw y ffydd yn ei gwneyd hi yn ofer, eithr ei chadarnhau at

y dasg oedd gan Dduw iddi, yr hyn nid oedd ddim oll o orchwylion y ffydd (iii, 29—31). Y personoliad nesaf a gawn yw

### Y CNAWD.

Y gair hwn sydd yn mron yn alleiriad am yr *enwaediad*, yn yr ystyr ffigwrol o'r gair hwnw, sef, *y grefydd dlawd ddiffydd o bechu yn ol chwantau y corff, gan bwyso ar y berthynas gorfforol neu gnawdol ag Abraham, tad yr enwaediad, am ddigon o gyfiawnhad ar ol y cwbl*, iv, 1.

*Ymresymiad* yn erbyn yr athrawiaeth mai o'r *cnawd*, yn ol ei ystyr uchod, yr oedd y cyfiawnder ymchwiliedig. Os yw y berthynas gnawdol ag Abraham yn dwyn i'r Iuddew y cyfiawnhad hwn, rhaid fod yr enwaediad, neu yr arwydd cnawdol, wedi dwyn yr unrhyw gyfiawnder i Abraham ei hun a rhaid fod gan Abraham destun gorfoledd neu ymffrost gerbron Duw yn ei enwaediad. Eithr nid yno yr oedd ei ymffrost ef; canys dywed Bibl yr Iuddew ei hunan mai credu i Dduw a wnaeth Abraham, fel llwybr i gyrhaedd y cyfiawnder mewn dadl (2, 3, 4). Ac os cyfiawnhaodd Duw yr annuwiol wrth gyfiawnhau Abraham, rhaid mai drwy yr hen oruchwyliaeth fawr, sef ffydd, y cafodd hyd y nod Abraham, tad yr enwaediad, heb son am ei blant, afael yn y cyfiawnder hwn (3, 4, 5). Cymmaint â hyna am y ffordd ar hyd pa un y cyrhaeddodd Abraham, tad yr enwaediad, y cyfiawnhad mewn dadl.

*Ymresymiad* nesaf Paul yn erbyn yr Iuddew oedd yn erbyn goruchwyliaeth y ddeddf. Diddymodd, yn hanes cyfiawnhad Abraham, holl hawl enwaediad i'r gras hwn; ac yna, cyfyd Dafydd i fyny yn ei law, i ddiddymu hawl goruchwyliaeth y ddeddf foesenaidd i ddwyn allan y cyfiawnder mewn dadl. "Pe o'r ddeddf y buasai y cyfiawnder hwn," ebe'r apostol, "pwy fuasai yn gynt nâ Dafydd frenin yn ei gyhoeddi? Eithr efe, yn lle gwaeddi allan, "Gwyn ei fyd yr hwn sy'n cadw gosodiadau Moses," a lefodd yn eglur, "Gwyn ei fyd y rhai y maddeuwyd eu camweddau," yr hyn sydd yn disgyn yn unig o ras hen oruchwyliaeth fawr y ffydd, trwy waed Iesu," 6—8. Nid o'r ddeddf, gan hyny, y cyfiawnhawyd Dafydd.

*Ymresymiad* pellach etto yn erbyn y cnawd, neu'r enwaediad, yw, fod y dienwaediad wedi derbyn y cyfiawnder dan sylw, yr hyn ni dderbyniasent byth, pe o'r enwaediad y buasai i'w gael. Prawf o hyn a gyfodir allan o hanes ffydd Abraham ei hun, lle y cawn mai yn mhell cyn ei enwaedu y cyfiawnhawyd ef (9, 10), ac nad ydoedd yr enwaediad ddim yn y byd mwy nag arwydd oddiwrth Dduw iddo, i gadw mewn cof ddarfod iddo gael ei gyfiawnhau pan yn ddienwaededig (11), yr hyn a'i gesyd yn dad neu ragflaenydd pawb a gredent o hyny allan fel yntau, cyn eu henwaedu, yn gystal ag ar ol derbyn yr arwydd hwnw (12).

*Prawf* etto, sef nad oedd yr addewid o fod yn etifedd y byd wedi ei rhoddi i Abraham drwy oruchwyliaeth y ddeddf foesenaidd, ond drwy y cyfiawnder a gawsai efe o oruchwyliaeth fawr y ffydd (13); pe amgen, addewid ofer fuasai hi, oherwydd ni etifedda yr Israel yn ol y cnawd, na'r Israel yn ol cyfammod Sina, yn y rhai y cynnwysir y pro-

selytiaid, byth mo'r holl fyd (14), canys gwelwn mai llawn o ddigofaint a barnau yw y ddeddf foesenaidd ar y genedl, am eu trosedd o honi (15). Pwy bynag yw yr "holl had" sydd yn yr addewid Abrahamaidd, rhaid fod yr addewid yn sicr iddynt, yr hyn ni ddaw byth oddieithr o ras yn unig (16); a daw gras Duw â hwynt oll i fewn, canys geilw efe, yn ei addewidion, y pethau nid ydynt yn had fel pe byddent felly (17), am ei fod yn rhagweled yr hyn fyddent.

Cawn yma debyg i naid fach, er mwyn dangos fod crediniaeth Abraham yn fath ag oedd yn ddigonol i annog Duw i'w alw yn dâd, neu ragflaenydd yr holl gredinwyr (18—22); ac er mwyn ychwanegu fod Duw wedi peri hanesyddu cyfiawnhad Abraham drwy ei grediniaeth, er mwyn i'r oesoedd a ddeuai dan deyrnas nefoedd sylwi ar drefn y cyfiawnder mewn dadl, a'i fabwysiadu, drwy gredu (yn awr) yn Nghrist, fel adgyfodedig er ein cyfiawnhad allan o ddyfnderoedd condemniad ein pechodau, dros y rhai y traddodwyd ef i farwolaeth 23—25.

---

[Mae yn ofynol cyn dirnad nemawr o un o'r epistolau Paulaidd, yn anad epistolau neb, i ddeall a chadw mewn cof parhaus, yr amcan mawr a redo drwy yr holl lythyr; ond nid uwchben un o'r epistolau, tebygwyf, yn gymmaint ag uwchben yr epistol athrawiaethol a dadl-achlysurol hwn. Gadawed y darllenydd, gan hyny, i'r esboniwr lwyddo gydag ef i ddarllen y rhag-arweiniad hwn bob amser yr ymosodo ar ddarllen yr esboniad.]

## § 1. Yr Anerchiad. Pen. i, 1—7.

Caiff y darllenydd yn y saith adnod hyn, ddosran o draethodiaeth tra arddangosiadol o briod-ddull Paul yn gyffredin. Caiff naid i fewn i gromfachau yn adn. 3, 4, yn cael ei hachlysuro gan gymdeithasiad y meddylddrychau yn meddwl yr apostol, y rhai oeddynt ynglyn wrth y gair "ei Fab Ef," ac yn dylifo allan o'i ben yn hollol natùriol gydag ef. Felly gyda golwg ar adn. 5, 6, drachefn, galwyd sylw yr ysgrifenydd atynt, fel y mae'n amlwg, gan "ein Harglwydd ni" yn niwedd adn. 4. Ar ol gollwng allan o ffrwd ei feddwl o'r hyn oll oedd ganddo yn nesaf i'r ymyl, am y Kurios,—Arglwydd hwn, try yr apostol eilwaith at linyn ei anerchiad a'i gyfarchiad, yn y man lle ei gadawsai pan yn canmol ei Arglwydd. Cyssylltiad y geiriau yn y ddosran hon sydd fel hyn—"Am ei Fab Ef—Iesu Grist ein Harglwydd ni—at bawb sydd yn Rhufain, &c"., fel nad yw yr holl saith adnod yn cyfansoddi namyn un wers, holl ranau yr hon a geir yn rammadegol ynglyn wrth eu gilydd. Cawn yn y ddosran hon, yn ol amryw esbonwyr, dri chromfachiad, os cyfrifwn yr ail ádnod rhwng cromfachau. Mae hyn yn gryn lawer, hyd y nod yn Paul ei hun mewn dim ond un wers gyssylltiadol. Etto, cwrddir â'r cyffelyb neidio megys, yn aml iawn yn ei ysgrifau ef.

## PENNOD I.

PAUL, gwasanaethwr Iesu Grist,* wedi ei alw *i fod* yn apostol,† ac wedi ei neillduo i efengyl Duw,

* Act. 22, 21; 1 Cor. 1, 1; Gal. 1, 1; 1 Tim. 1, 11; a 2, 7; 2 Tim. 1, 11. "Galwedig ac apostol,"—*Syriaeg henaf.* † Act. 9, 15; a 13, 2; Gal. 1, 15. "Wedi ei arfaethu,"—*Biblau Irenæus ac Awstin.* "Wedi ei ddewis,"—*Tholuck.*

Paul *(Paulos).* Enw Rhufeinig, mae yn debygol, ac nid Hebreig. Enw Hebreig yr apostol oedd *Shawl,* Saul; a gelwir ef gyntaf yn Paul yn Act. 13, 9, yn union ar ol son am Sergius Paulus. Yr oedd yn arferiad Rhufeinaidd i gyfnewid enwau, ond cadw sain yr enw cyntefig yn yr enw newydd.

Gwasanaethwr *(doulos).* Arferir y gair am *addolydd* Duw, yn 1 Pedr 2, 16; Eph. 6, 6, &c.; ac am *swyddog* Duw, megys ei brophwyd, &c., yn Dat. 10, 7; Deut. 34, 5; Amos 3, 7; fel hefyd y gelwir pregethwyr cyntaf yr efengyl yn *weision Crist,* yn Gal. 1, 10; Phil. 1, 1; Tit. 1, 1; ond yma ystyriwn, gan fod y teitl *apostol* yn dilyn, mai ystyr y gair *gwasanaethwr* yw un ymroddawl i wasanaeth Crist, ac yna apostol, neu un anfonedig gan Grist. Felly hefyd Stuart, Reiche, a Glockler, tra dywed Tholuck mai ystyr y gair yma yw, un o swyddogion uchaf eglwys Crist.

Iesu Grist. Yma ceir yn y modd meddiannol, i arddangos perthynas Paul â Christ. Crist oedd ei pia; efe a bia'r pregethwr.

Galw *(cletos).* Ystyr y gair yn Matt. 20, 16, a 22, 14, megys yn y pedair efengyl yn gyffredinol, yw gwahodd, gorchymyn, *invite;* ond yn holl epistolau Paul, ei ystyr yw galw yn effeithiol, galw nes ennill ufydd-dod. Gwel yr arferiad o'r gair yn 1 Cor. 1, 1, 2, 24; Rhuf. 1, 6, 7, a 8, 28; a'r hon cymharer Gal. 1, 15; Jndas 1; Heb. 1, 3, Rhuf. 11, 29; Eph. 4, 1; lle yr arferir am alwad Paul i'w swydd, eglwys Corinth i fod yn saint, y rhai mae Crist yn allu Duw iddynt, y rhai a gyfiawnheir, a gedwir yn Iesu Grist. Gelwir yn alwedigaeth nefol, o'r

hon y mae y rhai santaidd yn gyfranog. Cawn hefyd mai galwedigaeth i nodweddiad santaidd yw. Er mai galw i *swydd* yw galwad ein testun, cawsom mai galwad *effeithiol*, boed i'r peth y bo, yw ystyr y gair yn Paul. Gwrandawed ein brodyr Arminaidd ar hyn, a chymmerant briod-ddull pob awdwr ysbrydoledig i'w ddeongli ei hun. Cymmaint â hyna ar *natur* yr alwad hon: gair ar ei chyssondeb yn Nhraethawd VIII.

Apostol *(apostolos)*, un anfonedig gan arall ar unrhyw neges. Dyna ystyr y gair yn Ioan 13, 16, a Phil. 2, 25; tra mai ei ystyr yn Luc 11, 49; Eph. 3, 5; Dat. 18, 20, yw cenad dwyfol neu brophwyd. Ystyr cyffredinol y gair yn y Testament Newydd yw cenad Crist. Ymddengys yn lled eglur oddiwrth ein testun, y rhaid i'r swyddog hwn gael anfoniad gan Grist yn bersonol, ac yn eglurach yn Gal. 1, 1. Ar droion, gelwid cymdeithion neu anfonedigion yr apostolion yn apostolion eu hunain; megys yn 2 Cor. 8, 23: Act. 14, 4, 14; Rhuf. 16, 7; etto, nid yn apostolion Crist.

Neillduo *(aphôrismenos)*, gosod o'r neilldu, dewis i efengyl Duw. Gelwir felly am mai Duw yw ei Hawdwr. Ymddengys y gair *neillduo* megys yn ddeongliadol i raddau ar y gair *galw* yn nechreu yr adnod. Dyma ystyr y gair hefyd yn Act. 13, 2. Cawn yr un egwyddor yn Gal. 1, 15; Jer. 1, 5. Yr ystyr yw, ddarfod i Dduw ei osod ef o'r neilldu i wasanaeth yr efengyl, megys ei hegluro, cyhoeddi, a dyoddef drosti, er mynydyn cyntaf ei fodoliaeth. Dywedir yn debyg hefyd am Jeremi. Mae mwy o ragfeddwl gan Dduw am ei genadau nag a debygid gan ardrem dynion. Mae pob peth yn gwneyd i fyny un cyfanwaith iddo Ef. Gweddiwn am duedd i gydredeg â'i drefniadau Ef, i'n gwneyd yn ddefnyddiol: swydd bwysicaf y bydoedd yw ein swydd!

2 * Yr hon a rag-addawsai efe† trwy ei brophwydi yn yr ysgrythyrau santaidd,

* Gen. 3, 15; a 22, 18; a 24, 4; a 49, 10; Deut. 18, 15; 2 Sam. 7, 12; Salm 132, 11; Esay 4, 2; a 7, 14; a 9, 6; a 40, 10; Jer. 23, 5; Dan. 9, 24; Mic. 7, 20; Act. 13, 32; Rhuf. 15, 8; Tit. 2, 13. † Rhuf. 3, 21; a 16, 26; Gal. 3, 8. "Ei brophwydi ei hun,"—*Rhai copiau Groeg*. "Yr hon a gyhoeddasai efe gynt,"—*Stuart*.

Rhag-addaw (*proepaggelo*). Dywed Stuart mai *rhag-gyhoeddi* yw yr ystyr yma, oherwydd i Paul ymresymu felly gerbron Agrippa, yn Act. 26, 22; eithr gallasai efe lefaru felly yno, ac fel arall yma, gan nad yw y naill yn croesi y llall. Diau fod yn y Testament Newydd lawer o ddirgeledigaethau nas cyhoeddwyd erioed yn yr Hen Destament, er iddynt, ar yr un pryd, gael eu haddaw. Cywir, gan hyny, yw y cyfieithiad awdurdodedig o'r gair yn ein testun.

Santaidd *(agiai)*, teilwng o barch crefyddol; megys am enw Duw yn Luc 1, 49; ysbryd Duw yn Matt. 1, 18; cyfammod Duw yn Luc 1, 72; a'r ysgrythyrau yma, a Dan. 11, 28, 30.

Gosodir adn. 2—6, rhwng cromfachau gan y rhan amlaf o esbonwyr, ond nid yw Dr. Winer y Grammadegydd yn canfod yn y lle ddim oll mwy nâ phriod-ddull arferol yr apostol hwn. Gellid cromfachu ei holl ysgrifeniadau, ped elem i'w rwymo ef at y priod-ddull cyffredin o ysgrifenu.

3 Am ei Fab ef Iesu Grist ein Harglwydd ni,* yr hwn† a wnaed o had Dafydd o ran y cnawd,

* Mat. 1, 6, 16; Luc 1, 32; Act. 2, 30; 2 Tim. 2, 8, † Ioan 1, 14; Gal. 4, 4. "Yr hwn a aned,"—*Stuart*.

Yma y canlyn gwrthrych yr addewidion dan sylw.

AM EI FAB EF. At ba beth y cyfeiria yr *am* hwn? A pha air blaenorol y gwna efe synwyr? "Efengyl Duw am ei Fab Ef," medd Stuart a Barnes. "Efengyl Duw, yr hon a rag-addawsai efe am ei Fab Ef," medd Tholuck. Am Grist fel MAB Duw, gwel Traethawd II, ar ddiwedd yr esboniad ar yr epistol.

Can gynted ag y cwrddodd Paul ag enw Grist, saethodd holl ystyriaethau y teitl ar draws ei feddwl. Desgrifia ef fel mab breninol Dafydd. Ond, nid oedd hyn ddim mwy nag a ganiatâi yr athrawon Cristionogol o'r enwaediad iddo. Paul yntau, nid adnabyddai ef mwy yn ol y cnawd, 2 Cor. 5, 16. Gerbron ei lygaid ceir y Gwaredwr yn barhaus bresennol fel person wedi ei ogoneddu, ac am hyny y mae efe yn ychwanegu yma yn y fan, ei fod heblaw yn fab Dafydd, o natur uwch etto, wedi cael ei eglurhau yn Fab Duw.

Dylai pob darllenydd dalu sylw neillduol i ddull priodol Paul o neidio, megys fel hyn oddiwrth lwybr naturiol ei bwnc, fel y gallai ddadglymu llawer ymadrodd a ymddangosai fel arall, megys yn anmhriodol i'r pwnc. I ddeall ysgrifeniadau yr apostol brwdfrydig hwn, mae rhywbeth pellach nag adnabyddiaeth o'i rammadegiaeth yn anhebgorol. Rhaid i ni weithio ein hunain i'r un brwdfrydedd, sel, a phenderfyniad dros yr efengyl, cyn y gallwn yn hawdd ddeongli ei ehediadau byrbwyll a goruchel ef.

EIN HARGLWYDD NI, a ddylasai gael ei osod ar ddiwedd adn. 4, canys yno ei ceir yn yr iaith wreiddiol, ac yno y gorfydd i ninnau sylwi ar y teitl hwn.

YR HWN A WNAED *(genomenou)*, *descended*, *born*, a aned. Ceir megys y mae yma mewn cyssylltiad â'r darddodiad o *(ek)* yn Gal. iv, 4 —"Wedi ei wneuthur (ei eni) o wraig, wedi ei *eni* dan y ddeddf."

YN OL Y CNAWD *(kata sarca)*. Un o ystyriaethau traws-enwadol y gair *cnawd* yn y Bibl yw *human nature*, dynolryw, dyn, dynoliaeth. Yma, medd Stuart, "O ran ei fodoliaeth ddynol neu gnawdol," yw yr ystyr. Arferir y gair cnawd am ddynoliaeth Crist hefyd, yn Ioan 1, 14; 1 Ioan 4, 2, 3; 2 Ioan 7; Rhuf. 9, 5; Eph. 2, 15; 1 Tim. 3, 16; Heb. 5, 7; a 10, 20; 1 Pedr 3, 18; a 4, 1; Col. 1, 22; lle caiff y duwinydd ysgrythyrol wybod y gwirioneddau canlynol:—Fod y Gair wedi ei wneuthur, neu ei ddwyn i fod, yn gnawd; fod pob un o'r doniau ysbrydol a gyffesai ymddangosiad Crist yn y cnawd, o Dduw; mai ysbryd aughrist oedd yn cynhyrfu y rhai a honent y ddawn a wadai hyn am Grist; fod y cyfryw dwyllwyr eisoes yn yr eglwys yn amser Ioan yr apostol; fod Crist, o ran ei ddynoliaeth, wedi hanu o'r tadau; a'i fod, trwy ryw orchwyl a gyflawnodd efe, tra yn y corff darostyngol, wedi dileu ordeiniadau Moses; fod Duw wedi ymddangos, dod yn adnabyddus, ac eglur, yn nynoliaeth Crist. Gelwir amser ei

ddarostyngiad yn "ddyddiau ei gnawd;" a dywedir ddarfod iddo gyssegru ffordd newydd yn y cymmeriad o archoffeiriad i ni at ein Duw, drwy ddrylliad ei gnawd neu ddynoliaeth; mai ei ddynoliaeth a farwolaethwyd ar y groes; ac mai hi fu yn dyoddef drosom yno; ac mai trwy rinwedd yr hyn a ddyoddefodd ei ddynoliaeth, y cyflwyna efe ni a'n gwasanaeth i Dduw yn barhaus. Dyna yr oll a gawn am *gnawd* Crist yn y Testament Newydd. Cofiwn fod Paul yn dadleu ag Iuddewon Cristionogol, y rhai a addefent gymmaint â hyn am Grist, yr hyn a fenthyciai yntau fel gris i'w tynu yn mlaen at berthynasau uwch ei Arglwydd. A rhag ymattal lle yr arferent hwy ymattal, efe a ychwanegodd, er fod yr urddas o fod yn fab Dafydd yn uchel, mai *yn ol y cnawd* yr oedd Crist yn dwyn hwnw, yr hyn a brawf fod yr apostol yn ystyried nad yn ol y cnawd yr eglurasid ef yn Fab Duw, sef nad yn ol ei ddynoliaeth mewn darostyngiad.

Cawsom y gyntaf o urddasolion y Messia—ei fod o had Dafydd fel dyn marwol; bellach, arweinir ni at urddas etto yn uwch.

4 Ac a eglurwyd* yn Fab Duw mewn gallu, yn ol ysbryd santeiddiad,† trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw:

* Act. 13, 23. "Wnaethpwyd,"—*Groeg.* "A rag-arfaethwyd,"—*Biblau Morgan, Irenæus, ynghyd â'r holl rai Lladinaidd.*

Eglurwyd *(orizcin)*, yn y Testament Newydd, *to mark out definitely, to determine, to appoint, to constitute;* nodi allan yn fanwl, rhagosod, apwyntio. Dyna, yn ddiau, wir ystyr y gair; ond y mae ei wir ystyr wedi bod yn wir ddyryswch i esbonwyr. Mae llawer o'r beirniaid yn ystyried yr ystyr hwn yn anghydweddol ag amcan yr apostol. Mewn trefn i brofi hyny, tybiant yr holl ymadrodd fel hyn: —"Wedi ei *ordeinio* i fod yn Fab Duw gyda gallu, yn ol ysbryd santeiddiad; sef, drwy y doniau gwyrthiol a osododd yr ysbryd arno, neu drwy y gwyrthiau y galluogodd yr ysbryd ef i'w cyflawni;" ac yna gofynant, "Pa fodd yr oedd doniau gwyrthiol yr Iesu yn ei *ordeinio* ef i fod yn Fab Duw, neu yn ei *osod* yn gyfryw? Yr oedd efe yn meddu y doniau hyny (meddent) oherwydd ei fod yn Fab Duw, ac nid oedd eu meddu na'i harferyd yn ei *wneyd* yn Fab iddo." Ac yn wir, pe caniateid eu hesponiad ar ddiwedd yr ymadrodd, ymddangosai eu gwrth-ddadl yn ddigonol i dòri i lawr y deongliad geiryddol o *arfaethu*, a *gosod* yn Fab. Ond, pa mor ddyrys bynag yr ymddengys, canlyn ar ol y gair a'i ystyr naturiol a raid i ni.

Grotius, er mwyn datod y cwlwm, a'i tòrodd, gan ddywedyd, "Yr oedd urddas freninol yr Iesu fel Mab Duw, wedi ei arfaethu neu ei *ragddarlunio*, pan gyflawnodd efe arwyddion a rhyfeddodau, yn ei gyflwr o ddarostyngiad." Ond pa fodd y gall *arfaethu* gael ei gymmeryd am *ragddarlunio*, nid wyf yn gwybod. Gall pob un esbonio ar ol cymmeryd cenad i gyfnewid ystyr y gair.

Eraill fel hyn,—"Ordéiniwyd i fod yn Fab galluog Duw, yn ei gyflwr ysbrydol [neu stad o ddyrchafiad], drwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw." Ond rhaid i ni ofyn yma: Pa fodd y gallai ei adgyfodiad arfaethu neu *ordeinio* ei stad o ddyrchafiad? Canlyniadol i'w ordeiniad yn Fab Duw ydoedd ei ddyrchafiad.

Ereill etto: "Wedi ei osod yn Fab Duw gyda gallu yn ei stad ysbrydol, ar ol ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Er ei fod yn Fab Duw *cyn* ei adgyfodiad, nid oedd efe etto (meddant) yn Fab Duw *mewn gallu*, yn yr ystyr sydd mewn golwg yma, hyd ar ol eu esgyniad ar ddeheulaw Duw."

Stuart a betrusa rhwng yr ystyr hwn â'r un a roddir gan Origen, Cyril, Theodoret, a'r Cyfieithiad Syriaeg, ynghyd â'r un Cymreig, a'r nifer liosocaf o feirniaid a chyfieithiadau diweddar; sef, *arddangos, egluro, cyhoeddi.* Am y cyfryw ystyr ar air Groeg ein testun, cyfaddefa Stuart ar yr un pryd nad oes o hono un enghraifft o fewn y Testament Newydd, nac ychwaith yn yr hen awduron Groegaidd. Passow ychwaith, nid yw yn rhoddi un ystyr o'r fath i'r gair hwn, *orizein*, yn ei eiriadur, er ei fod yn proffesu ein cynnysgaethu â phob ystyr a fedd pob gair yn yr iaith, ac yn sicr hefyd o fod yr uchaf ei fri yn ei ddosparth.

Rhaid i mi, gan hyny, ymwrthod â'r cyfieithiad cyffredin, a dilyn ystyr y gair, megys ag y gwnaeth Clavius, Erasmus, Faber, Stuart, a Tholuck, ar ol yr hen dadau Lladinaidd bron i gyd. Deongliad yr ymadrodd, gan hyny raid fod; "Ac a wnaethpwyd (osodwyd) yn Fab Duw mewn gallu, drwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." Nid yw yr ymadrodd yn gwadu nad oedd efe eisoes yn Fab Duw yn ol ei genedliad gan yr ysbryd, neu yn ol ei swydd fel Messia; ond tystia mai drwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw y gwnaethpwyd ef yn Fab Duw *mewn gallu*, sef yn Fab Duw yn yr ystyr neillduol hyny. Yn y Traethawd ar GRIST FEL MAB DUW, ceir dangos ddarfod iddo dderbyn y teitl goruchel hwnw oddiar ychwaneg nag un ystyriaeth.

MEWN GALLU *(ea dunamei)*. Yr un gair a geir yn 1 Cor. 15, 43—"Ac a adgyfodir *mewn gallu*," lle cyfeirir at y gallu a gyfrenir i'r corff yn yr adgyfodiad, i ddringo i'r lán o'r bedd. Dyna y gallu sydd yn ein testun, nad pa un ai o nerth eneidiol, ynte swyddol, ynte dwyfol Crist y tarddodd; ynte o'r Tad; ynte o'r Ysbryd Glân.

YN OL YSBRYD SANTEIDDIAD *(kata pneuma agiôsunê)*. "Yn ol yr Ysbryd Glân," medd rhai. "Yn ol ysbryd santaidd," medd ereill. "Yn ol ei enaid neu ysbryd cyssegredig," medd ereill eilwaith; tra y dywed rhai lled ddysgedig eilwaith, "Yn ol ysbryd anfarwoldeb," ac yn ol "ysbryd gwyrthiau nerthol," ac "yn ol ei gyflwr newydd o ogoneddiad ysbrydol."

Dywed y dysgedig Tholuck, fod "yn ol ysbryd santeiddiad" wedi ei osod mewn cyferbyniad i'r "yn ol y cnawd" sydd yn y drydedd adnod, ac yn cyfeirio at y natur ddwyfol oedd yn Nghrist. Megys yr oedd efe wedi ei eni oherwydd ei fod o had Dafydd, felly y cododd efe o'r bedd oherwydd ei fod yn berson dwyfol. Dywed Wetstein mai ei ddarostyngiad yw yr "yn ol y cnawd," ac mai ei ddyrchafiad yw yr "yn ol ysbryd santeiddiad;" tra y myn Michaelis, mai "yn ol datganiadau yr Ysbryd Glân," yw ystyr yr ymadrodd olaf o'r ddau.

Chrysostom hyawdl, a Melancthon selog, a gyssonant y tri ymadrodd fel hyn:—1af, Mewn gallu, sef drwy wyrthiau; 2il, Trwy ysbryd santeiddiad, sef trwy gyfranu iddo yr Ysbryd Glân; 3ydd, Trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw y dadguddiwyd ef yn Fab Duw. Ond y mae

cyfnewidiad y darddodiaid yn Paul yn peri i'r deongliad yna ymddangos yn annhebygol, heblaw fod y dyscyblion wedi gwneuthur gweithredoedd mwy nag a wnaeth Crist, dan y ddau ben cyntaf, yr hyn, yn ol y ddau ddeonglydd dan sylw, a'u gwnaethai hwynt yn uwchraddol i Grist, yn rhestr meibion Duw.

Drwy yr adgyfodiad *(ex anastaseôs)*. Eithr yr ydwyf fi yn cael fy nhueddu i ddilyn Stuart ar yr ymadrodd dyrys hwn, sef, mai "*Ar ol* yr adgyfodiad oddiwrth y meirw," yw y cywir gyfieithiad. Rhag i neb dybied nad yw y darddodiad yn cael tegwch felly, cânt hi yn cymmeryd yr un ystyr yn Mat. 19, 20, "O amser fy ieuenctyd;" Luc 8, 27, "Ganddo gythraul er's hir amser;" Ioan 6, 64, "Gwyddai Iesu er y dechreuad;" "Ar ol yr amser hwnw, amryw o'i ddyscyblion a aethant yn eu hol," Ioan 9, 1, 32; Act. 9, 33; Dad. 17, 11. Yr un modd y cyfieitha Luther hefyd ein testun, "*sint der Zeit, &c.*," *er* y pryd yr adgyfododd oddiwrth y meirw. Gwyr pob un a sylwodd yn fanwl ar eiriau ein Harglwydd, ei fod yn arfer gosod pwys mawr ar y ffaith o'i fod yn Fab Duw, ac yn gosod pwys ar ei adgyfodiad, fel prawf o hyny, ac ar dywalltiad yr Ysbryd ar y Pentecost, fel prawf o hyny eilwaith; a chan fod ein hesboniad o Paul yn cydredeg â'r hyn oedd i'w ddysgwyl yn brif brawf o faboliad Crist ganddo, yn ol rhediad geiriau ei Arglwydd, ac yn cymmeryd yr ymadrodd gwreiddiol yn rhwydd, meddwl yr ydym mai dyna yr un cywir, sef fod yr Ysbryd Santaidd, yn y tywalltiad o hono, wedi profi Crist yn Fab Duw, ar ol y prawf a roisid eisoes yn ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Darllener yn gysson â hyn, Ioan 7, 38; a 16, 7; a 14, 16, 26; a 16, 13; a 15, 26; Act, ii, 14—21. Wrth ddarllen Act. 1, 8, tebygid fod hyd y nod geiriau Crist mewn golwg gan yr apostol wrth ysgrifenu ein testun.

Y casgliad oddiwrth y cwbl yw, fod Crist yn Fab Duw, yn ol y cyhoeddiad yn Salm 2, 7; ac yn Fab Duw, gwisgedig â gallu, yr hyn a brofodd efe drwy anfon i wared yr Ysbryd ar y Pentecost, ar ol ei adgyfodiad, Gwell genyf y deongliad hwn nag un o'r lliaws a gyhoeddwyd o'i flaen. Cyn ei adgyfodiad, yr oedd Crist wedi ei eneinio â'r Ysbryd Glân, ac â nerth (Act. x, 38); ond nid ydoedd yr Ysbryd Glân wedi ei roddi etto i ddynion, oherwydd nad oedd yr Iesu wedi ei ogoneddu etto, Ioan 7, 38. Eglura "yn ol y cnawd" y modd yr oedd efe yn disgyn o Dafydd, ac eglura "yn ol ysbryd santeiddiad" y modd yr oedd efe yn Fab Duw *mewn gallu.*

Ein Harglwydd ni *(ton kuriou emôu)*. Mae *Arglwydd* yn air sy'n creu cryn gyffroad mewn Cristion. Fel y perthyna i Grist, arddengys ef fel y Pen-llywydd, yn neillduol i'w eglwys—y "ni." Nid yw na Matthew na Marc yn cymhwyso y teitl hwn yn arbenigol at Grist, oddieithr ar ol ei adgyfodiad, Mat. 28, 6; Marc 16, 19, 20. Ond cymhwysa Luc, Ioan, a Paul, y teitl iddo bob amser, ac yn dra aml. Ymddengys Paul fel yn arferyd y gair mewn ffurf neillduol. Felly Duw y Tad, neu Dduwdod fel y cyfryw, oddeutu deg-ar-hugain o weithiau, mewn dyfyniadau allan o'r Hen Destament, yn ysgrifau Paul; eithr yn mhob man arall, oddieithr rhyw bedwar neu bump o leoedd, dyry Paul y teitl o *Kurios*, Arglwydd, neu yr Arglwydd, yn arbenigol i Grist, a hyny dros ddau cant a phymtheg o weithiau. Nid

yw y fannod "yr" yn peri un gwahaniaeth yn yr ystyr, canys mae y gair *Arglwydd* wedi myned drwy arferiad yn fath o enw cyffredin ar y person dan sylw. Yn awr, os arferai Paul ddyfynu y gair *Arglwydd* o'r Hen Destament, a'i gael bob amser am y gwir Dduw, pa fodd yr arferodd efe ef dros ddau cant o weithiau yn nghymmysg â'r dyfyniadau hyny, am Grist, os nad efe yw y gwir Dduw hwnw? Ped ystyriasai Paul nad oedd ei Arglwydd yn ddim mwy nâ dyn, anhawdd iawn fuasai ganddo ei alw gannoedd o weithiau wrth y teitl a gaffai efe yn ei fibl ar y gwir Dduw yn unig; a hyny wrth ysgrifenu cyfran o fibl eglwysi dyfodol y byd, yn yr hwn y proffesai efe osod allan olygiadau cywir am Dduw a Christ, yn anad dim.

5 Trwy yr hwn* y derbyniasom ras ac apostoliaeth i †ufydd-dod ffydd yn mhlith yr holl genedloedd, ‡er mwyn ei enw ef:

* "Gan yr hwn," medd deongliadau. Rhuf. 12, 3; a 15, 15; 1 Cor. 15, 10; Gal. 1, 15; a 2, 9; Eph. 3, 8. "Ac apostoliaeth," nid yw yn Arabaeg Erpenius. "Gras yr apostoliaeth," medd Arabaeg Walton's Polyglott, a Tholuck. † "Ufydd-dod i gyfundrefn y ffydd," medd Beza, Bengel, Wolf. "Ufydd-dod ffyddiog," Schmid, Tholuck. "O achos ufydd-dod ffyddiog," medd Stuart. Act. 6, 7; Rhuf. 16, 26. ‡ Act. 9, 15.

Drwy yr hwn *(di' ou) through whom.* Gall fod y dull hwn o ymadroddi yn cyfeirio at yr achos dechreuol, yn gystal â'r achos cyfryngol. *Drwy yr hwn fel y prif a'r gwreiddiol achos*, yw y deongliad cywiraf yn fy ngolwg i. Ceir yr un ymadrodd am y prif achos, neu *gan yr hwn*, yn Rhuf. 11, 36; Heb. 2, 10; 1 Cor. 1, 9; Col. 1, 16; Ioan 1, 3.

Gras *(charis).* Y ffafr o swydd apostol, medd Chrysostom, Grotius, ac ereill. "Gras," medd Awstin, "gyda yr holl ffyddloniaid, ond apostoliaeth, nid gyda hwynt oll." Gyda Tholuck a Stuart, tueddir fi i wahanu y ddau air, "gras ac apostoliaeth" oddiwrth eu gilydd, yn lle dywedyd "gras yr apostoliaeth."

Cyfeiria yr apostol, tebygwyf, at y gras achubol a dderbyniodd pan yn erlidiwr tua Damascus, fel y cyfeiria efe yn aml mewn lleoedd ereill, megys 1 Cor. 15, 9, 10; Gal. 1, 13—16; 1 Tim. 1, 12—16. Gwelwn fel y tynodd dyrchafiad ei Arglwydd feddwl a phin yr apostol caredig hwn, yn naturiol at yr hyn a gawsai efe ei hun gan yr Arglwydd dyrchafedig hwnw. Mae pob peth yn râs, pob peth yn rhywle oddeutu crefydd bersonol, pob peth o Grist, a phob peth yn tynu mawl i Grist, allan o'n hapostol, yn barhaus. Dyma effaith a gwobr ffyddlondeb corff ac ysbryd dros Grist, yn y byd hwn.

Apostoliaeth *(apostolé) a sending off, expedition,* danfoniad allan; megys llongau neu bersonau. Ceir am y peth a anfonir, neu anrheg, yn 1 Bren. 9, 16; 1 Marc 2, 18. Ystyr y gair yn y Testament Newydd, yw y swydd apostolaidd; a cheir yn unig yn Act. 1, 25; 1 Cor. 9, 2; Gal. 2, 8, a'n testun; lle y cawn mai "cyfran," *lot, part, portion;* swydd, yr hon a gyfrenid nid drwy ddewisiad dynion, ond drwy gyfrwng pen-arglwyddiaethol Crist, ydoedd: mai ei sel neu brofion o'i gwiredd oedd fod y doniau gwyrthiol yn disgyn drwy arddodiad dwylaw yr apostol a'i meddai; a bod apostoliaeth i'r peth a'r peth wedi ei *lotio* neu osod allan i hwn, ac i'r peth arall i arall, megys apostoliaeth yr enwaediad neu Iuddewon i Pedr, ac un y dienwaediad i Paul; a chawn gan y

naill a'r llall fwy o ddirgeledigaethau ei gyfran ei hun o'i apostoliaeth, nâ chan neb arall. Er enghraifft, pwy fel Paul ar wir natur perthynas yr efengyl, ei moesoldeb, a'i haberth â'r cenedloedd? Cawn hefyd yn ein testun, mai i, a thuag at gael yr holl genedloedd yn ufydd i'r Ffydd er mwyn enw Crist y derbyniasai pob un o'r deuddeg y swydd arbenig hon.

Ufydd-dod ffydd. *(Upakoen pistéos)*, ufydd-dod ffydd fewnol, neu grediniaeth, medd Stuart, mewn cyferbyniad i ufydd-dod deddfol. Felly Tholuck hefyd. Eithr rhaid fyddai felly i'r gwir *ffydd* fod yn sefyll am *ffyddiog*, heblaw nad oes son yn y cyd-destunau am ufydd-dod deddfol. Gwell genyf fi yw ochri gyda Theodoret, Beza, Wolf, a Bengelius, gan gymmeryd yr ymadrodd yn gyfystyr â'r 2 Cor. 9, 13, "darostyngiad eich cyffes chwi i efengyl Crist;" sef ffydd fel cyfundrefn o athrawiaeth, yn yr hon y dadguddir cyfiawnder Duw, mewn cyferbyniad i bob ufydd-dod arall; a darfod i'r apostol ddywedyd "ufydd-dod *ffydd*," fel na thebygai neb mai ufydd-dod i Moses oedd yn ei olwg: lle y gwelwn ei fod yn ffurfio pob brawddeg o'r epistol yn gyd-rywiol â'i amcan mawr, sef profi mai drwy gyfundrefn fawr *Y Ffydd* yr oedd cadwedigaeth pechadur.

Er mwyn *(uper tou)*, o achos, *on account of.*

Ei enw ef *(onomatos autou)*, ei anrhydedd, dyrchafiad, gogoniant ef, fel Pen yr oruchwyliaeth efengylaidd neu *Y Ffydd.* Ei enw Ef yw Efe a'i achos. Ceir er mwyn ei enw ef, hefyd yn Act. 5, 41, a 9, 16, a 21, 13, 3; Ioan 7.

*Cyssylltiad* yr ymadrodd hwn sydd wedi peri dyryswch i esbonwyr. Chrysostom, Theophylact, Erasmus, ac Ammon a ddywedant, "ufydd-dod ffydd er mwyn ei enw Ef." Castalio a Tholuck a ddeonglant, "i ufydd-dod ffydd er mwyn ei enw Ef," sef er ei fwyn ef ei hun, gan arddangos mai er mwyn Crist ei hun yr ufyddheir iddo gan y cenedloedd, sef er mwyn ei ogoneddu ef. Felly Stuart, fel yr ymddengys ddeheuaf, ar y cyfan, i minnau.

6 Yn mysg y rhai yr ydych chwithau yn *alwedigion Iesu Grist.

* "Y Duw Iesu Grist."—*Ethiopaeg.* "Galwedigion effeithiol,"—Stuart, Barnes, Tholuck, Hodge.

"Galwedigion perthynol i Grist." Gwel ar y gair *Galw* dan adn. 1. Y rheswm a ddyry Stuart, yr hwn a ddilynais yma, dros ddywedyd "galwedigion perthynol i Grist," yn lle "gan Grist," yw, mai gan y Tad, neu yr Ysbryd Glân, gan amlaf, y dywedir fod dynion yn cael eu galw *at* Grist; ond mai perthynol iddo ef ydynt ar ol hyny. Felly ystyr y gair yw "Cristionogion wedi eu galw yn effeithiol." Felly Tholuck hefyd, ynghyd â Reiche ac ereill. Chrysostom a ddywed ar yr adnod hon, fel hyn:—"Pa beth a fynai Paul ddysgu i ni, pan ddywed ei fod wedi cael ei *alw?* Ei feddwl yw, nad efe a ddaeth yn gyntaf at ei Arglwydd, ond darfod iddo ar ol cael ei alw, ufyddhau; na wnaeth efe o hono ei hunan chwilio a chael, ond mai ei gael a wnaethpwyd pan oedd efe yn crwydro: nad efe a edrychodd yn gyntaf at y goleuni, ond mai y goleuni a anfonodd ei belydrau yn gyntaf ar ei olygon ef, ac ar ol cau ei rai allanol, a agorodd ei olygon mewnol ef yn effeithiol."

14

7 At bawb sydd *yn Rhufain, †yn anwyl gan Dduw, ‡wedi eu galw *i fod* yn saint: §Gras i chwi a thangnefedd oddiwrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd Iesu Grist.

* "At bawb sydd yn anwyl," &c., yw darlleniad yr hen groen-fibl G, a'r Bibl Llad. Boern. † "Yn anwyl gan Dduw:" nid yw yn yr hen groen-fibl, na'r un Llad. Germanicus. "Yn nghariad Duw," medd G. Clar. Boern. ac Ambrosiast. ‡ Rhuf. 9, 24; 1 Cor. 1, 2; 1 Thes. 4, 7. "Yn santaidd,"—Walford § 1 Cor. 1, 3; 2 Cor. 1, 2; Gal. i, 3. "Gras a phob llwyddiant:" Stuart, Hodge.

YN RHUFAIN; sef, nid yn unig yr eglwys, ond pawb oedd yno ar ei dro, canys yr oedd ar y pryd hyn, medd y Lladinwr Juvenal, luoedd o'r Groegiaid i'w cael pan y mynid.

ANWYL GAN DDUW; neu anwyliaid Duw, yr hwn oedd deitl o anwyldra arferedig yn aml am y saint. AGAPETOI, *beloved, dear;* arferir am rai mewn undeb serch â Duw, ac â'u gilydd; a chyfieithir yn aml yn *etholedig*, megys yn Act. xv, 25.

Anercha Paul eglwysi Rhufain (12, 19), Corinth, yn ei ail, ond nid ei lythyr cyntaf (2 Cor. 7, 1, a 12, 19), Thessalonica (1 Thes. 2, 8), ac eglwysi Syria a Chanaan (Heb. 6, 9), â'r cyfarchiad cynhes hwn o *anwyliaid;* ond gedy allan y cyfarchiad hwn o'i lythyrau at y Galatiaid, Ephesiaid, Philipiaid, Colossiaid, Timotheus, a Titus; er ein bod yn ei gael yn arfer y cyfarchiad o "frodyr anwyl," at y Corinthiaid yn ei lythyr cyntaf (15, 28), at y Philipiaid (4, 1), a Philemon (1). Mae "fy mrodyr anwyl" yn air aml gan Iago (1, 16, 19, a 2, 5); ac "anwylyd" gan Pedr, yn enwedig ar orpheniad ei ail lythyr (3, 1, 8, 14, 17) pan yn son am ddrychau ofnadwy y farn; ond Ioan yw yr amlaf ei arferiad o'r gair hyfryd-sain, *anwylyd:* canys ceir ef yn ei epistolau byrion ef can amled â naw o weithiau (1 Epist. 3, 2, 21, a 4, 1, 7, 11; 3 Epist. 1, 2, 5, 11); ac nid yw Judas yntau, nad faint ei geryddon ar y terfysgwyr Nicolaiaidd, heb alw corff yr eglwysi anerchedig yn *anwylyd*, gymmaint â thair gwaith, sef yn adn. 3, 7, 20. Eithr arwyddocâ yr ymadrodd testunol—anwyliaid Duw, rai dewisedig Duw i iachawdwriaeth, yr hwn ymadrodd a geir hefyd yn mhen. 11, 28; Eph. 5, 1. Er nad oedd Paul, Pedr, Iago, na Judas, o dymherau serchogaidd, megys Ioan, etto dyferai y gair *anwylyd* dros eu gwefusau, ac o eigion eu mynwesau, wrth ymwneyd â'u brodyr a chwiorydd yn Nghrist, y rhai fyddant byth gyda hwynt yn nofio yn moroedd hyfryd anwyldeb y nef. Onid oes eisieu rhagor o'r swn hwn yn awr, pe yn ddim ond moddion magu y sylwedd o hono? "Frodyr anwyl!" "Anwylyd!" "Anwyliaid Duw!" O, pa fiwsig nefol sydd yn y geiriau hyn! A gaiff fy narllenydd ei gyfarch fel hyn yn y byd nesaf gan yr hen apostolion dan sylw, ai peidio? a chan Grist; ïe, gan Dduw—yn anwylyd Duw? Yr unig ffordd at y fraint anrhaethol yw bod yn "anwylyd" yn awr.

WEDI EU GALW I FOD YN SAINT *(cletois agiois)*, *chosen saints, or saints effectually called;* saint dewisedig, neu alwedig yn effeithiol, medd Stuart. "Galwedigion, saint," medd ereill, "Dewisedigion, saint," medd ereill etto. Gan mai *dewisedig* yw ystyr y gair sydd

yma am y *galw*, yn arferiaeth Paul, gwell yw ochri at gyfieithad Stuart.

GRAS *(charis)*, a arwyddocâ yma, mae yn debyg, bob grâs Cristionogol a gyfrenid gan Ysbryd Duw i'r credinwyr.

TANGNEFEDD *(eirene)*, fel y gair Hebreig *shalom*, a arwyddocâ yn aml ddedwyddwch o bob rhyw. Ond gwel *Traethawd* ar y diwedd.

A'R ARGLWYDD IESU GRIST. Dylid sylwi fod Paul yn cymmeryd yn ganiataol, fod y bendithion a ddymunai efe yn y testun, yn dyfod mor wirioneddol oddiwrth Iesu Grist fel Arglwydd y gyfundrefn, ag oddiwrth Dduw ein Tad.

---

## § 2. Y RHAGYMADRODD. PEN. I, 8—16.

YMA ceir rhag-arweiniad yr epistol, at yr hwn yr â Paul yn mlaen drwy ddadganiadau o'i serchawgrwydd. Dangosasai eisoes yr awdurdod â pha un yr ysgrifenai efe atynt; ac yma, fel y dywed Theodotion, cawn ef megys yn ymesgusodi am beidio talu y cyfryw sylw iddynt yn gynt, ac yn egluro nad oherwydd un gwendid na chywilydd y peidiasai efe hyd yma â chyhoeddi yr efengyl fawr yn Rhufain, prif-ddinas llywodraeth, athroniaeth, a chrefyddau, y byd adnabyddus, ïe, a ffynnonell yr erlidigaethau a ddylifent dros Gristionogaeth yn yr oesoedd boreuaf hyny.

8 Yn gyntaf, *yr wyf yn diolch i'm Duw trwy Iesu Grist drosoch chwi oll, †oblegid bod eich ffydd chwi yn gyhoeddus yn yr holl fyd.

* 1 Cor. 1, 4; Phil. 1, 3; Col. 1, 3, 4; 1 Thes. 1, 2; Philem. 4. † Rhuf. 16, 19; 1 Thes. 1, 8.

YN GYNTAF, sef cyn son o honof am bethau ereill. Cawn ei ail yn nechreu adn. 13, "Ni fynwn *hefyd* (neu yn nesaf) i chwi fod heb wybod," ebe efe. Gwel Passow Lex. in MEN.

I'M DUW. Mae y grefydd Gristionogol, yr hon a'n dysga i ddywedyd "Ein Tad," yn caniatâu i ni y fraint îs o ddywedyd "Ein Duw;" canys perthynai yr olaf hyd y nod i Abraham ac Israel, er nad y flaenaf mewn ystyr grefyddol.

TRWY IESU GRIST, sef mewn canlyniad i'r hyn a wnaeth ac a effeithiolodd Crist. Diolchai Paul am stad lwyddiannus eglwys Rhufain, fel Cristion ar yr hwn y cymmerasai Crist drugaredd, ac yn mynwes yr hwn y ceir yn awr gydymdeimlad ag ereill o anwyliaid Crist. Fel yna yr esbonia rhai. Ereill, "Yr wyf yn diolch i Dduw, yr hwn yw'm Duw drwy yr hyn a wnaeth Iesu Grist i mi; iddo ef y perthynwyf, fel un o'i eiddo ef, drwy gyfryngdod Crist." Felly Glöckler.

DROSOCH, &c. *(uper panton umôn)*, o'ch hachos chwi oll; ac nid yn eich lle, er fod hyny hefyd yn un o ystyrion y gair mewn manau ereill.

HOLL FYD, sef dros yr holl amherodraeth Rufeinig; canys arferir y geiriau *cosmos* ac *oicoumene*—y geiriau Groeg a gyfieithir *byd*, mewn ystyr gyfyng, yr un modd â'r geiriau *daear* a *byd* o'r Hebraeg. Nid oedd dim yn fwy naturiol nag i ffydd y Rhufeiniaid gael ei dadgan ar

led yr amherodraeth, drwy fod y ddinas fawr hono yn cael ymweliadau dyeithriaid o bob parth o honi.

9 Canys *tyst i mi yw Duw, †yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu
‡yn fy ysbryd yn efengyl ei Fab ef, §fy mod i yn ddibaid yn
gwneuthur coffa o honoch bob amser yn fy ngweddiau,
10 ||Gan ddeisyf a gawn ryw fodd, ryw amser ¶bellach,
**rwydd-hynt ††gydag ewyllys Duw, i ddyfod atoch chwi.

* Rhuf. 9; 2 Cor. 1, 23; Phil. 1, 8; 1 Thes. 2, 5. † Act. 27, 23; 2 Tim. 1, 3; Ioan 4, 23, 24; Phil. 3, 3. ‡ Yn yr ysbryd, *medd* yr *hen Syriaeg*, ac *Arabaeg Erpenius*. Yn ddiragrith, *medd Stuart*. § 1 Thes. 3, 10. || Rhuf. 15, 23, 32; 1 Thes. 3, 10. ¶ Ar fyrder, *medd Stuart*. ** Wneyd taith lwyddiannus, *medd Stuart*. †† Iago 4, 15. |||| "Dan arweiniad Duw,"—*Hodge*.

YN FY YSBRYD *(en pneumati mou)*, â'm holl galon, ac nid â'm geiriau yn unig. Cawn fod yr apostol yn ymroddawl â holl gynneddfau ei enaid neu ysbryd, i'r achos mawr a broffesai efe, hefyd yn Phil. 3, 3; 2 Tim. 1, 3; Eph. 6, 6; Rhuf. 2, 28, 29.

EFENGYL EI FAB EF: drwy bregethu yr efengyl, yr hon sy'n perthynu i'w Fab ef, medd rhai. Yr efengyl o ba un y mae ei Fab ef yn awdwr, medd ereill. Yr efengyl a ddysgodd ei Fab ef i mi, medd ereill drachefn. Mai at fyw yn ysbrydol yn ol yr efengyl, ac nid at ei phregethu yn unig, y cyfeirir yma, sydd debycaf oddiwrth yr ymadrodd "yn fy ysbryd" sydd o'r blaen, ac yn arddangos natur y gwasanaeth.

YN DDIBAID *(adialeipōs)*, *without intermission*, heb ymattaliad. Gwelwn y sel danbaid oedd yn llosgi yn mynwes yr apostol dros lwyddiant yr eglwysi; canys os eiriolai efe mor daer â hyn dros eglwys Rhufain, yr hon nis gwelsai efe erioed, pa faint raid fod ei daerineb dros y rhai a blanasai ac a fagasai efe â'i lafur ei hun! Yr un modd y teimlai ac y gweddiai efe dros eglwys Thessalonica (1 Thes. 1, 2), ac y diolchai hefyd drosti (2, 13), er nad yw efe yn arferyd yr un gair *dibaid* am ei weddiau ar ran neb arall. Pa olwg wahanol a ymddangosai yn fuan ar eglwysi Crist, pe berwai yr un teimladau dros fynwesau yr holl weinidogion, ag a ddylifai allan o galon yr apostol ffyddlon hwn, nad faint o ofidiau personol a'i blinent!

GWNEUTHUR *(poioumai)*; yr wyf yn gwneuthur i mi fy hun *(Middle voice of the Verb)*.

GAN DDEISYF *(deomenos)*, *beseech*, erfyn, gweddio yn daer a dinag.

A GAWN sy'n arddangos fod gradd o ammheuaeth yn crogi uwchben yr amser dyfodol, yn meddwl yr ysgrifenydd ei hun. "Efallai, os posibl, os yn rhyw fodd, os drwy ryw lwybr," medd efe.

BELLACH, yn y cystrawiad hwn, a arwyddocâ *by and by*, *soon*; yn fuan, cyn bo hir. Dylid deongli yr ymadroddion hyn fel yma—"cyn bo hir; o leiaf ar ryw amser dyfodol." Arddengys y naill air yr ansicrwydd, a'r llall mai ar ryw amser dyfodol y dymunasai ddod drosodd i Rufain.

RHWYDD-HYNT, neu daith lwyddiannus, yr hyn fuasai yn beth nas

cafodd efe dros y môr pan y gwelodd Duw yn dda iddo fyned yno. Gwel Act. 27.

Chrysostom a ychwanega yn dlws iawn:—"Efe a'u carai hwynt, a brysiai tuag atynt; etto, nad faint ei gariad, os yn groes i ewyllys Duw, ni feddai efe ar y cyfan un ewyllys i'w gweled hwynt. Dyma y gwir gariad cristionogol. Mor wahanol i ni, y rhai ydym yn troseddu ar bob llaw i ddeddf cariad; drwy beidio caru gradd yn y byd, neu os caru a wnawn, drwy garu [nes rhedeg yn ei rym] yn groes i ewyllys Duw."

11 Canys yr wyf yn hiraethu am eich gweled, *fel y gallwyf gyfranu i chwi ryw ddawn ysbrydol, ‡fel y'ch cadarnhaer.

* Rhuf. 15, 29. ‡ Fel y'ch cadarnhaer, *a adawwyd allan o'r Bibl Ethiopaeg.*

Dawn ysbrydol *(charisma pneumaticos)*. Awstin a ddeallai mai caru ein cymmydog yw y ddawn hon, gan dybied fod y Cristionogion Iuddewig yn fyr yn y rhinwedd hwn; eithr dengys yr apostol ei ddysgwyliad yn adn. 12, o dderbyn oddiwrthynt yr unrhyw ddawn ag a gyfranai. Felly Stuart; er nad wyf fi yn gallu cydweled ag ef am y sylw olaf hwn; sef mai yr un ddawn a ddysgwyliai efe oddiwrthynt ag a gyfranai efe iddynt, canys nid yw yr adnod yn dweyd hyny, fel y ceir sylwi arni yn ei lle. Ambros a dybiai fod y Rhufeiniaid yn glynu o hyd wrth gyfiawnder drwy weithredoedd, a bod Paul yn arferyd y gair *dawn ysbrydol* yma am gyfiawnder ysbrydol; eithr ni allasai efe eu canmol am eu ffydd, pe buasai yn gywir y dyb hon am danynt. Ar ol gwrando ar bawb, nid oes dim a dyr y ddadl ond gwrando ar arferiad y gair *dawn ysbrydol* ei hunan yn yr ysgrifeniadau apostolaidd. Gwel yr Arholiad.*

* Arholiad I.—Dawn *(charisma)*, *a gift, grant, benefit, a good conferred;* rhodd, budd, daioni cyfranedig. Ei arferiad yn y Testament Newydd sydd yn unig am roddion a grasau derbyniedig oddiwrth Dduw.

1. Cawn y gair *dawn* am waredigaeth rhag perygl mawr, yn 2 Cor. 1, 11, megys am angeu creulon a merthyrdod.

2. Am reddf neu allu yn y meddwl, yn 1 Cor. 7, 7.

3. Am ddoniau gwyrthiol yn yr eglwys, yn 1 Cor. 1, 7, megys, "pob ymadrodd, a phob gwybodaeth," yn adn. 5. Rhuf. 12, 6: 1 Cor. 12, 4, 9, 28, 30, 31; 1 Pedr 4, 10; ac fel eu cyfrenid mewn modd neillduol drwy arddodiad dwylaw, yn 1 Tim. 4, 14; 2 Tim. 1, 6.

4. Am y prynedigaeth neu iachawdwriaeth drwy Grist, yn Rhuf. 5, 15, 16; a 6, 23; a 11, 29.

Ni chawsom mo'r gair yn arferedig unwaith am y cysur, a'r sicrwydd ffydd a gobaith, a osodir iddo yn ystyr gan Stuart a Tholuck. Awn, bellach, yn mlaen at olrheiniad y gair,

Ysbrydol *(pneumaticos)*, *breathing, aerial*, awyrol; yna daeth yn *mental*, meddyliol; eithr yn y Testament Newydd, *ysbrydol;* sef,

1. Perthynol i natur ysbrydion, megys yn 1 Cor. 15, 44, 46, "Corff yn meddu rhywbeth o natur ysbryd." Eph. 6, 12, "Drygau ysbrydol," sef drygau oddiwrth y naturiaeth o ysbrydion.

2. Perthynol i, neu yn deilliaw oddiwrth, yr Ysbryd Glân. Arferir ef yn yr ystyr hwn am (*a*) *Bersonau* ysbrydol; sef, wedi eu goleuo gan yr Ysbryd Glân, yn mwynhau ei ddylanwadau, grasau, neu ddoniau. 1 Cor. 2, 13, "Gwyr ysbrydol yn cymharu

Cadarnhaer *(sterichthenai)*, *to make stedfast in mind*, eu sefydlu o ran eu meddwl. Yr oedd tuedd arbenig mewn fod dyn yn derbyn y gwirionedd drwy ddawn wyrthiol iw gadarnhau yn y cyfryw wirionedd. Gan nad oeddynt hyd yma wedi derbyn gwybodaeth Mab Duw hyd y perffeithrwydd dysgwyliedig, nâ llyfrau y Testament Newydd wedi eu casglu ynghyd, nac yn wir, eu cyfansoddi, yr oeddynt yn cael eu cylch-arwain gan bob awel dysgeidiaeth. Diolchwn ni am ymgyfarfyddiad yr holl apostolion, a bod eu gwybodaeth yn un gwr perffaith o athrawiaeth-au genym ni, yr hyn sy'n llawer gwerthfawrocach nâ doniau gwyrthiol; canys mae gan bob dyn yn awr yr holl wybodaeth o flaen ei lygaid.

12 *A hyny sydd i'm cyd-ymgysuro ynoch chwi, trwy ffydd ein gilydd, yr eiddoch chwi a'r eiddof finnau.

* "Sef i'm," &c.,—Walford. Titus 1, 4; 2 Pedr i, 1.

Cydymgysuro *(sumparaclethenai)*. Ei ystyr yn mhlith yr Atheniaid oedd cydwahodd a chymhell y naill y llall; yn mysg Groegiaid diweddarach, deisyf ar, ac annog y naill y llall; ond yn mysg y Groegiaid Iuddewig, cysuro, addysgu y naill y llall, oedd ystyr y gair. Dyry Beza ormod o le i'r meddwl o addysgu eu gilydd, ar y lle. Yr ystyr yn ol Tholuck yw *refresh, stir up*, adfywio, cyffroi eu gilydd, yr hyn sydd bob amser yn ffrwyth cyfrinach rhwng dynion o grefydd bur, 2 Cor. 7, 7. "Fy nymuniad sydd nid yn unig i gyfranu, ond i dderbyn hefyd oddiwrthych. Mae awyddfryd yr ysgolor yn gyffroad hefyd i'r athraw." Felly Theodoret. Geilw Calvin ein sylw at yr ymadrodd, gan ddywedyd, "Gwelwn gyda pha addfwynder yr ymddyga enaid gwir grefyddol! Nid yw yn gwrthod cadarnhad oddiwrth hyd y nod rhai fo'n dechreu

pethau ysbrydol." Adn. 15, "Barna yr hwn sy'n meddu doniau gwyrthiol yr Ysbryd i'r dyben hwnw, bob peth." Yr un ystyr sydd i'r gair yn 1 Cor. 3, 1. Yn 1 Cor. 14, 37, cawn eglurder mai dylanwad gwyrthiol yr Ysbryd oedd y peth a'u cyfansoddai yn ddynion ysbrydol yn yr ystyr hwn, lle dywed Paul, "Os tybia neb ei fod ef ei hun yn brophwyd neu yn ysbrydol;" tra, pe gras cadwedigol feddyliasid wrth y gair ysbrydol, ni chauasid allan y prophwydi oll oddiwrtho fel hyn. Gal, 6, 1, a raid fod yr un peth, sef y dynion a feddent y ddawn o ddirnad pethau Duw wrth eu trafod, i aros gorphen-iad y gyfrol o ddadguddiad dwyfol. *(b)* Arferir ef hefyd am *bethau* ysbrydol, sef y pethau a gyfrenid gan yr Ysbryd Glân, megys yn Rhuf. 15, 27; am y gwybodaethau Cristionogol, yn 1 Cor. 2, 13, 14, y rhai nis gallai dyn eu cael allan heb y ddawn o ysbrydoliad perthynasol. Dyna y gwr a elwid yn ddyn anianol. 1 Cor. 9, 11; Eph. 1, 3; Col. 1, 9; 1 Cor. 12, 1; a 14, 1; Eph. 5, 19; Col. 3, 16; Rhuf. 7, 4; ac yn ein testun. O olrhain y cyfeiriadau hyn, cawn yr holl ddaioni a dderbyniasai eglwys Cor-inth drwy ddadguddiadau Duw i Paul, yn myned dan y gair *ysbrydol*, ynghyd â'r bendithion deilliedig i'r apostolion, neu wyr y nefolion leoedd. Cyssylltir â doethineb; a gelwir dirnadaethau yr efengyl yn ddeall ysbrydol. Gelwir yr holl ddoniau gwyrth-iol sydd dan sylw yn 1 Cor. 12, yn *ysbrydolion;* a gwahaniaethir hwynt oddiwrth gar-iad, yn 14, 1. Cawn fod dynion, drwy yr ysbrydoliad hwn, yn cyfansoddi hymnau. Dywedir fod y ddeddf foesenaidd wedi dyfod allan drwy ysbrydoliad; a chan mai *pethau gwyrthiol* oedd ystyr y gair hwn, *pneumaticos*, neu ysbrydol, yn mhob lle arall; a chan fod y gair arall, *charisma*, neu dawn, gan amlaf am yr unrhyw wyrth, rhaid i ni ddeongli mai at gyfranu rhyw ddawn wyrthiol, o'r rhestr fawr a ddisgynai drwy arddodiad ei ddwylaw ef yn anad neb, debygwyf, y cyfeiriai efe yn ein testun, ac nid at un math o gysur cadarnhaol arall.

crefydda. Ac nid yw yr apostol yn arfer un gwahaniaeth yma; canys nid oes neb mor isel yn eglwys Crist, na all efe beri rhyw gynnydd at ein stor ni oll. Ninnau a rwystrir, ysywaeth, gan ein balchder, i loffa y manteision hyn ar faes crefydd."

13 Eithr ni fynwn i chwi fod heb wybod, frodyr, i mi *yn fynych arfaethu dyfod atoch (‡ond fe'm lluddiwyd i hyd yn hyn), fel y cawn ryw ffrwyth ynoch chwi hefyd, §megys ag yn y Cenedloedd ereill.

* Rhuf. 15, 23. ‡ Gwel Act. 16, 7; 1 Thes. 1, 18. § Gadewir allan yr ymadrodd olaf o'r adnod o rai biblau. Phil. 4, 17. "Yn mysg,"—Walford, &c.

YSBRYDOLIAD YR APOSTOLION.

Yn fynych arfaethu. Pa mor fynych nis gwyddom; ond un peth sydd eglur oddiwrth yr ymadrodd hwn ynghyd â rhai ereill, sef nad oedd yr apostolion yn cael eu harwain yn barhaus yn eu holl feddyliau, ewyllysiau, ac amcanion, gan ysbrydoliaeth; onide, pa fodd y gallasai Paul fynych arfaethu yr hyn ni ddaeth i ben? Dichon y sawl a haerant dros y fath barhaus ysbrydoliad, fod yn selog dros anrhydedd yr apostolion fel sylfaenwyr yr eglwys Gristionogol; ond y ffaith yw eu bod yn coleddu sel heb wybodaeth. Canys os unwaith y caniatawn fod yr apostolion yn hollol ysbrydoledig yn mhob peth a gyflunient, a ddywedent, ac a wnelent; yna gorfodir ni i ganiatâu fod dynion tra yn gweithredu dan ysbrydoliad, yn amcanu heb gyflawni eu hamcanion; yn dywedyd yr hyn fo'n fyrbwyll neu anghywir, megys Paul yn Act. 23, 3; neu yr hyn a gondemnir yn yr efengyl, megys Pedr yn ol Gal. 2, 13, 14. Os caniateir hyn oll unwaith, ni allwn ar ol hyny ddywedyd fod ysbrydoliad yn cadarnhau geirwiredd neb; canys pa faint a dâl yr ysbrydoliad hwnw sy'n frith o gyfeiliornadau, a phenderfyniadau dianghenrhaid! Mae, gan hyny, y sawl a ddaliant dros ysbrydoliad *parhaus* yr ysgrifenenwyr santaidd, ac a ganiatânt ar yr un pryd (fel y rhaid hefyd iddynt ganiatâu) eu camsyniadau mewn arfaethau, geiriau, a gweithrediadau, mewn effaith yn cymylu gogoniant dwyfol ysbrydoliad, drwy osod dynion ysbrydoledig ar yr un tir camsyniadol â'r lleill; ac o ganlyniad yn gosod ysbrydoliad yn ddiwerth, a'i ysgrifeniadau yr un modd.

Nid oes dim, debygwyf fi (gyda Stuart,) yn ymddangos yn fwy sicr nâ bod ysbrydoliad pechaduriaid dynol yn beth tymmorawg yn unig: nad ydoedd yn *arosawl* a *pharhaus* gyda'r apostolion na neb o'r cyn-gristionogion. I unig ac anwyl Fab Duw, ac nid i neb arall, y rhoddwyd yr Ysbryd hwn heb fesur (Ioan 3, 34). Mwynhaodd pob dyn ysbrydoledig arall ef *wrth fesur* yn unig. Dywed Stuart mai canlyniad o hyn ydoedd fod yr Iesu "heb bechu, ac heb dwyll yn ei enau"; ond fod ei holl ganlynwyr, oddiar y gwahaniaeth diffygiol hwn o'i Ysbryd, wrth reswm, yn cyflawni mwy a llai o gamsyniadau a phechod, pa bryd bynag eu gadewid heb arweiniad gwyrthiol yr Ysbryd Glân. Eithr, pe hyn—pe dylanwad gwyrthiol Ysbryd Duw oedd yn cadw ein Harglwydd yn santaidd a dibechod, pa ddiolch oedd iddo Ef am beidio pechu? Pa ddiolch oedd i Balaam am beidio rhegu Israel, neu i'w asen am geryddu

ynfydrwydd ei meistr? Onid i Dduw y perthynai yr holl glod am ei gorfodi i gyflawni y pethau hyny? Fy nhyb wastadol i am ddylanwad gwyrthiol yw, ei fod yn cymmeryd hollol feddiant o alluoedd meddwl a chorff y gwrthrych, fel nad yw y dyn ar y pryd yn na dweyd na gwneyd dim ond a fyn yr Ysbryd iddo gyflawni. Ond am ddylanwad perswadiol neu foesol, ei fod o'r ochr arall yn gadael i'r gwrthrych ei ryddid i ddewis a gwrthod ei gynnygion; etto, fod y fath rym yn y dylanwadu, a'r fath resymoldeb yn cael ei arddangos yn yr iawn ddewisiad, pan fyddo pob peth arall yn cyd-daro yn y drefn, nes y gall yr Ysbryd lwyddo mor hollol felly ag â'r ffordd arall, sef gorfodi. Hollwybodol Greawdwr y meddwl yw, ac onis gall Efe, pwy arall a all byth ennill meddwl cyfrifol, heb gaethiwo ei ryddid?

Gwel y darllenydd fod y goleu uchod ar *ysbrydoliad* yn ei ryddhau oddiwrth amryw a mawrion anhawsderau. Dyry i'r Gwaredwr y flaenoriaeth sydd yn wir deilwng iddo. Dyry gyfrif teg am gamgymmeriadau aml yr apostolion. Ar yr un pryd, nid yw yn iselu y radd leiaf ar sicrwydd a geirwiredd dywediadau ac actau yr apostolion, pan y byddent dan ddylanwad gwyrthiol Ysbryd Duw.

YN Y CENEDLOEDD ERAILL. Cyfeiria yr apostol yma at y ffaith, fod yr efengyl, yn yr holl daleithiau ei pregethasid ganddo ef ynddynt, sef y rhai a enwa efe yn pen. 15, 18, 19, wedi dwyn ffrwyth dymunol. "Yn mha le yn awr (ebe Chrysostom ar y lle) y mae y Groegiaid doeth hyny, gyda'u barfau llaesion, a'u huganau, a'u honiadau goruchel? Mae Groeg a holl wlad y barbariaid wedi cael eu troi gan wneuthurwr pebyll. Hyd y nod Plato, o'r hwn yr ymffrostient gymmaint, er iddo ymweled deirgwaith â Sicily, oedd analluog, gyda holl fawrwychedd iaith ac uchel gymmeriad, i droi cymmaint ag un gormeswr; eithr, o'r ochr arall, yn gorfod dianc, gwedi o'r bron golli ei ryddid a'i fywyd yn yr ymgyrch clodwiw; tra mae y saer pebyll hwn wedi amgylchu nid yn unig holl Sicily ei hunan, ond Italy, a'r holl fyd adnabyddus. Ac wrth bregethu, ni adawodd heibio ei grefft; ond parhaodd o hyd i wnio ei grwyn ac agor ei *shop*; wrth yr hyn nid oedd hyd y nod gwyr o urddas yn cymmeryd un tramgwydd." "Nid myfi, nid myfi (ebai y saer pebyll hunanymwadol) ond Ysbryd Duw yr hwn oedd gyda mi!"

14 ‡Dyledwr ydwyf i'r Groegiaid ac i'r barbariaid, i'r §doethion ac i'r annoethion hefyd.

‡ 1 Cor. 9, 16. § "I'r dysgedig ac i'r annysgedig,"—Stuart. "I'r rhai disylw, ac i'r rhai o sylw,"—Ereill. "I'r ynfydion ac i'r rhai call,"—Ereill. "Hunanddoeth,"—Barnes.

DYLEDUS WYF i bregethu yr efengyl—yw y meddwl. Cymharer 1 Cor. 9, 16; 2 Cor. 2, 6, a 4, 5.

Gofynir yn aml, pa un a oedd Paul yma yn rhestru y Rhufeiniaid gyda'r Groegiaid, ynte gyda'r Barbariaid? Amryw, gyda Bengelius a Heumann, a gofleidiant y dyb gyntaf; tra mae amryw o'r ochr arall, gyda Krebs a Wolfius yn dewis yr ail. Os apeliwn at arferiad yr iaith, cawn yn benderfynol (medd Tholuck) fod y Groegiaid yn arfer cynnwys y Rhufeiniaid o fewn y gair *Barbariaid.* Etto nid yw efe yn ystyried y gwnaethai Paul felly yn y fath lythyr parchus â hwn. Y nod o adnabyddiaeth nid oedd pwy a lefarai Roeg, a phwy yr ieithoedd

ereill; ond, fel yr arddengys yr ymadrodd esboniadol sy'n dilyn, pwy oedd, a phwy nid oedd, yn meddu Groegaidd ddiwylliad a gwareiddiad; ac os wrth y diwylliad yr adnabyddid y gwahaniaeth, rhaid fod y Rhufeiniaid i'w cynnwys o fewn dosparth y "Groegiaid"—y *civilized*. Ymddengys fod yr apostol yn cyfeirio at hyn yn adn. 16; gan ddywedyd wrth edrych ar Rufain fel prif gartrefle dysgeidiaeth a diwylliaeth, y gallasai fod ofn neu gywilydd arno bregethu yn y fath le. Eithr, dichon fod tyb Koppe yn ddigon cywir, yr hwn a ddywed fod yr apostol wrth son am "Groegiaid a Barbariaid," heb feddwl dim am y Rhufeiniaid, ond yn unig yn ychwanegu math o esboniad ar yr ymadrodd y "cenedloedd ereill" a arferasai efe ar ddiwedd yr adnod flaenorol; ac mai yn y gair "doethion ac annoethion" y cynnwysai efe y Rhufeiniaid. O fewn y gair "doethion," fel y tybia efe oddiwrth adn. 16, y rhestrai efe hwynt yn benaf. Gan adael y Rhufeiniaid allan o'r golwg, efe a bregethasai eisoes i'r Barbariaid, sef y Lycaoniaid a'r Illyriaid. Dywed Stuart mai ystyr y frawddeg "Groegiaid a Barbariaid" yw *civilized and savage;* sef gwâr ac anwar; eithr tebycach nâ'r oll yw fod Paul yn cofio fod Groegiaid a Barbariaid, doethion uchaf ac annoethion isaf y byd, i'w cael yn ninas fawr Rhufain; ac yna, wrth son am ei fwriad o bregethu yn y ddinas hono, ei fod yn ychwanegu am ei ddyled yn ol ei *lot* neu gyfran o'i apostoliaeth fawr, i bregethu i bob math a graddau o bechaduriaid.

15 Felly, ‡hyd y mae ynof fi, parod ydwyf i bregethu yr efengyl §i chwithau hefyd ‖y rhai ydych yn Rhufain.

‡ "O'm rhan i,"—Rhai. "Cyn belled ag y gorphwysa y pwnc arnaf fi,"—Ereill. "Mae yr hyn sydd o'm mewn i yn barod."—Rhai biblau Lladin, ac un Morgan. § "Yn eich mysg chwithau,"—Rhai biblau Groeg a Lladin. "Uwch eich penau chwithau,"—Un hen Fibl Groeg. ‖ "Y rhai ydych yn Rhufain,"—Nid yw mewn un hen Fibl Groeg na Lladin tra pharchus.

Felly *(outo)* a gyfeiria yn ol at y "megys" *(cathos)* yn adn. 13, yn ol Tholuck; ond gwell yw dilyn Reiche a Stuart, gan ei adael i ddilyn yr ymadrodd blaenorol mewn cyssylltiad.

"Hyd y mae ynof fi; ond rhaid i mi beidio os na chaf genad yr Ysbryd."

16 Canys nid oes arnaf ‡gywilydd §o efengyl Crist; oblegid ‖gallu Duw yw hi ¶er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu; §§i'r Iuddew yn gyntaf, ac hefyd i'r Groegwr.

‡ "Nid wyf yn ymgywilyddio o," &c.,—Groeg. Salm 40, 9, 10; Marc 8, 38; 2 Tim. 1, 8; 1 Cor. 1, 18; a 15, 2. § "O'r efengyl," yw darlleniad yr holl fiblau Groeg henaf, megys A B C D E G, ynghyd ag amryw ereill; yr holl fiblau Syriaeg, Coptaeg, Armenaeg, Vulgate, hen rai Lladin, a biblau Origen, Basil, Cyril, Chrysostom, Tertullian, Awstin, Jerom, Morgan, &c. Gadawwyd y gair *Crist* allan o destamentau Groeg Griesbach, Mill, Bengel, Koppe, Lachman, a Scholz; ac yn ei erbyn y mae Knapp hefyd. Digon tebygol, gan hyny, mai ymwthio trwy ddiofalwch rhyw rai a wnaeth; canys y mae yr ystyr yr un hebddo. ‖ "Gallu croes Duw," medd rhai biblau Groeg, a Morgan hefyd medd rhai hanesWyr. "Awdurdod Duw," medd rhai. "Effaith oddiwrth Dduw," medd ereill. "Gwyrthiau Duw,"—Ereill. "Goludoedd Duw,"—Ereill. 1 Cor. 1, 18; a 15, 2. ¶ "Er iachawdwriaeth," a adewir allan o rai biblau. §§ "I'r

Iuddew ac i'r Groegwr," medd rhai biblau lled barchus. Luc 2, 30—32; a xxiv, 47; Act. 3, 26; a 13, 26, 46; Rhuf. 2, 3.

Cywilydd *(epaischemomai)*, *to shame one's self upon, in, at, any thing, to be ashamed of.* Ymgywilyddio o rywbeth; teimlo y dasg o'i addef yn ormod i fyned drwyddi.

Gallu Duw *(dunamis theou)*, grym, effeithiolrwydd. Arferir yma yn draws-enwadol am y gyfundrefn yn mha un yr oedd gallu neu effeithiolrwydd dwyfol er iachawdwriaeth; y peth drwy yr hwn yr amlygir gallu Duw: "Amlygiad o allu Duw yw hi," medd rhai. "Amlygir gallu Duw drwyddi yn barhaus," medd ereill. Cawn yr un gair "gallu Duw" hefyd yn Act. 8, 10; 1 Cor. 1, 18, 24, a 2, 5: 2 Cor. 6, 7; lle cawn ef am allu gwyrthiol, am Grist, ac am yr un peth ag yn ein testun.

*I bob un sy'n credu;* ond nid i neb arall. Rhai a ddeonglant fel hyn—"Gallu Duw yw y gwyrthiau sy'n ei chadarnhau, yn ngolwg ei chredinwyr, tra mae y lleill yn eu priodoli i allu Satan." Ereill—"Gallu Duw yw hi fel cynllun yn ngolwg ei chredinwyr, a neb arall." Ereill—"Gallu Duw yw hi yn nghalonau pechaduriaid i'w hennill i gredu, ar ol methu o allu dynol a'u hennill." Ereill—"Gallu Duw yw hi, i fod yn iachawdwriaeth i'r sawl a welo yn dda ei chredu yn gyntaf; eithr onis credant nid yw hi yn ymwneyd dim oll â hwynt." Ereill a grynhoänt ddau neu ragor o'r barnau hyn yn un ystyr i'r apostol, ac ambell un a gasgla yr oll i fod yn ei olwg wrth y geiriau. Yr hyn oll a allaf fi ei gael o'r adnod yw fod y ffaith, mai gallu Duw hyd yn (neu er mwyn) iachawdwriaeth i bob credadyn, ydoedd yn yr efengyl yn peri iddo ef beidio cywilyddio o honi yn un lle, hyd y nod yn Rhufain fawr, foneddigaidd, a dysgedig ei hunan. Dichon fod manau ereill o'r gair santaidd a brofant yr holl bethau uchod, ond anhawdd genyf fi yw dywedyd fod fy nhestun yn ochri at y naill mwy nâ'r llall o honynt.

Er nad oedd ei Arglwydd namyn tramgwydd i'r Iuddewon, a ffolineb i'r Groegiaid, ei ymffrost ef oedd ei gyhoeddi fel y Crist croeshoeliedig i'r naill fel y llall.

*I'r Iuddew yn gyntaf* o ran amser, ond nid o ran hawl na chariad cryfach yn ei Arglwydd. Gyda golwg ar anrhegu y byd â'r efengyl, fel *byd* y carodd Duw ef, ac nid fel personau, cenedloedd, &c., y naill yn fwy nâ'r llall. Nid yw hyny yn milwrio dim yn erbyn athrawiaeth cariad Duw o'r eglwys, a'i santeiddiad o honi oddiar hyny.

---

## § 3. Gosodiad testun yr epistol i lawr. Pen. i, 17.

Y testun yw pwnc mawr dadl yr epistol, sef pa un ai yn y cyfundraethau *paganaidd*, ai yn nghyfundrefn yr *enwaediad*, ai yn nghyfundrefn y *ddeddf*, ynte yn hen gyfundrefn fawr y *ffydd*, y dadguddid y cyfiawnder cyfiawnhaol hwnw oedd yn eisieu ar y byd, er mwyn cyrhaedd dedwyddwch.

Y *gyntaf* a elwir gan Paul yn ddoethineb y byd *(sophia tou cosmou)*, megys yn 1 Cor. 1, 20; a 3, 19; yn ddoethineb dynion *(sophia tou anthropou)*, 1 Cor. 2, 5; yn ddoethineb y doethion *(sophia tou sophou)*, 1 Cor. 1, 19; yn eiriau denu o ddoethineb ddynol, 1 Cor. 1, 21; ac yn ddoethineb ymadrodd, 1 Cor. 1, 17; sef, y *ddysg a'r phi-*

*losophi* arferedig a derbyniol yn mysg y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn yr oes apostolaidd, yr hon oedd o duedd i dynu ymaith feddyliau dynion oddiwrth y gwirionedd dwyfol. Ni chyfiawnheid neb drwyddi hi.

Yr *ail* a elwid yn enwaediad (*he peritomè*); sef yr oruchwyliaeth hono a roisai i Abraham y gynnysgaeth o'r enwaediad, ac wrth yr hon y cyfeiliornus gyssylltai yr Iuddewon eu hawl i Ganaan, a'r holl fyd gyda hyny. Tybient fod y cyfiawnder a gyfrifasai Duw i Abraham yn gyfiawnder cyfundraethol, ac yn waddol i'w holl had enwaededig ef o Israel, megys y mae cyfiawnder Crist i'r credinwyr. Aethent mor bell â phwyso ar gyfiawnder Abraham am baradwys, ac esgyniad i'w fynwes yn y diwedd, er yn cyflawni pob pechod gwaeth nâ'u gilydd, ac er heb gerdded un cam o lwybrau ffydd Abraham; yr hon ffydd oedd berthynol, drwy y cwbl, nid i oruchwyliaeth yr *enwaediad*, ond i oruchwyliaeth arall ag oedd mewn bodoliaeth cyn hyny ar dymmor y dienwaediad, yr hon oruchwyliaeth nid oedd amgen nâ'r ffydd fawr, yr hon a roddwyd yn ffordd cyfiawnder Duw i ddyn erioed. Ni chyfiawnheid neb drwy yr *ail* drefn.

Y *drydedd* oedd cyfundrefn y ddeddf (*ho nomos*), sef yr hon a sefydlwyd ar Sina, a'r hon a gynnwysai holl osodiadau lleawl Moses i'r genedl. Cyfundrefn diriogaethol oedd hon, a'i thymmor yn fyr, wedi dechreu ar ol, ac i derfynu cyn, cyfundrefn y *ffydd*. Ni chyfiawnheid un cnawd drwy gyflawni hyd y nod pob un o'i chyfiawnderau cnawdol hithau ychwaith.

Y *bedwaredd* oedd y ffydd (*pistis*), drwy yr hon y cyfiawnhawyd pob sant, o Abel yn mlaen. Cyfiawnheid hwynt drwy faddeu eu pechodau. Maddeuid iddynt drwy ddyoddefgarwch Duw. Goddefai Duw iddynt gael y maddeuant oherwydd ei osodiad o'r Mab yn iawn. Drwy y ffydd yn ei waed ef y gosodwyd ef yn iawn, y dangosir cyfiawnder Duw yn y cyfiawnhad, ac y goddefasai Duw i faddeuant redeg o'r blaen i'r credinwyr. Os oedd Duw yn cyfiawnhau y saint cyn-bentecostaidd drwy gyfrwng grediniaeth o ryw addewidion, ac ymddiriediad ynddo am ryw bethau llai eu pwys (er nas gwyddom hyn yn sicr), etto ni faddeuir i ni, ac ni chawn y cyfiawnder dan sylw drwy un grediniaeth nac ymddiriediad, oddieithr ymddiried ein heneidiau byth ar Grist fel y Ceidwad hwnw ag a fu farw o gariad yn aberth drosom.

Y cyfiawnder hwn yw yr allwedd, a'r pedair cyfundrefn rhagnodedig yw y cloion, a'r epistol goludog hwn yw y deml a agorir drwy iawn arferiad o'r cyfryw allwedd a chloion i'r perwyl.

17 Canys *ynddi hi y dadguddir †cyfiawnder Duw ‖o ffydd i ffydd; megys y mae yn ysgrifenedig, ¶Y cyfiawn a fydd **byw trwy ffydd.

* "Yn ol yr hyn yw hi,"—Rhai. "Arni hi fel sail,"—Ereill. "Mewn canlyniad iddi hi,"—Ereill. "Trwyddi hi fel achos,"—Ereill. "Fel moddion,"—Ereill. Rhuf. 3, 21. † Cyfiawnder Duw. Gwel esboniad. ‖ Gwel esboniad. ¶ Hab. 2, 4; Ioan 3, 36; Gal. 3, 11; Phil. 3, 9; Heb. 10, 38. ** "Drwy fy ffydd i," medd Syriaeg y Polyglott, a biblau Jerom ac Eustathius. "Sydd yn byw,"—Biblau Lladin.

Dadguddir (*apocaluptetai)*, dwyn i'r goleu y pethau oedd guddiedig i'r cyfundraethau ereill.

Cyfiawnder Duw; pwnc mawr arholiadau yr epistol. Mae y fath anhawsdra i wneyd allan yr hyn a feddyliai Paul wrth *gyfiawnder Duw* yn ein testun, fel y mae y barnau o'r bron mor lliosog â'r esbonwyr. Dosparthwn hwynt, er mwyn i'r darllenydd gael gwneyd ei ddewisiad yn rhwyddach.

1. Y briodoledd o gyfiawnder yn Nuw ydyw, medd amryw.

2. Perffaith santeiddrwydd ac uniondeb nodweddiad ein Gwaredwr, yr hwn a gyfrifir i'r credinwyr, medd Chemnitz, Hoepfner, Schroeder, ac ereill.

3. Ffyddlondeb neu wirionedd Duw yn cyfranu gras yn ol addewidion yr efengyl, yw, medd Beza, Piscator, Turretin, Locke, Böhme, ac ereill.

4. Cyfiawnder dialeddol Duw ydyw, meddai Origen, Theodoret, Grotius, Wetstein, Marckius, Bretschneider, Fritsche, &c.

5. Cyfiawnder gwobrwyol, sef yr hwn sy'n cyfranu ffafr i'r rhinweddol. Felly Calovius, Storr, ac ereill.

6. Daioni Duw yw yr ystyr, medd Schoetgen, Morus, Voorst, &c.

7. Cyfiawnder mewnol, rhinwedd, neu santeiddrwydd yw, medd Ammon, Schleusner, Paulus, Schultz, Winer, Tholuck, Wahl, Glöckler, ac ereill; ond eglura rhai o honynt ef fel yn cynnwys y llwybr o gyrhaedd y cyfryw santeiddrwydd.

8. Cyfiawnder cyfiawnhaol ac achubol Duw i bechadur, medd Stuart, yr hwn sydd, debygwyf fi, yn gywir, oddiar amryw ystyriaethau, y rhai a eglurir yn y TRAETHAWD ar ddiwedd y gwaith; yr hyn sydd hefyd yr un golygiad ag a gymmeradwyir gan Luther, Wolf, Heumann, Limborch. Flatt, MacKnight, Uster, Reiche, ac amryw ereill.

O FFYDD I FFYDD *(ek pisteôs eis pistin)*. Yma etto mae na wyddis pa sawl ffordd o ddeongli.

1. Cymmerer y ddau air ynghyd, yr olaf fel gris uwch o grediniaeth na'r blaenaf; megys "o ogoniant i ogoniant" yn 2 Cor. 3, 18. [Ond nid yw y darddodiaid yno yr un ag yn ein testun.] "Nid yw yn ddigon i ni gredu unwaith, rhaid i ni esgyn i ffydd uwch eilwaith. Felly Theodoret.

2. Clement o Alexandria a ddeonglai—"Mae math o ffydd gyffredin, neu sylfaenol, fel hòno am yr hon y dywedodd ein Harglwydd, 'Dy ffydd a'th iachäodd;" a math arall o ffydd berffaith, drwy yr hon y gall dyn symudo mynyddoedd. Oherwydd hyny y gweddiai yr apostol 'Arglwydd, yr ym ni yn credu, cymhorth ein hanghrediniaeth ni.'" I'r un perwyl y cawn gan Melancthon, Beza, Calovius, Clericus, Tholuck, &c. Gwel Glassius Philol. Sacra, p. 1027.

3. "Dymunai Paul ddangos fod pob peth yn dibynu ar ffydd. Dywedai fod y cyfiawnder allan o ffydd, a'i fod yn bodoli yn unig er mwyn ffydd." Felly Bengelius, Hammond, a Stuart.

4. "Y ffydd gyntaf sydd ffydd gyffredinol yn ngwirionedd yr efengyl; yr ail, y cymhwysiad o'r unrhyw yn bersonol i'r galon." Felly Witsius a Saldoletus.

5. Y ffydd gyntaf sydd grediniaeth yn yr Hen Destament, a'r ail sydd ffydd yn y newydd. Felly Origen, Theodoret, Zegerus, ac ereill.

6. O ffydd arfaethol i ffydd drwy glywed. Awstin.

7. O ffydd drwy ddammeg yma i ffydd wyneb yn wyneb yn y nef. Bede, ac Awstin mewn manau o'i waith.

8. Tebycach mai ystyr yr ymadrodd yw, Fod cyfiawnder achubol Duw yn cael ei ddatguddio yn yr efengyl; sef ei ddatguddio megys yn tarddu allan o gyfundrefn fawr y Ffydd, ac i neb ond y Ffydd hono; sef i'r sawl sydd berthynasol â hi. Ystyr y darddodiad EK, yw *out of;* ac ystyr yr EIS yw *unto*, i; sef, nad *allan* o'r Enwaediad, nac ychwaith *allan* o'r Ddeddf, eithr *allan* o gyfundrefn Y Ffydd, drwy gredu mewn rhad faddeuwr, y datguddiasid ac y datguddir y cyfiawn-

der hwn. Ac nid yw y dyfyniad dilynol yn cyd-daro ag un ystyr arall ar yr ymadrodd—"Y cyfiawn allan (EK, *out of*) Ffydd a fydd byw;" lle cawn Paul yn dyfynu tystiolaeth Habaccuc, un o brophwydi cyfundrefn cyfammod Sina ei hun, i brofi nad drwy y Ddeddf y bydd dyn byw, ond drwy y gyfundrefn a goleddai ac a bregethai yr apostol dros Grist. Gan y dylai pob deongliad osod ein Hawdwr yn gall ymresymydd, tebygwyf mai hwn yn unig a oddefa yr adnod.

Gwelwn nad oedd neb ond y cyfiawn, neu dduwiol, yn cael byw drwy ein cyfundrefn hon, dan y prophwydi.

---

## § 4. DRYGIONUS PHILOSOPHI Y CENEDLOEDD YN CAEL EI GOSPI YN GYFIAWN. PEN. I, 18—23.

PROFIR yma na allai fod y cyfiawnder mewn dadl yn ddadguddiedig gan y naill na'r llall o gynlluniau philosophaidd y Cenedloedd, ofewn na'r Aifft, na Babilon, na Groeg, na Rhufain, nac un man, onide na buasai digofaint Duw wedi ei ddadguddio yn eu herbyn fel y bu (adn. 18). Ac yn ail, bod eu cyfundraethau yn dallu eu llygaid rhag canfod gallu Duw yn ei waith (adn. 20), yn eu dyrchafu mewn balchder rhag ei ogoneddu, a'u serio mewn anystyriaeth rhag ei gydnabod am ei ragluniaeth (adn. 21). A gorphena yr apostol gyda chyfeiriad at holl ynfydrwydd y cyfundraethau yn eu delwaddoliaeth, yr hyn oedd yn sicr o alw pob athronydd yn yr oes hono i'r un penderfyniad ag yntau, heb son am Iuddewon a Christionogion; canys nid oedd philosophyddion y tymmor dan sylw yn gallu llai nâ chwerthin am ben athroniaeth y delwyddiaeth.

Yr *ymresymiad* yw,—Os gwir hyn oll, nis gall *y cyfiawnder* sydd o'r Duw mawr fod yn ddadguddiedig drwy un o'r holl gyfundraethau cenedlig.

18 *Canys digofaint Duw a ddadguddiwyd o'r nef †yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion, y rhai sydd ‡yn attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder.

* "Cosp Duw," medd rhai. Act. 17, 30; Eph. 5, 6; Col. 3, 6. † "Ar bob annuwioldeb, &c.,"—Rhai. ‡ "Yn dal y gwirionedd,"—Y Bibl Saes., Belsham, &c. "Gwirionedd Cristionogol,"—Rhai. "Gwirionedd llyfr natur,"—Tholuck. "Gwirionedd traddodiad,"—Ammon. "Gwirionedd yn y gydwybod,"—Ereill. "Gwirionedd Duw," yw y Bibl Armenaeg, Vulgate, un Morgan, a rhai Llad. ereill. "Trwy anghyfiawnder,"—Stuart. ‡ "Dala'r gwirionedd yn anghyfiawn,"—Reiche.

Mae yn wir fod yr apostol, fel y deongla Tholuck ac ereill, yn arddangos fod y cenedloedd mewn anghen am gyfiawnder yr efengyl; ond pa fodd y gallai hyny fod yn amcan ganddo, ar ol gosod i lawr ei destun fel y gwnaeth yn adn. 17, nis gallaf ddeall.

DIGOFAINT DUW (*orge theos)* sydd yr un peth, medd Tholuck, â'r "cyfiawn farn Duw" yn pen. 2, 5: ond tebycach yw fod pob un o'r ddau air yn sefyll am eu hystyr gyffredin. "Digofaint Duw," meddai Damien *(Orthod, fidei)* "yw y berthynas hono sydd rhyngddo â phechod, yn rhinwedd yr hon y mae efe yn ei adael, can belled ag y saif yn ei erbyn Ef ei hun, iddo ei hunan, drwy yr hyn y daw efe yn y diwedd yn ysglyfaeth sicr i drueni." Mae y rhoddi hyn i fyny o greadur, gan ei fod yn cynnyrchu trueni, yn ei natur yn gosp. O ganlyniad, deonglid ORGE, digofaint, yn nghanrifoedd cyntaf Cred,

yn gyfystyr â COLASIS, cosp. Gwel Siucer *ar y gair. Anfoddlonrwydd* Duw, medd Stuart, er mwyn arferyd gair meddalach. Fod yr ymadrodd yn ol dull dynol, nid amheuir gan neb, efallai, ag sydd yn meddu drychfeddwl ystyriol am y Bod Mawr.

Yr ydym yn arfer methu cyssylltu y dyb o berffeithrwydd hollol, gyda'r dyb am ddigofaint tebyg i'n digofaint ni ddynion; canys y mae digofaint gyda ni yn ffynnonell trueni yn gystal â phechod. I'r naill mwy na'r llall o'r effeithiau hyn o'r nwyd ni allwn feddwl fod y Bod dwyfol yn agored. Ei *lid* Ef, gan hyny, ni all fod yn ddim ond y teimlad hwnw o serch ynddo Ef, ag sydd yn ei annog i edrych ar bechod gydag anfoddlonrwydd, ac i'w gospi pan yn gyssylltiedig barhaus ag anedifeirwch. Ni wiw i ni, hyd y nod yn ein dychymmyg, gyssylltu y teimlad dwyfol hwn â *dialgarwch*, yn enwedig y teimlad drwg-anwydog a elwir pan ynom ni ddynion, yn *revenge*. Eithr, dïal, hyd y nod yn mysg dynion, ni osodir ar waith ond anaml yn erbyn y rhai fo'n hollol egwan i ddylanwadu ar ein hamcanion. Yn awr, gan fod pob dyn, a'r holl greadigaeth, yn annalluog i beryglu cymmaint ag un o bethau mawr dybenion Duw, ni allwn feddwl am un annogiad iddo fod yn ddïalgar, ar dir dial cyffredin. Llawer llai y gallwn dybied achlysur o'r fath i ddygwydd, pan fyfyriom fod Duw yn anfeidrol mewn doethineb, gallu, a *daioni*. Mae hyn yn ein harwain i ddeongli ymadroddion o'r fath hyn yn ol dull dynol; sef, fod Duw ynddynt yn llafaru yn ol dull dynion. Byddai yn llawn cystal (ïe, yn well) i ddeongli y geiriau sy'n priodoli dwylaw, traed, a llygaid, i Dduw, yn llythyrenol; ag a fyddai deongli y geiriau *llid, digofaint, a dial,* yn llythyrenol am dano Ef. Os deonglwn y Bibl felly, byddwn yn dangos Duw fel Bod drwg-anwydol, ac yn ei restru yn mysg y demoniaid; tra wrth briodoli iddo ddwylaw a llygaid, ni restrem mohono ond yn unig yn mysg dynion.

Gwna y Geiriaduron ORGE THEON, digofaint Duw, i arwyddocau *cospedigaeth*. Drwy ganlyniad, mae yn wir, ystyrir hyny. Ond y mae Duw yn anfoddlon beunydd wrth yr annuwiol. Ac y mae *digofaint* Duw yn ymadrodd mwy ofnadwy na *chospedigaeth;* ac i'w ystyried fel anfoddlonrwydd trwyadl y Bod anfeidrol, fel y mae efe yn llywodraethwr y bydoedd; ac yn llawnach o ystyr frawychus felly na phe rhoddir i'r gair yr ystyr yn unig o *gosp*, ar ol cynnifer o Eiriaduron a Beirniaid.

DADGUDDIWYD *(apocalupto)*. "Ai dros fod Duw wedi *dadguddio* ei gyfiawnder drwy eich philosophi, y taerwch?" fel pe dywedasai Paul. "Os dadguddiodd Duw un peth mewn cyssylltiad â'ch athroniaethau a'u canlyniadau annuwiol, dadguddiad o'i lid a wnaeth efe." Na, na! drwy gyfundrefn y FFYDD yn unig y dadguddiodd efe y cyfiawnder mewn dadl.

O'R NEF. Dyryswch esbonwyr yw hwn etto. "Ai dadguddiwyd o'r nef," ynte "digofaint Duw y nefoedd a ddadguddiwyd," yw yr ystyr, ynte rhywbeth arall? Y dull blaenaf o ddeongli a gofleidiodd o'r bron yr holl esbonwyr, er eu bod yn mawr wahaniaethu ynghylch y gair "o'r nef." Rhestrwn hwynt fel hyn:—

1. Dadgana y *nefoedd* ogoniant Duw, ac arweiniant hwynt yn

naturiol at ei addoliad, ac o ganlyniad rhybyddiant hwynt i adael pechod. Dyna ddeongliad rhai.

2. Dadgana tymhestl, cenllysg, taranau, mellt, &c., *o'r nef*, ddigofaint Duw yn erbyn pechod. Felly ereill, megys Morgan, Zegerus, a Buddeus.

3. Crist a ddadguddir *o'r nef* y dydd diweddaf, i gospi pechod; felly Chrysostom, Theodoret, Theophylact, a Limborch.

4. Tystia y barnau a ddeuant oddiwrth Dduw, yr hwn sydd yn y nef, yn erbyn pechod: felly Origen, Cyril, Beza, Calvin, Bengel, &c.

5. Mewn canlyniad i ordeiniad y Nef, tystir dros anfoddlonrwydd Duw at bechod gan bob cydwybod. Bugenhagen, Wolf, &c.

6. Mae anfoddlonrwydd Duw yn erbyn pechod yn cael ei ddadguddio drwy ordeiniad dwyfol, neu drefniad y Bod Goruchaf. Dros y ddau olaf mae Stuart.

Eithr nid yw pob peth anhyfryd yn ddadguddiad o ddigofaint Duw. Pa fodd y gallai Pagan feddwl, na neb yn wir, fod taranau a mellt, a chenllysg, yn arwyddion o ddigofaint Duw? Rhaid i Dduw ei hun anfon prophwyd i'n hysbysu, cyn y gallem wybod fod tymhestl o'r fath yn gosp am bechod, nac yn brawf o fod y Goruchaf yn ddig. Gwir yw, fod y paganiaid yn tybied fod Duw, sef eu duwiau eu hunain, yn ddig ar y fath achlysuron; eithr tystio fod ei Dduw ef wedi dadguddio ei ddigofaint y mae Paul. Tebycach genyf fi yw, mai cyfeirio at y diluw, dinystr Sodom, yr Aifft, &c., pa bethau oeddynt eglur farnau Duw, y mae Paul yn ein testun.

Annuwioldeb *(asebeia)*, anufydd-dod ac anmharch i Dduw.

Anghyfiawnder *(adikia)*, annhegwch at ddynion. Yr ymresymiad yw:—Pe buasai y cyfiawnder mewn dadl gan y paganiaid, buasent yn gyfiawnion; eithr croes hollol fuont, canys am eu drygioni y cospodd Duw hwynt.

Gwirionedd. Beth yw ystyr y gair hwn? Attal lledaeniad yr efengyl, medd rhai. Attal i'w lle teilwng y traddodiadau a ddisgynasent i wared o Noah, Abraham, &c., medd ereill, megys Ammon. Gwirionedd Duw yn y gydwybod, medd Chrysostom ac Awstin. Eithr diogelach yw dilyn Tholuck a Stuart, gan ystyried y *gwirionedd* dan sylw yn wersi creadigaeth, y rhai y dywed adn. 19, fod Duw yn ddysgu iddynt. Eithr pan lefarai doethineb, neu allu, neu ddaioni creadigaeth wrth y cenedloedd, rhwystrant hwythau eu llais, drwy eu pechodau. Ni chlyw dyn ddim yn y byd lle bo llef chwant yn uchel, yn enwedig un llais fo'n groes i'w hawdurdod hi.

19 Oherwydd yr hyn a ellir ei wybod am Dduw, sydd eglur ynddynt hwy: canys *Duw a'i heglurodd iddynt.

* "Iddynt hwy,"—Biblau Florus ac Awstin. "Yn eu mysg hwynt,"—Belsham, Barnes, Conquest, Theophylact, Erasmus. "Yn eu cydwybodau hwynt,"—Reiche, Tholuck. "Iddynt,"—Walford, Hodge. Ioan 1, 9.

Yr hyn a ellir ei wybod am Dduw gan ereill, drwy ystyried y pethau a wnaeth, a allesid ei wybod yr un modd ganddynt hwythau â chan yr Iuddewon a'r Cristionogion, y rhai ynt yn darllen y gwersi hyny yn barhaus.

YNDDYNT HWY *(en autois)*; yn eu mysg hwynt, medd Theophylact ac Erasmus, gan gyfeirio at yr ychydig baganiaid a gyrhaeddasent olygiadau uwch nâ'r cyffredin am Dduw a'i bethau. Eithr, gan fod yr apóstol yn cyfeirio at euogrwydd cyffredinol, ni allai efe gyhuddo pawb, oddieithr ddarfod i'r rhai mwyaf gwybodus roddi pob cynnygiad uniawn o'r goleuni i'r lleill. Ond, gwyddom nad felly y bu, canys yr oedd yn egwyddor o'r rhan fwyaf o'u cyfundraethau, nad oedd y werin i gael gwybod dirgeledigaethau y gyfundrefn.

HEGLURODD *(ephanerothe)*, *made apparent*, a wnaeth yn eglur ac amlwg. Hwn yw y gair arferedig am *amlygiad* Crist o'i ogoniant drwy ei wyrthiau; am *eglurhad* o fwriadau dynion yn y farn; am *eglurhad* pregethol Paul o ddirgelwch Crist; ac am *eglurhad* Crist o enw Duw i'w ddyscyblion. Ioan 2, 11; 1 Cor. 4, 5; 2 Cor. 2, 14; Col. 4. 4; Tit. 1, 3; Ioan 17, 6. Gair arall a arferir bob amser am egluriadau ysbrydoledig a gwyrthiol. Gwelwn yma, bellach, fod gallu Duw mor eglur ar ddalenau creadigaeth i'w ddarllen, ag oedd trefn iechydwriaeth yn mhregethau ac epistolau Paul. Gan mai am eglurhad gerbron llygaid a synwyrau corfforol ereill yr arferir y gair yn gyffredin, anhawdd tybied mai at eglurhad mewnol yn y gydwybod y gall fod y cyfeiriad yn ein testun; er fod Tholuck a Reiche yn deongli felly. Stuart sydd o'r ochr arall.

20 Canys *ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, †a welir yn amlwg, sef ei dragwyddol allu ef ‡a'i Dduwdod, hyd onid ydynt yn ddiesgus.

* "Ei weledig bethau," medd rhai biblau Groeg. Salm 19, 1, 2; Act. 14, 17; a 17, 27. "Trwy greadigaeth y byd,"—Amryw. † "Ddeallir yn eglur,"—Rhai. "Tragwyddol,"—Nid yw mewn rhai biblau Groeg. ‡ "A'i ddwyfol natur,"—Amryw. "Ei briodoliaethau,"—Tholuck. "Ei ragluniaeth,"—Belsham, a Lindsey. "Fel y byddent oll yn ddiesgus,"—Rhai. "Ydynt oll," yw y Bibl Armenaeg.

CANYS, o gadarnhad i'r hyn sy'n yr adnod flaenorol.

ANWELEDIG BETHAU *(ta aorata)*. Arferir am anweledig bethau creadigaeth; ac am y briodoledd o anweledigrwydd yn Nuw; Col. 1, 15, 16; 1 Tim. 1, 17; Heb. 11, 27. Cyfeiria yma at y perffeithiau anweledig hyny yn y Bod Dwyfol, ag ydynt anweledig; oherwydd nad ydynt yn wrthrychau sylw corfforol; hyny yw, y maent heb eu dadguddio i'n synwyrau corfforol. Perthynol i Dduw fel *Ysbryd* ydynt. O, leied a wyddom etto am dano Ef!

ER CREADIGAETH Y BYD, *since*, er yr amser hwnw; er y dywed rhai "drwy y moddion o greadigaeth y byd;" eithr y mae'r pwnc hwn yn yr ymadroddion dilynol. Dywedyd mae'r ysgrifenydd, fod tragywyddol allu a Duwdod y Creawdwr yn amlwg er amser creadigaeth y byd, i'r meddwl ystyriol; yr hyn a raid fod mor wir â'r ffaith o'u bod yn amlwg felly yn awr.

YSTYRIED: mewn geiriau ereill, mae anweledig berffeithiau Duw, o leiaf rai o honynt, yn cael eu gosod fel yn amlwg; hyny yw, y maent yn wrthddrychau i'w canfod drwy ystyried, oddiar fyfyriad ar y greadigaeth naturiol. Felly y meddyliai Dafydd. Salm 19. 1, 2.

Ac os yw yn gofyn "ystyried" y pethau a wnaed cyn y deuwn i ganfod y gallu a'r Duwdod, ai gormod yw cymmaint â hyny tuagat gwblhau amcan mawr ein creadigaeth ein hunain?

Duwdod *(Theiotēs)*, y swm o'r dwyfol briodoliaethau, ac nid yr hyn a ystyriwn yw Duw yn ei natur ysbrydol, medd Tholuck; canys dywed mai y gair *Theotes* a arferid am Dduw yn yr ystyr ddiweddaf a nodwyd. Eithr metha Stuart â chyd-weled ag ef y gwahaniaeth. Passow, y geiriadurwr dysgedig diweddaraf, a ddywed mai ystyr gair ein testun yw *divinity, divine nature (Göttlichkeit, göttliche Natur)*; sef y natur ddwyfol: ac yna ychwanega—"sef, yn neillduol, dwyfol fawredd, gallu, perffeithrwydd, &c." Os yw y gair *Duwdod* hwn yn arwyddocâu y corfforolrwydd o'r holl berffeithiau dwyfol, rhaid fod cymmaint â hyny o Dduw "i'w weled yn amlwg" yn ngwaith y greadigaeth: eithr pell iawn wyf fi o allu dywedyd fod llyfr creadigaeth, hyd y nod o'i ddarllen yn fanwl ac uniawn, yn amlygu nemawr o'r perffeithiau dwyfol yn ymyl yr hyn a amlygwyd yn Eden, nâ'r hyn a amlygwyd yno yn gymmaint ag a amlygwyd i Abraham, nâ'r hyn a amlygwyd iddo ef gymmaint ag a amlygwyd i Moses, nâ'r hyn a amlygwyd i Moses eilwaith gymmaint ag a amlygwyd drwy Grist Iesu, nâ'r hyn a amlygwyd drwyddo ef yn ei ddarostyngiad, yn cynnwys cymmaint o ddirgelion perffeithiau Duw ag a amlygwyd ganddo ar ol ei ddyrchfiad, drwy ei apostolion ysbrydoledig. Ac nid wyf fi etto yn dysgwyl dim llai nâ goruchwyliaeth fyrdd o weithiau llawnach o Dduw, i ehedeg i'w gororau y fynyd yr elwyf yn rhydd o'm corff cleilyd, a rhwystrawg, a daearol. A phan gaf ef yn ol mewn nerth a gogoniant newyddol, dysgwyl yr wyf y gallaf ddala ychwaneg o'm Duw daionus nag o'r blaen; ïe, ac y caf dderbyn ychwaneg o amlygiadau o hono ef hefyd; a derbyn, a derbyn, a derbyn yn ddiddiwedd; a'r oll drwy y gwr a fu farw drosof. Mae pob ystyriaeth, gan hyny, yn arddangos mai Duw *o ran ei fodoliaeth*, ac nid ei holl briodoliaethau, a olygir yn y gair *Duwdod* yn ein testun.

Yn ddiesgus am attal, drwy eu drygionus gynlluniau ac ymarweddiad, y gwirionedd a ddarllenant, neu a allasent ddarllen am allu Duw ar lyfr creadigaeth.

21 Oblegid a hwy *yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megys Duw, ac ni buont ddiolchgar iddo; eithr †ofer fuont yn eu rhesymau, a'u calon ‡anneallus hwy a dywyllwyd.

* "Yn meddu cyfleusdra i adnabod Duw,"—Rhai. † "Ynfyd,"—Rhai.
‡ "Anystyriol,"—Rhai. "Ddrygionus,"—Ereill. "Annirnadus,"—Amryw.

Oblegid, yn nechreu adnod 21 sydd rag-arweiniol i'r ffaith o'u bod yn ddiesgus, tra mae yr "oherwydd," am yr hwn y mae yr un gair Groeg ag am y llall—yn rhagarweiniol i'r rheswm paham yr attaliai y cenedloedd y gwirionedd.

Adnabod yn yr adnod hon sydd gydrywiol a'r *gwybod* yn adn. 19. Canys os oedd yr hyn a ellir ei wybod am Dduw yn eglur i'r paganiaid, yn ol adn. 19, rhaid eu bod yn adnabod Duw, yn ol adn. 21.

Dengys yr apostol yn gyntaf, pa fodd y daethent i goleddu tybiau annheilwng, ac ar ol hyny yn naturiol, i wneuthur lluniau annheilwng, o'r Duwdod. Attalient y dangosiadau gwirioneddol a ganfyddent o Dduw yn ei waith, ac yna disgynent iw arddangos ar ffurf eilunod gwaelach nag hyd y nod hwy eu hunain. Eu bai yn hyn oedd ddyblyg, fel y dywed Thomas Aquinas. Mae y camwedd a fyddo yn tarddu oddiar anwybodaeth yn cael ei esgusodi; eithr try yn ddwbl yn ei ysgelerder pan fyddo yr anwybodaeth sydd yn ei achlysuro hefyd yn euogrwydd; megys y cyflawna efe ysgelerder dyblyg, yr hwn yn gyntaf a feddwa, ac yna a gyflawna lofruddiaeth.

NIS GOGONEDDASANT, &c. *Gogoneddu* Duw (medd Melancthon yn dra chywir), yw ei gyfaddef yn uniondeb ei ddwyfol berffeithderau, ac yna, er mwyn y cyfryw degwch ynddo, ei garu, ei addoli, a'i anrhydeddu. Bod yn *ddiolchgar* iddo yw cyffesu fod Duw yn amlygu y perffeithderau hyn yn llywyddiad y byd. Yn awr, cán belled ag y camgymmerai dynion y dyledswyddau naturiol hyn, pa rai a ymgyfodent oddiar eu perthynas â Duw, yr oedd y gwrthwyneb iddynt yn ennill lle; ffurfient dybiau cyfeiliornus am ei natur anweledig Ef.

RHESYMAU *(dialogismai), thoughts, reasonings, or disputations;* dyfeisiau, neu ymresymiadau; y cyntaf yn hytrach.

22 *Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid;

* "Pan ddywedent,"—Biblau Lladin. Jer. 10, 14. "Pan broffesent,"—Conquest, Belsham, Walford, Hodge.

PAN DYBIENT. Pan broffesent eu hunain yn ddoethion, &c. Mae ymffrost y philosophyddion paganaidd yn eu doethineb, yn ddigon adnabyddus.

23 Ac a newidiasant *ogoniant yr anllygredig Dduw, i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwarcarnol, ac ymlusgiaid.

* "Mawrigrwydd ac ardderchogrwydd, &c.,"—Stuart, Tholuck. "Y Duw gogoneddus,"—Hodge, &c. Deut. 4, 16; Salm 106, 20; Esay 40, 18, 26; Jer. 2, 11; Ezec. 8, 10; Act. 17, 29.

Mae rhestr pechodau y cenedloedd yn hirfaith gan yr apostol.

Troi gogoniant Duw i lun dyn ac anifail. Y bai cyntaf yn eu herbyn oedd peidio ceisio a chael Duw; yr ail, oedd peidio a gwneyd hyny, pan yn cael eu cynnysgaethu â'r cyfleusderau amlwg a nodwyd i'r perwyl: y trydydd, oedd methu tra yn galw eu hunain yn ddoethion ar yr un pryd; a'r pedwerydd, oedd nid yn unig peidio â'i gael ef, ond iselu ei addoliad nes ei gyflwyno i gythreul, a phren, a maen. Y wybodaeth ddylasai fod ganddynt am yr hwn sydd uwch cymhariaeth y gogoneddusaf o bawb, a drosglwyddasant i bethau oedd tuhwnt cymhariaeth y mwyaf gwarthus.

Amcan yr apostol yma yw dangos allan anfeidrol bellder Duw oddi-

wrth bob peth creuedig; ac am hyny y dug allan y gymhariaeth o "anllygredig Dduw" a "dyn llygredig." Ystyr y gair "gogoniant Duw" yn yr Hen Destament gan amlaf yw amlygiad o fodoliaeth Duw, ac yn fwyaf neillduol ei fawredd a'i allu. Y cyfryw oedd ynfydrwydd cyfundraethau philosophaidd y paganiaid. Mae y gosodiad yn amlwg brofedig, nad oedd dim tebyg i'r cyfiawnder mewn dadl i'w gael yn mysg y fath ddynion, nac yn ddatguddiedig trwy y fath gynlluniau ynfyd ac aflan â'r rhai hyn.

---

## § 4. Fod arferion y paganiaid yn eu profi yn hollol amddifaid o'r cyfiawnder dan sylw. Pen. i, 24—32.

Darlunia Paul yn y ddosran hon, i'r byw, erchyll ysgelerder y paganiaid. Mae hyn yn anhebgorol i'w amcan, yr hyn yw profi eu hamddifadrwydd o'r cyfiawnder mewn dadl; ac y mae y pwnc o'u hanghen am Geidwad cyfundrefn fawr y *ffydd* yn cael ei brofi ar yr un pryd. Etto y mae efe yn darlunio eu llygredigaeth bucheddol fel effaith neu ganlyniad o farn ddwyfol, am eu gwaith yn gwrthod profion eglur creadigaeth o'i fodoliaeth ef, a'u perthynas eu hunain ag ef, a dewis, mewn dilyniad o hyny, eilunod yn ei le.

Tybia'r apostol, yn hollol gydunol ag athroniaeth pethau, na allai dwyfoli natur gymmeryd lle ond yn nghanol diffyg mawr yn y teimlad moesol a chrefyddol. Ar y llaw arall, yr oedd yn anhebgorol, pa le bynag y buasai addoli y creadur wedi ei sefydlu, i'r teimladau moesol, hyd y nod o'r mebyd i fyny, gael eu gwanhau, ac yn y diwedd eu gwisgo ymaith yn hollol, ar ol yr hyn yr oedd yn naturiol dysgwyl i anfoesoldeb ymgyfodi. A gellir yn hawdd ddirnad rhesymoldeb gwaith y Creawdwr yn ei farn arnynt. Iselasid ef nid yn unig islaw yr hyn sydd ddwyfol, ond hyd y nod islaw urddas dynol, drwy gael ei arddelwi ar lun anifail. O ganlyniad, trwy ddirgel ddeddfau achos ac effaith, daeth y pagan ei hun o'r diwedd i lawr islaw ei urddas ei hun, ac hyd y nod islaw urddas yr anifail. Y gwahaniaeth mawr rhwng dyn a'r creaduriaid daearol ereill yw ei reswm. Eithr derfydd y gwahaniaeth hwn ag ymddangos y fynyd y dechreua y tueddiadau pechadurus lywodraethu; y deall sy'n myned yn isel yn nesaf; ac yna y mae y dyn ar yr un tir â'r anifail yn mhob ystyr. Ie, trwy rai pechodau annaturiol, gwrthwynebus i hyd y nod anian yr anifail ei hun, efe a ymlithrodd ar risiau bodoliaeth hyd y nod yn îs nag ef. Pwy nis gwyr fod yn mysg pob ffurf yn mron, o baganiaeth, anmhurdeb yn wasanaeth, naill ai gorchymynol ai caniataol, yn eu dyledswyddau crefyddol? Tystied deddf echryslon y Babiloniaid, yr hon a orfodai bob benyw i ymhalogi unwaith, o leiaf, gerbron delw eu Venus. Ac nid oes raid hysbysu fod addolwyr Venus Groeg a Rhufain yn cyflawni y fath ffieidd-dra; neu, fod *dirgelion* paganiaeth, y rhai oeddynt, fel y dywed Paul, yn gywilydd hyd y nod i'w hadrodd, yn caniatâu mwy etto o halogedigaeth. A phwy nas gwyr am ddefodau aflan a gwaedlyd Hindwstan, Môr y Deau, ynysoedd Sandwich, ac Asia yn gyffredinol? Aml-dduwiaeth ac eilun-addoliaeth ydynt wedi bod, bron bob amser, yn grefydd o ffieidd-dra a gwaed. Hyn y mae ein hapostol yn ei eglur ddangos, ac y mae holl hanes pagan-grefyddau yn profi ei eirwiredd.

24 *O ba herwydd Duw hefyd a'u rhoddes hwy i fyny, yn nhrachwantau eu calonau, §i anmherchi eu cyrff eu hun yn eu plith eu hunain:

* Salm 81, 12; Act. 7, 42; Eph. 4, 18, 19. "Traddododd,"—Groeg. "Trwy drachwantau,"—Tholuck, Conquest, ac ereill. § "Fel yr anmherchid,"—Belsham. "I'w gilydd,"—Rhai.

RHODDES I FYNY *(paredoke)*, *gave up*, *gave over;* hyny yw, gadawodd iddynt ddilyn eu hewyllysiau eu hunain. heb eu hattal drwy y cyfryw foddion ag a arfera efe yn gyffredin at bechaduriaid celyd a gwrthnysig. Nid yw yn cynnwys *gorfodiad* na *chaniatad;* canys nid yw yr ymadrodd yn dywedyd ddarfod iddo ganiatâu dim iddynt mewn ffordd o ddadguddiad, na gwneuthur dim iddynt yn nhroellau ei ragluniaeth, eithr eu *traddodi*; canys dyna ystyr y gair. Myn Stuart mai cadw oddiwrthynt ei râs attaliol, yw yr ystyr. Eithr, er nad wyf fi yn gallu profi fod y cyfryw râs yn attal dynion i bechu, heb yn wybod iddynt; nac yn wir, yn gallu dirnad pa les moesol a wnelai; nac yn gweled olion nac effaith y fath gyfundrefn mewn byd lle mae pawb, am a wn, yn cael gwneuthur y drygau gwaethaf. os mynant; etto, meddwl yr wyf fod dylanwadau dwyfol yn ymosod ar y meddwl annuwiol. Eithr pell wyf o feddwl fod yn hyny etto ddim yn ei attal, oddieithr drwy genad ei ewyllys. Canys os oes grâs attaliol diarwybod yn gweithio, rhaid ei fod o râs; ac os o râs, y mae yn bwnc gweddi. Eithr, pwy o'r apostolion a gawn yn gweddio am râs i'w hattal i bechu heb iddynt wybod; a phan y mynent hwy fod yn ddrwg, am i Dduw o'i râs attaliol beri iddynt heb yn wybod iddynt eu hunain, fod yn dda? Ond, a gawn ynte, medd rhywun, ddim gweddio am râs attaliol i hwn a hwn; os nad i ni ein hunain? Yr wyf yn ammau hyny etto. Ceir gweddio am i Dduw droi cynghor Ahitophel yn ffolineb, a dwyn iachawdwriaeth i'r byd drwy lofruddiad Crist, ond nid gofyn i Dduw attal pechod heb un moddion moesol i hyny. Dyma yw hi yn awr, dan y Testament Newydd. Ar y dyb groes i hon, gellid eistedd i lawr, a gweddio am achubiaeth y paganiaid Chineaidd, er enghraifft, neu o leiaf. am attaliad ar eu creulonderau. Tybied yr wyf fi y buasai naill ai yr efengyl o foddion, ai cyfundrefn o râs attaliol yn ddigon; y buasai y ddwy dan yr un oruchwyliaeth, yn croesi eu gilydd. Etto, mewn amgylchiad lle bo pob moddion *wedi* eu harferyd, a phob ymddibyniad taer am fendith arnynt ar waith ar yr un pryd, a'r drwg yn ymruthro er mawr niwed i grefydd, nid wyf yn gweled nad oes drws yna i weddio am ddeffroad grâs attaliol; ïe, gwn am weddiau a'i cafodd.

Ond, am *roi dyn i fyny*. neu y *traddodi* yn ein testun. Hwn yw y gair arferedig am draddodiad Crist gan Judas. gan Pilat, a chan yr Iuddewon. Ei ystyr wreiddiol yw. *to deliver over into the power of any one*, traddodi i awdurdod neu i feddiant rhywun. Gwir yw, yr arferir am draddodi dynion drosodd i ddyoddef rhywbeth, megys *rhoi i fyny, caniatâu.* Arferir ddwywaith yn yr un ystyr ag yn ein testun; sef yn Eph. 4, 19, "Y rhai, wedi myned hwnt pob teimlad, a draddodasant eu hunain i drythyllwch;" ac Act. 7, 42, am Dduw yn troi ei gefn ar Israel, gan eu rhoddi i fyny i addoli llu y nef." Gan na arferwyd pob moddion galluadwy at y cenedloedd yn mhob oes, rhaid fod Duw yn eu hystyried, bob cenedl ynglyn â'u tadau, yn debyg i ammodau cyfammod Sina; ac ar ol eu cynnysgaethu unwaith â chywir wybodaeth, ei fod yn eu gadael i ymlwybro fel y mynent. A dengys yr hanes mai felly y bu. Eithr nid felly y mae pethau yn awr, yn ngoruchwyliaeth Iesu Grist. Nid oes un genedl wedi ei thraddodi

felly yn awr. Maent oll yn santaidd, neu gysegredig mewn *charter* i'r Mab. Dichon fod yr Iuddewon fel cenedl felly, hefyd; ond nid ydwyf sicr cyn olrhain rhagor. Efallai y cawn wybod gan pen. 11 o'n hepistol. Eithr am *bersonau* ein hoes ni, ammheuais gymhwysiad y *traddodi* hwn. Ar ol ffyddlondeb eglwys a gweinidogion Duw, a pherthynasau crefyddol, os cau ei glust a wna y pechadur rhag y moddion, nid oes fodd ei achub, o fewn addewidion yr oruchwyliaeth hon, nad faint ei goludoedd. Pa un a oes traddodi dyn i fyny i'r chwant hòno fo yn dygwydd ei lywodraethu, a'i adael i ymglymu yn ei rhwyd hi hyd angeu, i'w fwrw yn ei glymau gwirfoddol hyny i'r anobeith-wlad bell, ai peidio, nis gwn. Meddwl yr wyf y fod! Meddwl yr wyf nad oes dim gobaith i un hen wrandawwr caled oddiwrth ddim ond dylanwadau cryfach nag a dderbyniodd o'r blaen, nac am y rhei'ny heb lafur a gweddiau dwysach o rywle, nag a fu yn ei gylch hyd yma. A oes tebygrwydd am dyfiant y cyfryw o ryw fynwes—ei orchwyl ef yw mynu gwybod hyny. Bydd efe yn mhen amser bach wedi rhoi naid i le na bydd un gwahaniaeth yn y byd, hyd y nod i'r hon a'i hymddug, pa beth a ddaw o hono yn dragywydd! Yn *awr* y mae yn bodoli y perthynasau hyny sy'n cadw pechaduriaid i deimlo dros eu gilydd. A oes un o'm darllenwyr i wedi eu rhoi i fyny, ys gwn? A oes un o'i berthynasau? O sefyllfa dlawd; enaid anfarwol wedi ei draddodi i awdurdod a meddiant chwant! Goruchwyliaeth drom yw goruchwyliaeth y Traddodi! Mae arwyddion fod mwy o'i dyscyblion wrth fwrdd yr Arglwydd, nag yn un man arall o'r addoldy! O leiaf, dyna mae y gweinidogion mwyaf llygadgraff yn ei gwyno. O, fy narllenydd anwyl; meddwl dros fynyd, beth os tydi dy hun yw yr ysbryd sydd wedi ei draddodi i'w chwant! Onid oes arswyd enaid digonol i attal ffrydlif y gwaed a'r anadl yn y fath ystyriaeth!

Yn eu chwantau yw y Groeg. yr hyn a ddeonglir gan Stuart, "Duw a'u rhoddes hwynt i fyny [gan eu bod] yn eu chwantau," ac y mae digon o enghreifftiau o'r cyfryw arferiad i'r gair bach *yn;* fel *yn* o ammod. "I'w chwantau," medd Tholuck. "Trwy eu chwantau," medd ereill; ac y mae modd peri i'r ymadrodd *oddef* pob un o'r deongliadau. Ond gwell yw myned drwy ymadrodd heb ei orfodi i *oddef.* "O ba herwydd, Duw, yn nhrachwantau eu calonau, a'u rhoddes hwynt i fyny i aflendid. &c., &c." Coleddasent drachwant cyn i Dduw eu rhoi i fyny, ond ar ol eu traddodiad yr aethent mòr aflan.

25 Y rhai a newidiasant *wirionedd Duw yn gelwydd, ac a ‡addolasant ac a §wasanaethasant y creadur ||yn fwy nâ'r Creawdwr, yr hwn sydd ¶fendigedig yn dragwyddol. Amen.

* "Y gwir yn gau Dduw,"—Belsham, Barnes. "Y gwir Dduw,"—Rhai. "Gwir natur Duw,"—Ereill. "Y gwir Dduw yn rhai gau,"—Conquest. "Y gwir am y gau Dduw,"—Stuart. "Yn eilun,"—Rhai. "Yn ddychymmyg,"—Ereill. Esay 44, 20; Jer. 10. 14; a 13, 25; Amos 2, 4. "Y gwir addoliad am y gau,"—Ereill. 1 Thes. 1, 9; 1 Ioan 5, 20. ‡ "A fewnol addolasant,"—Groeg. § "Allanol addolasant,"—Groeg. "Y pethau creuedig,"—Stuart. || "Yn hytrach na"—Groeg.

¶ "Dduw bendigedig,"—Biblau rhai o'r tadau Lladinaidd. "Deilwng o foliant,"—Amryw. Nid yw yr "Amen" yn rhai o'r biblau Lladin.

Ailadroddiad o'r hyn a gafwyd yn adn. 23. "Y gwir Dduw am y gau," medd Stuart. Eithr gall "gwirionedd Duw" sefyll am wir natur Duw. "Celwydd" fyddai felly y natur a ddychymygwyd iddo.

Y CREADUR (*te ktisei*) *created things;* pethau creuedig.

YN FWY NA. "Yn hytrach na" yw yr ystyr; canys y mae y cyfieithad cyffredin yn caniatâu ddaifod i'r Creawdwr gael addoliad o ryw fath gan y paganiaid, yr hyn sydd anghywir.

26 Oblegid hyn y rhoddes *Duw hwynt i fyny i wyniau gwarthus; canys eu gwragedd hwynt a newidiasant yr †arfer anianol i'r hon sydd yn erbyn anian:

* Gadewir y gair *Duw* allan o'r biblau Syriaeg. Lef. 18, 22, 23; Eph. 5, 12; Judas 10. † *Usus vereneus,*—Lladin. "Sydd yn erbyn arferiad anianol,"—Rhai hen fiblau Groeg, Vulgate, ac amryw hen rai Lladin ereill.

Megys yr oedd adn. 25 yn eglurhad ar adn. 23, felly mae adn. 26, 27, yn eglurhad ar adn. 24. Mae digonedd o dystiolaeth dros wiredd y cyhoeddiad trwm hwn i'w gael yn ysgrifenadau Seneca, Martial, ac Athenaeus, awdwyr cenedlig; a chan Tholuck yn y Biblical Repository. Vol. II.

27 Ac yn gyffelyb y gwyr hefyd, gan adael yr arferiad naturiol o'r wraig, a ymlosgent yn eu hawydd i'w gilydd: y gwyr ynghyd â gwyr yn gwneuthur *brynti, ac yn derbyn ynddynt eu hunain y cyfryw dâl am eu cyfeiliorni ag ydoedd †raid.

* "Cywilydd-beth,"—Groeg. "Yn eu mysg eu hunain,"—Belsham. † "Weddus,"—Rhai.

Nid oedd y gwyr uchaf eu cymmeriad gwladol yn lân oddiwrth y pechod ffiaidd hwn. Mae pwy bynag a ddarlleno Virgil, Solon, a Zeno, yn darllen gwrryw-gydwyr; a phwy bynag a ddarlleno y *classics* Groegaidd neu Ladinaidd a gaiff y pechod ysgeler hwn yn beth digon ffasiynol; o'r bron mor fach ei gywilydd ag yw meddwdod yn Mhrydain.

Y CYFRYW DAL, &c. Cyfeiria yr apostol, yn ddiau at effeithiau gwanhâol, ac afiachol, a heneiddiol y pechod hwn.

28 *Ac megys nad oedd †gymmeradwy ganddynt ‡gadw Duw yn *eu* gwybodaeth, §Duw a'u rhoddes hwynt i fyny i feddwl ‖anghymmeradwy, i wneuthur y pethau nid oedd weddaidd:

* "Ac yn gymmaint ag na ddewisasant,"—Stuart.. Doeth. Sol. 14, 22, 23. † "Dderbyniol, ddewisol,"—Rhai. "Ag na phenderfynasant,"—Bibl Arabaeg. ‡ "Gyfaddef Duw,"—Rhai. § "Rhoddwyd hwynt i fyny," yw rhai hen fiblau Groeg a Lladin. ‖ "Analluog i farnu,"—Beza. Eph. 5, 4.

MEDDWL ANGHYMMERADWY; meddwl dall, annalluog i allu ym-

resymu, medd Beza, Limborch, a Wolf. Hen gyfieithad Ffrancaeg a ddywed "barn amddifad o bob barn." "I feddwl gwrthodadwy,"—Stuart. Mae y cyfieithad cyffredin yn gywir, oddieithr ei fod ychydig rhy wan: "meddwl diffaith condemniol" gan bawb yw yr ystyr.

29 Wedi eu llenwi â phob *anghyfiawnder, godineb, †anwiredd, cybydd-dod, drygioni; yn llawn cenfigen, llofruddiaeth, cynhen, ‡twyll, drwg-anwydau.

* "Aflendid, godineb," medd rhai biblau Groeg: ond gadewir "godineb" allan o dr o'r biblau Groeg henaf, ynghyd â'r Coptaeg, Ethiopaeg, a biblau amryw o'r hen esgobion Lladinaidd; etto trymach yw yr awdurdod drosto. † Gadewir "anwiredd" hefyd allan o rai hen fiblau Groeg a Lladin. ‡ Gadewir "twyll" allan o'r bibl Groeg henaf, a rhai Lladinaidd.

Godineb *(porneia) all illicit intercourse;* pob math o ymarweddiad anghyfreithlon yr ystlenau. Gwel Bretsch.

Anwiredd *(poneria)* malais, medd Grotius. Gedy Tholuck y gair hwn allan oddiar amryw resymau. Yr ystyr yw tuedd ddrygionus, faleisus. Matt. 22, 18; Luc 11, 39; 1 Cor. 5, 8.

Cybydd-dod *(pleonexia)* "mofyn chwaneg," "mynu mwy." Cynnwysa feddyliau a chynlluniau i fyny mwy draws-draws, a chadw, a chadw eilwaith, nad beth fo'n galw. Marc 7, 22. Yn mha le bynag y cynnyddo moethau, ac ymroddiad i bleserau y cnawd, nid yw syched am arian ond y radd nesaf o'r clefyd, canys y mae yn annhebgorol i hwyluso ffordd olwynion y pechodau blaenaf a nodwyd. Yr oedd Rhufain yn ddiarebol am ei hawydd i olud cenedloedd ereill.

Drygioni *(cacia)*, ymddwyn yn gas a niweidiol at ereill. Gwahaniaetha oddiwrth *anwiredd*, am fod y gair hwnw yn cyfeirio at gynlluniau y meddwl yn benaf.

Cenfigen *(phthenos)*. Cwrddir y nwyd gythreulig hon bob amser ac yn mhob gwlad, lle bo un gyfran o'r wladwriaeth yn ddedwyddach na'r llall. Yr oedd yn uchel iawn yn Rhufain, ac wrthi hi y llywodraethid, y cynnadleddid, ac y llofruddid yn gyffredin; ïe, ac y dienyddid hefyd. "Llawn, wedi eu rhythu o genfigen," fel pothell o wynt yw yr ystyr.

Llofruddiaeth *(phonos)*, yn gystal ar gyhoedd ag yn ddirgel, cyfreithlon a gwaharddedig, oedd gyffredin iawn yn Rhufain; er enghraifft, yr ornestau, dinystr caethion, dienyddiadau wrth y deng mil ar unwaith, marwolaethau drwy wenwyn, brad-laddiadau, &c.

Cynhen *(eris)* a naturiol ddilynai y fath arweinyddion ag a nodwyd, yn y senedd, heolydd, llys-dai, &c.

Twyll *(dolos)*. Yr oedd twyll yn cael ei ystyried yn grefft gan Rufeinwr, medd Juvenal, un o'u hysgrifenwyr eu hunain.

Drwg-anwydau *(cacoethia) malevolence,* drwg-ewyllysiaeth. Gosod lliw drwg ar eiriau ac ymarweddiad dyn arall, pan y gallesid yn hawdd osod lliw gwell arnynt, heb wneyd un cam ag uniondeb. Gwyn fyd ped arosasai y sarff hon yn Rhufain; neu pe peidiai hyd y nod a mynu ei chôr yn ein haddoldai!

30 Yn *hustyngwyr, ‡yn athrodwyr, yn gâs ganddynt Dduw, yn drahaus, yn feilchion, yn ffrostwyr, yn ddychymmygwyr drygioni, yn anufydd i rieni.

* Nid yw mewn rhai biblau Groeg. ‡ "Yn ddrwg-dafodau,"—Un hen Fibl Groeg.

HUSTUNGWR *(psithuristos)*, enllibwr yn y dirgel; yr hwn sy'n gorphen ei enllib gyda pheri i'w wrandawr dewi â son am ei enw ef; "Amen," pob stori i'r hwn yw "Ust!"

ATHRODWR *(katalalos)*, enllibwr yn y cyhoedd. "Ni waeth ganddo ef pwy wypo." "Nid oes arno ef eisieu celu mo'r gwir ar neb." Mae efe mor onest nes troi ei dafod yn gleddyf i frathu ei gymmydog, a'i frawd crefyddol yn eu cefn! Mae cymmaint o fai yn aml ar y glust ddrwg, er hyny, ag ar y tafod drwg.

TRAHAUS *(ubristas)*, edliwgar; gan archolli a fflangellu ereill â'u tafodau, drwy ddifrïaeth nwyd-wyllt a direswm.

BALCH *(uperephanos)* anmhlygadwy i Dduw na dynion; ond yn gosod pob peth a wna Duw a dynion yn annheilwng i'w cystadlu â'r hyn a wnaethai efe dan yr unrhyw amgylchiadau. Gwell, a mwy, a challach nâ neb, mewn rhywbeth neu gilydd. Mae gwybod hanes pobl ereill yn gymhorth da at farweiddio y tueddfryd cythreulig hwn.

FFROSTWYR *(alazonas)*, *boasters;* ymogoneddu yn yr hyn nid yw yn perthyn iddynt, fel y gwnelai y balch yn ei bethau ei hun; megys golud, athrylithr, dysg, neu rywbeth arall. Mae Martial, Polybius, a Plautus yn tystio yr un fath am y Rhufeiniaid.

DYCHYMMYGWYR DRYGIONI *(epheuretas cacôn)*, *inventors of evil things;* moethau, pechodau, pleserau, creulonderau, ac arteithiau a ddyfeisid o'r newydd; o'r bron bob dydd, yn y ddinas fawr hon, o'r hyn y mae Tacitus, eu hanesydd, yn dyst.

ANUFYDD I RIENI *(goneusin apeitheis);* pechod cyffredin iawn yn mysg y cenedloedd, lluoedd o ba rai a fwrient allan eu rhieni oedranus, i drengu drwy newyn, anwyd, neu ddannedd bwystfilod! Diwylliaeth y galwai y philosophyddion y fath stad â hon, ar farbariaeth.

31 Yn *annealhus, yn dorwyr ammod, yn §angharedig, yn ‖anghymmodlawn, yn annhrugarogion:

* Nid oedd y gair hwn yn Mibl Chrysostom. Rhuf. 1, 21; a 10, 19; Deut. 32, 1; Salm 14, 1. § "Amddifaid o serch naturiol,"—Groeg. 2 Tim. 3, 3. ‖ 2 Tim. 3, 3. Nid yw mewn pump o'r biblau Groeg henaf, Coptaeg, na rhai amryw o'r tadau Lladinaidd, megys Awstin, Morgan, Gildas, &c.

ANNEALLUS *(asunetoi)*, dwl, annysgadwy mewn pethau dwyfol; annystyriol. Cymharer adn. 21, 22.

TORWYR AMMOD *(asunthetoi)*, *perfidious;* gwadu cytuniadau masgnachol, ac anianol; personol, a gwladol.

ANGHAREDIG *(astorgoi)*, amddifad o serchiadau perthynasol; gan gyfeirio, debygwyf, at yr arferiad o adael allan eu plant i drengu, pan feddent fwy o rifedi nag oedd gyfleus. Amherawdwyr a lofruddient eu rhieni, ac a dreisient eu chwiorydd â'u merched eu hunain.

ANGHYMODLON *(aspondoi)*; nid oedd iawn i'w gael, braidd, a derfynai eu gelyniaeth a'u rhyfelgyrchoedd. Hollol ddinystr i'w caseion oedd prif amcan eu rhyfeloedd gwladol, a theuluol.

ANNHRUGAROGION *(anelemonai)*, heb ddim teimlad tosturiol. Beth, er enghraifft yw y *poor laws* a ffurfiwyd erioed gan y paganiaid? beth oedd eu *hospitals*, *penitentiaries*, rhad-ysgolion, &c.? Dim! Hunan oedd y cwbl, yr oll yn oll. Ac er trengu o'r mynwesau fu yn ffau i'r pum pechod hyn, ac er cwympo o Fabilon fawr y prophwydi, fu yn gynniweirfa dros oesoedd iddynt, maent hwy eu hunain yn frodorol o Frydain, bellach, er ys llawer oes, ysywaeth!

32 Y rhai yn §gwybod cyfiawnder Duw, fod y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau yn haeddu marwolaeth, *ydynt* nid yn unig yn gwneuthur y pethau hyn, eithr hefyd yn cyd-ymfoddloni â'r rhai sydd yn eu gwneuthur hwynt.

§ "Barn Duw,"—Conquest. "Ordinhad, rheol, deddf gyfiawn Duw,"—Stuart, Suidas, Belsham, Tholuck. Pen. 2, 2. "Deddf eu natur,"—Melancthon. "Heb feddwl fod y rhai," &c., medd rhai biblau Groeg. Rhuf. 6, 21. "Nid yn unig y sawl sy'n gwneuthur y pethau hyn, eithr hefyd y rhai sy'n cyd-ymfoddloni," yw darlleniad yr Armenaeg, ac amryw fiblau Lladin. Hosea 7, 3; Salm 50, 18.

CYFIAWNDER DUW: *judgement of God*, Bibl Saesonaeg. "Ordinhad Duw," medd Stuart. Suidas a'i deongla yn *ddeddf*, *gorchymyn*. Pa beth oedd y cyfiawnder hwn ag oedd hysbys i'r cenedloedd, neu o leiaf, a allasai fod, a ddangosir yn y geiriau nesaf; sef "fod y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau yn haeddu, &c."

MARWOLAETH: cosp, trueni, dyoddefaint, medd Stuart, a Tholuck. Ond gwel y *Traethawd* ar y gair ar y diwedd.

YN CYDYMFODDLONI. Mae gradd o ddrygioni yn amlwg mewn dyn a gyflawno bechod; mewn rhai amgylchiadau, raddau uchel iawn. Etto, mae amgylchiadau pan fo pechod yn effaith byrbwyllder, nwyd a themtasiwn, yn nghanol y rhai mae y pechadur wedi gollwng yn ngholl ei ystyriaeth. Mae yn gofyn, gan hyny, ar y cyfan, radd bellach o ysgelerder i bwyllog ganmawl, ac arafaidd gyfiawnhau a chefnogi drygioni a aeth heibio, neu a amcaner gyflawni, nag a ofyna i gyflawni y cyfryw bechod ar fynyd y cyffroad ato. O ganlyniad, ystyria yr apostol hyn fel gris isaf a phellaf yr holl gyhuddiadau oedd ganddo i'w dwyn yn erbyn y paganiaid. Ychydig o rieni, er enghraifft, a ewyllysiant i'w plant dyfu i fyny mor ddrygionus ag y tyfasent hwy eu hunain. Ond, pan gaffom, fel y mae weithiau i'w cael, y cyfryw rieni yn annog, a chanmol, ac ymffrostio o ddrygioni eu plant, yr ydym yn cyfiawn ystyried y cyfryw yn y radd *isaf* o ysgelerder.

## CYFIEITHAD NEWYDD.—PEN. I.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) PAUL, gwas i Iesu Grist, dewisedig apostol, neillduedig i efengyl Duw; (2) yr hon a rag-addawsai efe drwy ei brophwydi, yn yr ysgrythyrau santaidd, (3) yn nghylch ei Fab ef (ganedig o had Dafydd o ran y cnawd, (4) cyfansoddedig yn Fab Duw mewn

gallu o ran ysbryd santeiddiad ar ol ei adgyfodiad oddiwrth y meirw), Iesu Grist ein Harglwydd: (5) (trwy yr hwn y derbyniasom ras tuag at ufydd-dod FFYDD yn mysg yr holl genedloedd, er mwyn ei enw ef: (6) yn mysg y rhai yr ydych chwithau yn ddewisedigion Iesu Grist), (7) at bawb sydd yn Rhufain, yn anwyliaid Duw, dewisedigion, saint; gras i chwi, a thangnefedd, oddiwrth Dduw ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.

(8) Yn gyntaf, yr wyf yn diolch i'm Duw, trwy Iesu Grist, o'ch achos chwi oll, fod son am eich ffydd chwi yn yr holl fyd. (9) Canys Duw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu â'm hysbryd yn efengyl ei Fab, yw fy nhyst, mai heb beidio yr wyf yn gwneuthur coffa am danoch, (10) gan erfyn yn wastadol yn fy ngweddiau, am gael (yn ol ewyllys Duw), os yn bosibl, ar ryw amser cyn hir, wneuthur taith lwyddiannus i ddyfod atoch chwi: (11) canys tra-hiraethus wyf am eich gweled, fel y cyfranwyf ryw ddawn ysbrydol i chwi. (12) [Hiraethwyf] hyn hefyd, er cael fy nghyd-gysuro â chwi drwy ffydd ein gilydd. (13) Anfoddlon wyf yn wir, frodyr, i chwi fod yn anhysbys, ddarfod i mi fynych arfaethu dyfod atoch chwi (ond lluddiwyd fi hyd yn hyn), fel y cawswn ryw ffrwyth yn eich mysg chwithau hefyd, megys yn mysg y cenedloedd ereill. (14) I Roegiaid ac i farbariaid, i ddoethion ac i annoethion, dyledwr wyf: (15) A chan hyny, parod wyf, hyd a allwyf, i bregethu yr efengyl hyd y nod i chwi y rhai sydd yn Rhufain. (16) Canys nid wyf yn cywilyddio o efengyl Crist, gan mai gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth, i bob un sydd yn credu; i'r Iuddew yn gyntaf, ac hefyd i'r Groegwr.

(17) Canys drwyddi hi y dadguddir CYFIAWNDER Duw allan o [gyfundrefn] FFYDD; [ac] i ffydd, megys y mae yn ysgrifenedig; "Ond allan o ffydd y bydd y cyfiawn byw."

(18) Oherwydd dadguddiwyd o'r nef ddigofaint Duw yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder dynion, y rhai a rwystrant y gwirionedd drwy anghyfiawnder. (19) O blegid y mae yr hyn sydd yn wybyddadwy am Dduw yn hysbys yn eu mysg hwynt, am i Dduw ei ddangos iddynt. (20) Canys ei anweledig briodoliaethau ef, ei allu tragwyddol, a'i Dduwdod, a welir er pryd creadigaeth y byd, gan fod yn ddealladwy drwy y pethau a wnaed; hyd onid ydynt yn ddiesgus; (21) oherwydd pan adnabuent Dduw, nis gogoneddent ef megys Duw, ac nid oeddynt ddiolchgar, canys yn eu dyfeisiau aethant yn ynfyd, a'u meddwl anystyriol a dywyllwyd. (22) Tra yn proffesu eu bod yn ddoethion, aethant yn ffyliaid, (23) a gwnaethant gyfnewidiad o ogoniant yr anfarwol Dduw am ddelw gyffelyb i farwol ddyn, ac adar, a phedwar-carnolion, ac ymlusgiaid.

(24) Duw hefyd, o ganlyniad, a'u traddododd hwynt i fyny yn nhrachwantau eu calonau i aflendid, i ddianrhydeddu eu cyrff eu hunain yn mysg eu gilydd; (25) y rhai a wnaethant gyfnewidiad o wirionedd Duw am gelwydd, ac a addolasant ac a wasanaethasant y creadur yn hytrach na'r Creawdwr, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd. Amen. (26) O achos hyn, traddododd Duw hwynt i fyny i drachwantau gwarthus; canys eu menywod a newidiasant yr arferiad anianol i'r hon sydd yn groes i anian; (27) a'r gwrrywod hefyd, gan adael heibio yr arferiad anianol o'r fenyw, a ymlosgent yn eu gwyn i'w gilydd, gwrrywod gyda gwrrywod yn cyflawni yr hyn sydd gywilyddus; ac yn derbyn hefyd ynddynt eu hunain deilwng dâl eu cyfeiliornad. (28) Ac megys na ddewisasant gadw Duw mewn cydnabyddiad, traddododd Duw hwynt i fyny i feddwl diffaith, i wneuthur y pethau oedd yn wrthun, (29) nes eu llenwi â phob math o ddrygioni; â godineb, drygnawsedd, cybydd-dod, drwg-ymddygiad; wedi ymlenwi o genfigen, llofruddiaeth, cynhen, twyll, drwg-ewyllysiaeth: (30) yn hustyngwyr, athrodwyr, casäwyr Duw, trahausion, ffrostwyr, beilchion, dychymmygwyr drygau, anufyddion i rieni, (31) anneallus, torwyr ammodau, amddifaid o serchiadau naturiol; rhai anghymmodlawn, annhrugarogion. (32) Y rhai hyn ag a wybuant ordeiniad Duw (sef fod y rhai a wnant y cyfryw bethau yn haeddu marwolaeth), nid yn unig a wnant yr un pethau, ond hefyd a ganmolant y rhai sydd yn eu gwneuthur.

## OL-SYLWADAU.

Nid yw yr apostol yn y rhestr anferth a galarus hon o gyhuddiadau, yn ymosod ar y werin anwybodus yn unig, ond ar yr athronyddion

hefyd. Yr oedd efe yn gwybod fod y Stoiciaid a'r Epicuriaid fel yr annoethion eu hunain, yn caniatâu ac amddiffyn gwrryw-gydiaeth a llosgach, gan gyfrif y ffieidd-dra hyn yn mysg y pethau dibris a diniwed *(adiaphora)*. Aristotle a Cicero a gyfiawnhaent ddial. Gwir yw, y gwnelai yr Hen Destament hefyd, ond nid ar frawd, a chyd-genedl, fel y gwnelent hwy. Darlunia Aristotle (Polit. 1, 8) ryfel ar genedloedd barbaraidd fel dim gwaeth nâ math o helwriaeth, yr hyn oedd hollol gyfiawnhaol. Yr un ysgrifenydd a gyfiawnha erthyliad gorfodol (Polit. 7, 16). Philosophyddion ereill a ddarluniant rinwedd a bai fel dim yn y byd ond creaduriaid cyfreithiau ac arferion dianghenrhaid; neu, i arferyd geiriau Justin, proffesent nad oedd dim nac yn rhinweddol nac yn feius ynddo ei hun, ond fod pethau yn cael eu gwneyd felly gan rym opiniwn yn unig.

Ond, a ydym ni yn well nâ hwynt-hwy? Onid yw ymddygiadau ein bonedd yn fath a'r na ddychymmygodd y werin o'u deutu erioed mo' natur? Mae brad, a thwyll, a phleidiaeth, a gormes, a balchder, a godineb; ïe, a'r eofnder penaf yn y pechodau hyn, yn ffurfio cyfran fawr o ymarweddiad bonedd Prydain, fel y mae yn ddigon hysbys i'r rhai sy'n eu gwasanaethu. Tra mae arferiad, drwy drugaredd, yn gaethach ei ffrwyn ar ferched yr iselradd, ar ol dodi eu bys mewn modrwy nâ chyn hyny; yn hollol i'r gwrthwyneb y mae gyda hwynt! Gwir, fod enghreifftiau anrhydeddus, ond y mae y rhei'ny mor anaml ag ydynt o bur; eithr hawdd iawn adnabod didwylledd, a phurdeb y cyntedd nesaf i mewn, wrth ymddygiadau dosparth y cyntedd nesaf allan. Mae y gwasanaeth-ddynion yn cipio pobpeth oddiwrth eu harglwyddi, ac os gall y diweddaf guddio oddiwrth lygad gwlad eu hymarweddiad naturiol, dadguddiant ef o'r ochr arall, yn naturiol eiriau a bucheddau y rhai sy'n byw arnynt i'w dynwaredu.

Ond, a ydym ni, y *canol-radd*, yn well nâ hwynt-hwy? Ai cywir ein goruchwylion marchnadol? A yw haul Cymru yn gorfod gwrido byth uwchben ein ffeiriau? A oes dim chwys ar rudd gymylau myglyd ein gweithfäau, wrth ein llwon a'n anhwyldeb meddwl? A yw cribddeiliaeth, a hunan-gais, a gormes y cryf ar y gwan, a'r gwan ar y gwanach, ddim yn crynhoi uwch ein penau erbyn y dydd mawr?

Ond, a ydym ni, y *crefyddwyr*, yn well nâ hwynt-hwy? Onid yw husting ac athrod yn bechodau mewn proffeswyr? Onid yw llunio myned i'r nef "at Grist," tywysog hunan-ymwadiad, ar ol oes o grynhoi arian, yn gybydd-dod mewn pregethwr? Ai y goron cyfiawnder sydd yn nghadw i'r ffyddloniaid, yw yr hon a ennillir drwy ysgrifenu llythyr cymun, yn yr hwn yr ydym yn gadael, efallai, fil neu ddwy o fiblau y byd paganaidd, yn waddol i'r rhai oedd yn meddu digon eisoes? Ai cariad y Crist hwnw ag a roddes bob dafn o'i waed yn ei lythyr cymun, i drueiniaid, yw yr hwn a dywalltwyd yn nghalon y proffeswr sy'n methu gwario y degwm dros lwyddiant teyrnas Crist, ag a waria efe dros gadarnhad a boddhad cymmaint ag un o'i chwantau afreidiolaf? Yn awr, os oedd pechodau y paganiaid yn profi eu bod yn disgyn yn fyr o gyfiawnder Duw; pa beth, ai profi ein bod yn meddu y cyfiawnder dan sylw a wna yr un pechodau ynom ni?

Ac, os oedd gwaith y philosophyddion paganaidd yn gwrthod yr

hyn a ellid ei wybod am Dduw yn y greadigaeth, yn eu gosod hwy yn rhestr ddu y colledigion, yn mha restr y rhaid gosod ein hathronwyr ni, am yr unrhyw ymddygiad at wirionedd llawer amlycach efengyl?

Mewn gair, os oedd y ffeithiau galarus a nodwyd am y paganiaid, yn ddoethion cystal ag annoethion, yn eu profi mewn mawr anghen am gyfiawnder efengyl, pa faint mwy y prawf yr un ymarweddiad yr un anghen ar eu brodyr yn ein hoes ninnau?

*Yn olaf*, Os oedd cyfiawnder yr efengyl yn gyfaddas a pharod i'r edifeiriol o'r rhestr ysgeler a nodwyd, diolchwn ei fod yr un modd ar ein cyfer ninnau. Amen.

---

## PENNOD II.

### § 6. DARGANFYDDIAD AR Y PAGAN EUOG, A'R IUDDEW MWY EUOG, SY'N AWR YN EI GONDEMNIO EF, WEDI EU GOSOD YN OCHR EU GILYDD GERBRON BRAWDLE OLAF DUW. ADN. 1—16.

Nid yw yr apostol yn condemnio *barn* yr Iuddew ar y paganiaid, canys byddai hyny yn gondemniad ar ei farn ei hun am danynt; etto condemnia y *barnydd* Iuddewig ei hun am feiddio barnu pechaduriaid, y rhai, nad pa mor ddrwg bynag oeddynt, nid aethent ddyfnach nag ef ei hun mewn trueni, oherwydd fod ei bechodau llai aflan ef yn fwy ysgeler nâ'r lleill, am ddarfod iddo eu cyflawni yn ngwyneb goleuni cryfach;—goleuni cryfach o gymmaint ag oedd eiddo goruchwyliaeth y DDEDDF ar oleuni digymhorth NATUR yn unig.

Anghenrhaid oedd i'r apostol droi ar yr Iuddew fel hyn, rhag iddo ymffrostio yn mlaen yn y dull y gwnai efe eisoes, yn erbyn drwg-fuchedd y Cenedloedd Rhufeinig, a chymmeryd y cyhuddiadau blaenorol o eiddo Paul yn ei enau i gadarnhau y cyfryw ymffrost.

*Pwy a anerchir* yn y ddosran hon gan yr apostol? Mae hyn yn destun dadl. Tybiai Le Clerc mai y philosophyddion paganaidd; ond tybiai Chrysostom, Theodoret, a Grotius, mai yr ynadon paganaidd sydd anerchedig; tra myn Stuart nad oes un dosparth neillduol mewn golwg hyd adn. 11; mai darparu y ffordd y mae efe hyd yno, er mwyn grymuso ei ymosodiad ar yr Iuddew oddiyno yn mlaen. Eithr tebycach yw barn Tholuck, sef fod yr apostol, ar ol darfod yn ei restr cyhuddiadau yn erbyn y Cenedloedd, yn troi yn ddiatreg at yr Iuddewon. Pwnc diweddaf pen. 1, ydoedd fod y philosophyddion paganaidd, er yn rhy feilchion i *gyflawni* rhai o'r pechodau anfad dan sylw, yn dangos eu bod yn cefnogi eu cyflawnwyr. Ond yr oedd yr Iuddewon, yn philosophyddion a chrefyddwyr, yn eu condemnio hwynt, yr hyn a neidiai yn ddigon naturiol i gof ein hapostol ar yr amgylchiad. Nid wyf yn meddwl fod yr apostol, wrth ddweyd "pwy bynag wyt," yn tynu ei lygad oddiar yr Iuddew, ond yn dewis y dull esmwythach hwnw i wasgu ato yntau ei ddiffygion. Cymmer Awstin a Stolz yr un golygiad; eithr y mae y cyd-destunau yn gwrthwynebu y tybiau a nodwyd o eiddo Le Clerc a Chrysostom. Maent yn cau allan esboniad Calvin yn ogystal, yr hwn a ddywed mai cyfeirio yr oedd Paul at farnau y paganiaid ar eu gilydd.

OHERWYDD paham, §diesgus wyt ti, O ddyn, pwy bynag wyt yn barnu: ||canys yn yr hyn yr wyt yn barnu arall, yr wyt yn dy gondemnio dy hun; canys ti yr hwn wyt yn barnu, wyt yn gwneuthur yr un pethau.

§ Rhuf. 1, 20. "O ddyn farnwr!" yw y biblau Syriaeg, Arabaeg, a Choptaeg. "Oherwydd dy fod yn barnu," &c.,—Erasmus a Beza. 2 Sam. 12, 5; Mat. 7, 1, 2;

Ioan 8, 9. "Yn y pethau a gondemni y mae dy waith," yw y Bibl Armenaeg. "Canys y pethau a gondemni a wnei," yw y Vulgate, a biblau ereill yn Lladin.

OHERWYDD PAHAM *(dio)*. Pa "baham?" Gwahanol yw'r atebion. Mae Grotius yn gywir wrth ddywedyd nad at yr hyn sydd yn mlaen, ond *yn ol*, y rhaid ei fod yn cyfeirio. Fel pe dywedasai yr apostol, "Edliwiais iddynt hwy, y rhai a feddent wybodaeth o'r hyn oedd iawn, eu bod yn cymmeradwyo pechod mewn ereill, er y cwbl. Trwy hyn, modd bynag, nid wyf yn meddwl fod pob un yn gyfiawnhaol ag a feio yn unig ar ei gymmydog." Felly Tholuck. Eithr Stuart a ddywed mai cyfeirio yr ydoedd Paul at y ffaith, os oedd y sawl a wyddent mai drwg oedd y peth, ac etto a'i cymmeradwyent yn ngwyneb goleuni llai, yn gondemnedig, "oherwydd paham" mwy euog o lawer oedd yr hwn a gondemniai y peth hwnw yn ngwyneb goleuni mwy, ac a'i cyflawnai ar yr un pryd yn nghanol y goleuni hwnw. Yr olaf, ar y cyfan sydd fwyaf cyd-darawiadol â rhediad yr ymresymiad. Ymresymiad mawr yr ail bennod yw *euogrwydd y goleuni llai, ac euogrwydd mwy y goleuni mwy*. Y pagan gyda llai goleuni a aeth mor bell mewn pechod ag i'w gymmeradwyo a'i ganmol yn gystal â'i ymarferyd; yr Iuddew gyda goleuni mwy a arweiniwyd megys braidd yn groes i'w dueddfryd, i gondemnio y cyfryw bechodau, ond gydâ'r holl oleuni hwn, ac yn erbyn holl rym edliwiadau ei gydwybod, efe a droseddodd yr un rheolau ag a droseddasai y pagan. Cymmer yr apostol yn ganiatâol y condemniai ei ddarllenwyr Iuddewig, o leiaf, holl bechodau rhagnodedig y cenedloedd; ac yna efe a dyn y casgliad, y rhaid iddynt ar yr un tir gondemnio pob un, yr hwn, fel yr Iuddew er enghraifft, a becha yn erbyn llais cydwybod, ac yn ngwyneb mwy gwybodaeth.

Felly hefyd Flatt. "*Dio*, oherwydd dy fod yn gwybod *cyfiawnder Duw*, ac yn ei gyfaddef, felly ni elli ymesgusodi dan euogrwydd yr unrhyw bechodau yn dy fuchedd dy hun."

PWY BYNAG WYT, oedd ddull cwmpasog o annelu at yr Iuddew.

YR WYT YN DY GONDEMNIO DY HUN. Tydi yr hwn wyt yn condemnio ydwyt yn cyhoeddi dedryd arnat dy hunan, yn herwydd yr unig beth ag sydd yn wrthrych y condemniad."

Nid oedd Paul heb ddigonedd o ffeithiau i brofi y cyhuddiad trwm hwn; eithr efe a ddewisodd adael i'w cydwybodau eu casglu i'w gwynebau, yn hytrach na'u henwi; megys hefyd y gwnelsai ei Arglwydd o'i flaen â chyhuddwyr yr odineb-wraig yn Ioan viii. Mae yn Josephus hefyd brofion lliosog o iselder nodwedd yr oes hon o Iuddewon dros y byd, o Herod a'r archoffeiriaid i wared at yr iselaf o honynt.

2 Eithr ni a wyddom fod §barn Duw yn ol gwirionedd, yn erbyn y rhai a wnant gyfryw bethau.

§ "Condemniad Duw,"—Stuart. "Yn ol uniondeb,"—Beza, Tholuck. "Yn ol gwir natur pethau,"—Stuart.

EITHR *(dè)*. Beth yw yr "eithr" hwn? Am y gair "canys" y dysgwyliasom ni, Gymry. Felly y darllenydd Groeg hefyd. A "canys" raid fod yr ystyr, gan fod i'r gair yr ystyr hyny nid anaml. Felly Stuart, &c., er mai dilyn yr ystyr naturiol sydd oreu.

BARN *(crima)*, dedryd gondemniol Duw.

GWIRIONEDD *(aletheia)*. Yn ol cyfiawnder, medd Beza, Tholuck, ac ereill. Yn ol gwir natur pethau; yn ol cyfleusderau a gwybodaeth y gwrthrych. Yr oedd Paul am i'r Iuddew ddeall nad yn ol ei berthynasau cnawdol, ond yn ol gwir stad ei alluoedd a'i oleuni, y bernid yr Iuddew.

3 Ac a wyt ti yn tybied hyn, O ddyn, yr hwn wyt yn barnu y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau, a thithau yn gwneuthur yr un pethau, y diengi di rhag barn Duw?

"Yr wyt ti yn condemnio ereill am eu tueddiadau a'u cyflawniadau drygionus, tra yn tueddu at, a chyflawni yr un pethau dy hun; ac a wyt ti yn tybied, tra methont hwy ddianc rhag dy gondemniadau di, y diengi di ddedfryd yr hwn sydd yn edrych â llygaid yr Hollwybodol? Ni ddiengaist rhag dy gondemniad dy hun, ac a ddiengi di rhag condemniad Duw?"

4 Neu a wyt ti yn §diystyru golud ei ddaioni ef, a'i ‖ddyoddefgarwch, a'i ymaros, ¶heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch.

§ "Diofalu am,"—Rhai. "Cyflawnder ei ddaioni ef,"—Stuart. Rhuf. 9, 23; Eph. 1, 7; a 2, 4, 7. ‖ "Ffrwyniad yn ol,"—Groeg. Rhuf. 3, 25. ¶ Esay 30, 18; 2 Pedr 3, 9, 15. "Y dylai daioni Duw dy dywys,"—Belsham. "Heb gyfaddef fod," &c.,—Stuart, Tholuck. "Heb ystyried,"—Ereill. "O duedd i'th dywys,"—Amryw.

Mae'r apostol yn rhagdybied y byddai y rhagrithiwr, neu yn awr i droi yn fwy personol—yr Iuddew, yn rhy galed i gyfaddef ei bechadurusrwydd, ac y rhedai yn hytrach i osod ei hun yn ddiniwed oddiar ei haerllugrwydd, yr hyn yw nodweddiad cyffredin rhagrith; ac am hyn try yr apostol ei olygon yn uniongyrchol at yr ystad ddyfodol. "Os ydych (meddai yr apostol) yn cymmeryd achlysur oddiwrth eich anghospedigaeth hyd yma, i ddiystyru cyflawnder ei ddaioni ef, cewch allan fod yr anghospedigaeth hyny yn mwyhau eich cosp ddyfodol. Canys i'r sawl a'i hiawn-ddefnyddiant er eu diwygiad, y mae ei hirymaros ef o effaith achubol; tra i'r sawl a'i gwastraffant mewn crynhoi pechod ar bechod, y mae yn achlysnr tynghedfen llawer trymach; nid oherwydd dim yn natur yr hirymaros ei hun i hyny, ond oherwydd y cam-gasgliad a wnaeth dy galedwch di o hono."

GOLUD *(ploutos)*, a fynych arferir gan Paul am *gyflawnder*; megys yn Eph. 1, 7; a 2, 7; Rhuf. 9, 23; a 11, 33.

DAIONI *(chrestòtetos)*, *kindness, benignity*, tiriondeb.

HIR-YMAROS *(anoches)*, *holding in*, dala yn ol ddigofaint. Oedi yr amser. Mae hwn a'r gair dilynol yr un ystyr, a chwedi eu cydio er mwyn ychwanegu at rym y meddylddrych. *Daioni* yw cariad yn gyffredin, a'r ddau air dilynol a arddangosant yr unrhyw gariad yn ei berthynas â phechaduriaid.

HEB WYBOD *(agnöön)*, *not acknowledging*, heb gyfaddef, heb gymmeryd arnat wybod.

Tywys *(agei)*; tywys yw yr ystyr lythyrenol; ac y mae yr ymddygiadau hyn yn tywys, a thynu, a denu, ac annog, er nad yw pob un, ac er nad oedd yr Iuddewon, yn goddef i'r grasau hyn lwyddo yn eu hamcan tuag atynt. Oherwydd yr aflwyddiant hwn, myn Stuart a Tholuck mai "tuedd i dywys" oedd yn meddwl yr apostol yma, gan gyfeirio at eiriau ereill yn Ioan 5, 21, a Rhuf. 1, 21; eithr yr oedd Crist *yn* bywhau yn gystal ag yn meddu awdurdod i fywhau, y meirw. Er mwyn gwasgu arnom yr egwyddor sy'n ein testun, darllener 2 Pedr 3, 9; Ezek. 18, 23, 21; a 33, 11.

Edifeirwch *(metanoia)*, mewn ystyr grefyddol, yw cyfnewidiad meddwl, amcan, ac ymarweddiad; gan ofidio am bechu yn erbyn Duw; a bucheddu yn ddiwygiadol o hyny allan.

5 Eithr *yn ol dy galedrwydd. a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, a †dadguddiad cyfiawn farn Duw.

6 Yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd:¶

* "Drwy dy galon galed ac anedifeiriol,"—Conquest. "Yr wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint yn nydd digofaint, pan ddadguddir cyfiawn farn Duw,"—Stuart. "Yn dy erbyn dy hun,"—Ereill. "Yn nydd digofaint, a adguddiad, a chyfiawn farn Duw," yw darlleniad amryw fiblau Groeg, Syriaeg y Polyglott, Ethiopaeg, un Slavonaeg a'r Arabaeg, ynghyd â biblau amryw o'r hen dadau yn y Groeg a'r Lladin.
† "A gwobrwyad cyfiawn farn Duw," yw darlleniad un hen Fibl Groeg.

Caledrwydd *(kleroteta)*, anrheimladrwydd meddwl a chalon; stad o beidio derbyn argraffiadau teilwng o bethau.

Dadguddiad o beth aneglur fydd cyfiawnder Duw yn y farn. Yno daw i'r amlwg fod Duw wedi gwobrwyo pob da a chospi pob drwg, yn ol ei reol o lywodraethu, a bod y rheol hono wedi ei chyfansoddi mewn cyfiawnder.

Gweithredoedd *(erga)*, pob peth a wna efe â'i feddwl, ei amcanion, ei dafod, a'i holl gorff, mewn gweithredoedd a dylanwad. *Yn ol* ei fuchedd y bernir pob dyn. Mae yn syndod gynnifer o gyfundraethau o wobr a chosp a ffurfiwyd gan esbonwyr oddiwrth yr adnod hon. Dywedaf yma, nad oes dim mewn talu i bob dyn yn ol yr hyn a wnaeth, yn croesi cadwedigaeth o râs: ond oedir manyliad hyd y Traethawd ar y diwedd.

7 Sef i'r rhai *trwy barhau yn gwneuthur da, †a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragwyddol:

* "Ddyfal-barhau,"—Groeg. "Yn ol eu dyfal-barhad,"—Reiche. † "A ymdrechant am,"—Groeg.

¶ Arholiad II.—A dal *(apodidomi)*. Ystyr lythyrenol y gair hwn yw rhoi drosodd, cyfranu, dan ba arwyddocâd yr arferir ef am lawn-dalu cyflogau, yn Mat. 20, 8; ardreth, yn Mat. 21, 41; a 22, 21; Rhuf. 13, 7; llwon ac addunedau, yn Mat. 5, 33; Deut. 23, 22; a dyledswyddau yn gyffredinol, yn 1 Cor. 7, 3. Arferir hefyd am dalu yn ol ddyledion, a rhwymedigaethau, *to repay, refund*, yn Mat. 5, 26; a 18, 25, &c.; ac am ad-dalu, *requite, retaliate*, yn Mat. 6, 4, 5, 18; a 16, 27; Rhuf. 12, 17; 1 Thes. 5, 15; 1 Tim. 5, 4; 2 Tim. 4, 14.

GOGONIANT, &c., a grynhoir yma er mwyn dangos allan ddedwyddwch i'r graddau uchaf. Felly 1 Tim. 1, 17; 2 Pedr 1, 17.

8 Eithr i'r rhai sydd gynhenus, *ac anufydd i'r gwirionedd,
eithr yn ufydd i anghyfiawnder; *y bydd* †llid, a ‡digofaint:
9 Trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg;
§yr Iuddew yn gyntaf, a'r Groegwr hefyd:

* Job 24, 13; Rhuf. 1, 13; 2 Thes. 1, 8. "Y wir athrawiaeth,"—Stuart. "Y grefyddol, foesol, a chyffredinol gydwybod."—Calvin, Tholuck. "Gwirionedd yr efengyl," medd Ecumenius, Morgan. "Y gwir o fod dydd barn,"—Ambros. † "Dig yn y fynwes,"—Eustathius. "Dig hir-hoedlog,"—Ammon. ‡ "Dig wedi tori allan,"—Eustathius. "Dig byr-hoedlog,"—Ammon. § Amos 3, 2; Luc 12, 47, 48; 1 Pedr 4, 17.

CYNHENUS yn erbyn Duw a'i wirionedd.

GWIRIONEDD. Ond at ba beth y cyfeirir dan y gair hwn? Tebycach yw, gan fod Paul yma yn son am ddydd y farn, lle bydd pob dyn yn sefyll, mai at y gwirionedd dadguddiedig ar lyfr natur i'r pagan, ac ar lyfrau ysgol Moses hefyd i'r Iuddew: ar yr holl lyfrau hyn ynghyd â'r efengyl fawr i ninnau, y cyfeirir.

Cynnwysa y nawfed adnod, ynghyd â'r ddegfed, grynhodeb o'r hyn a ddywedasid yn adn. 6, 7, 8, gydag ychwanegiad. Mai at Iuddewon a chenedloedd fel eu gilydd y cyfeirid. Am gynhen ac anufydd-dod oddiwrth y dyn deffry llid a digofaint yn Nuw, a disgyna trallod ac ing yn y diwedd arno yntau.

ENAID DYN *(psuchen authropon)*, pob perchen enaid. Dull Hebreig o lefaru.

TRALLOD AC ING, yn ol eu harwyddocâd gwreiddiol, a gynnwysant ddiffyg lle, a gwasgiad poenus.

10 Eithr *gogoniant, ac anrhydedd, a thangnefedd, i bob un
sydd yn gwneuthur †daioni; i'r Iuddew yn gyntaf, ac i'r Groegwr
hefyd.
11 Canys nid oes derbyn wyneb gerbron Duw.

* "Dedwyddwch o ogoniant ac anrhydedd,"—Stuart. 1 Pedr 1, 7. † "Rhinwedd,"—Amryw.

Fel hyn yr oedd gwobr a chosp wedi eu dal o flaen yr Iuddew a'r cenedl-ddyn un modd â'u gilydd, ac ar yr un ammodau. Ychwanegir yr holl eiriau bendithfawr hyn etto er mwyn grymuso y desgrifiad. Os na bydd derbyn wyneb gyda y barnwr, yna ni all y bydd ffafr. ac os nad ffafr, yna dim mantais pryd hyny, oherwydd dim a wnaethai na Duw na dynion i'r hwn a fernir; ond penderfynir yr holl dâl yn ol ei waith *ei hun.*

12 Oblegid cynnifer ag a bechasant *yn ddiddeddf, a gyfrgollir

hefyd yn ddiddeddf; a chynnifer ag a bechasant †yn y ddeddf, a fernir wrth y ddeddf.

* "Heb ddadguddiad dwyfol,"—Stuart. † "Dan y ddeddf,"—Conquest.

"Canys yn gymmaint ag y cyfrgollir, &c.," yw yr ystyr.

DIDDEDDF, yw heb ddadguddiadau gwyrthiol, prophwydol, &c., fel y cyfryw ddadguddiadau ag a gyfansoddasant yr Hen Destament. Bernir y pagan yn ol yr hyn oedd yn ei gydwybod, ac ar ddalenau creadigaeth a rhagluniaeth, o wybodaeth am Dduw a'i berthynas yntau ag ef. Ond gwel TRAETHAWD ar y pwnc.

13 Canys *nid gwrandawwyr y ddeddf *sy* gyfiawn gerbron Duw, ond †gwneuthurwyr y ddeddf a ‡gyfiawnheir.

* "Gwrandawwyr deddf," yw darlleniad rhai biblau Groeg tra pharchus. Mat. 7, 21; Iago 1, 22, 28, 25; 1 Ioan 3, 7. † "Gwneuthurwyr deddf," medd rhai biblau Groeg tra pharchus. ‡ "A fernir yn ddiniwed,"—Rhai.

Yn yr adnod hon a'r 14eg, ychwanega yr apostol eglurhad ar yr hyn a ddywedasai efe. Yn y naill efe a ryddha ei hun oddiwrth gyhuddiad o iselhau gormod ar y gyfraith Foesenaidd; yn y llall, oddiwrth gyhuddiad y rhai allent feio ar ei waith yn priodoli mwynhad o ddeddf i'r pagan yn gystal â'r Iuddew. Mae yn anmhosibl i ddyn guddio oddiwrtho ei hun yr anghen sydd arno am iachawdwriaeth, a'r awydd dirgelaidd sydd o'i fewn am sicrwydd ynghylch y ffordd oreu i'w chyrhaedd; egwyddor ag sydd yn debyg iawn o fod yn wreichionen oddiwrth Dduw, heb hollol ddiffoddi.

*Gwrandawwyr* a gyfeiria at y ffaith, mai gwrando ar ddarlleniad y ddeddf yn y synagog oedd braint yr Iuddew.

14 Canys pan yw y Cenedloedd y rhai nid yw y ddeddf ganddynt, wrth naturiaeth *yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain:

* "Yn gallu gwneuthur," yw darlleniad rhai hen fiblau Groeg, a rhai Lladin.

Yn awr, try yr apostol i ateb gwrthddadleuon a allasant ymgyfodi yn ei ddarllenwyr. Ar ol dywedyd o hono gymmaint am fod deddf gan y paganiaid, yr oedd naturiol i'r gwrthwynebwr ateb, "Nid oes ddeddf gan y cenedloedd, ac am hyny ni ellir cymhwyso y gosodiad hwn atynt." Yr atebiad i hyn yw, fod gan y cenedloedd ddeddf mor sicr ag oedd gan yr Iuddewon, er nad oedd ysgrifenedig ar femrwn na cheryg, ond ar lechau eu calonau. Arddengys adn. 14 fod y cenedloedd dan ddeddf, megys yr arddengys adn. 13 fod yr Iuddewon felly.

Cyfodir gwrthddadl gan rai oddiwrth yr esboniad hwn, mae yn debyg; sef fy mod fel hyn yn gosod Paul i dystio fod rhai o'r paganiaid wedi ufyddhau i'w deddf-natur eu hunain, nes bod yn gyfiawn gerbron Duw. Ond camgymmeriad yw hyny. Nid yw yr apostol yn arddangos dim mwy o fod y pagan wedi cyrhaedd y cyfiawnhad

hwn, yma, nag a arddangosai efe o fod yr Iuddew wedi ei gyrhaedd, yn adn. 13. Gall y sawl a dybiont ei fod yma yn caniatâu ddarfod i'r Iuddewon gyrhaedd y cyfiawnhad mewn dadl, droi i pen. 3, 19—31. Eglurhau egwyddor y mae'r apostol, ynghylch y naill a'r llall. Dysgwyliai yr Iuddew gyfiawnhad oherwydd ei fanteision allanol. "Na chei," ebe'r apostol, "mae hyny yn anmhosibl. Mae y pagan mewn cystal cyflwr am ei gyfiawnhau â thithau. Nid oes gwahaniaeth rhyngoch."

Er y dywed Stuart, ac yn wir o'r bron yr holl esbonwyr, yr ennillasai yr Iuddew a'r cenedl-ddyn y cyfiawnder mewn dadl, pe cyflawnasent bob un ei ddeddf; nid wyf fi, er hyny, yn ystyried felly, canys dywed yr apostol mai drwy y *ffydd* yn unig y cyfiawnheir dyn; yr hyn sy'n profi nad oedd deddf natur nac un Moses wedi eu cyflunio i gynnwys cyfiawnder achubol i bechadur, nac yn wir i neb arall; canys cyfiawnhad i *bechadur* yw y cyfiawnder dan sylw. Amlwg yw, gan hyny, mai eglurhau egwyddor y mae Paul yma, ac nid gosod i lawr ffaith yn hanesiaeth y paganiaid. Hefyd, mae cymmeryd yn ganiataol, fod y cyfiawnder dan sylw yn gyrhaeddadwy drwy ufydd-dod i'r deddfau hyn, yn gorfodi y sawl sydd o'r cyfryw dyb i gyfyngu holl ymresymiadau yr apostol at rai yn unig o'r Iuddewon, canys cyrhaeddodd miloedd o honynt, gobeithiwn, y cyfiawnder hwn: ac os drwy ufyddhau i'r ddeddf y cawsant ef, rhaid fod geiriau yr apostol i'w cyfyngu yn annaturiol, er mwyn gadael allan y cyfryw o'i condemniadau. Eithr nid oedd gan Dduw un gyfundrefn ond y Ffydd yn unig, i ddadguddio cyfiawnder i bechadur drwyddi.

15 Y rhai sydd yn dangos *gweithredoedd y ddeddf yn ysgrifenedig yn †eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u ‡meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi;

* "Fod gweithredoedd," &c.,—Conquest. "Fod y gweithredoedd a gais y ddeddf,"—Stuart. "Cynnwysiad y ddeddf,"—Seiler, Bolten. "Sylwedd y ddeddf,"—Michaelis. † "Eu tueddiadau,"—Rhai. ‡ "Ymresymiadau,"—Belsham, Conquest, Schmidt.

GWEITHREDOEDD Y DDEDDF: sef y ddyledswydd ofynol ganddi.

YSGRIFENEDIG a ddeallir yn ffigwrol, am bresenoldeb y wybodaeth yn y gydwybod.

*Cyd-dystiolaeth* â'r hyn a ragddywedwyd. Yr ystyr yw, y neidiai condemniad o'u drygau i'w meddwl, ac yna, pan elent i arholi i'r peth, fod eu penderfyniadau ymresymiadol yn cyd-dystio â'r gydwybod.

Rhag y dywed rhai oddiwrth hyn, nad oedd anghen am ddatguddiad dwyfol, nac am anfon efengyl ychwaith i'r cyfryw baganiaid; gellid ateb, fod gwybodaeth o'r ddyledswydd yr un peth, a thuedd i'w chyflawni yn beth arall. Caniatâ yr apostol y cyntaf i'r pagan, ond gwada ei fod yn cyflawni yr ail. Yr efengyl yw gallu Duw i ddwyn dyn yn *dueddol* i ufydd-dod. Mae llais cydwybod y pagan yn cael ei ddystewi gan ymchwydd ei chwantau, ond nid yw hyny yn profi fod ei Greawdwr heb un llafarydd yn ei fynwes ef.

16 *Yn y dydd y barno Duw †ddirgeloedd dynion, ‡yn ol fy efengyl i, §trwy Iesu Grist.

* Preg. 12, 14; Mat. 25. 31; Ioan 12, 48; Rhuf. 3, 6; 1 Cor. 4, 5; Dad. 20, 12. † "Ddirgel bechodau," Stuart, Turretin, Flatt. "Dirgel farnau y gydwybod,"—Tholuck. ‡ "Yn ol yr efengyl," yw darlleniad rhai biblau Groeg, a Conquest, Belsham, &c. "Efengyl Duw," medd un. Ioan 5, 22; Act. 10, 42; a 17, 31; 2 Tim. 4, 1, 8; Ioan 8, 41. § "Yn Iesu Grist," ebe Bibl Origen. "Yn ol yr efengyl a gefais drwy Grist," medd rhai. Rhuf. 16. 25; 1 Tim. 1, 11; 2 Tim. 2, 8.

### CYSSYLLTIADAU YR ADNOD.

Lle mae cynnifer o farnau yn mysg dysgedigion, gwell yw gosod pob un ar wahan, a'u hystyried gyda'u rhesymiadau.

1. "A fernir wrth y ddeddf (adn. 12). Yn y dydd y barno Duw, &c.," gan adael adn. 13, 14, 15, yn gromfachawg. Felly Grotius, Limborch, Walfius, Winer, Knapp, Griesbach, Stuart, Barnes, Walford, a Hodge.

2. "Gwneuthurwyr y ddeddf a gyfiawnheir yn y dydd y barno Duw, &c.," medd Beza, Heumann, a Winer, gan osod adn. 14, 15, yn gromfachawg.

3. "Y rhai a ddangosant weithredoedd y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, yn y dydd y barno Duw, &c.," medd Christ, Schmidt; sef y bydd ar ddydd y farn yn amlwg i bawb, ddarfod i gydwybodau dynion ar hyd eu hoes, dystio dros ddeddf Duw, &c.

4. "A'u cydwybod yn cyhuddo neu yn esgusodi, yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd, &c.," yw deongliad Jerom, Theodoret, Chrysostom, Theophylact, Ecumenius, Erasmus, Calvin, ac ereill; sef yn nydd y farn y ceir fod cydwybodau y paganiaid yn eu cyhuddo o'r hyn oll eu cyhuddwyd o hono yn ei lythyr hwn gan Paul. I'r deongliad hwn y tuedda Tholuck.

5. Ychwanegiad o eiddo yr apostol yw adn. 13, 14, 15, ar ol gorphen y llythyr, medd Heumann.

6. "Mae eu cydwybodau eu hunain yn eu hysbysu yn awr, a'u hegwyddorion a'u cyhuddant neu a'u hesgusodant, ar ol hyn, yn y dydd y barno Duw, &c." Felly Koppe a Rosenmuller.

Lle bo cynnifer o amrywiad barn, rhaid i'r cyd-destunau ac amcan ein hapostol gael bod yn arweinyddion, os gallwn hefyd ddeall eu hawgrymau.

*Pwnc* yr apostol yw *cyfiawnder Duw* i bechadur. Ei amcan yw arholi yn mha le ei dadguddir. O bob cyfundrefn oedd yn honi meddiant o'r dadguddiad hwn, y rhai rhagnodedig oedd yr unig rai teilwng o'u cynnwys yn yr arholiad, gan dderbynwyr y llythyr, er na fuasai un ond Y Ffydd yn unig, yn teilyngu sylw ar y pwnc gan Paul ei hun.

Yr *haeriad* diweddaf a gawsem yn aros yn ddibrawf sy'n adn. 11, "nid oes derbyn wyneb gerbron Duw." Yna daeth y "canys," y gair sydd yn parhaus ddechreu prawf neu ymresymiad gan Paul. Y "canys" eglurhâol o osodiad adn. 11, sydd yn nechreu adn. 12. Yno eilwaith dywedir mai fel a'r fel y bydd yn y farn, "canys," &c. Wele adn. 13eg etto yn eglurhâol i adn. 12. Yn hono y mae gosodiad eglurhâol yn cael yr adnod ddilynol yn eglurhâol iddo yntau eilwaith. Ar ol cymmeryd ein harwain gan y naill "canys" ar ol y llall, daethom i adn. 14eg. Ar

ol dechreu ar yr adnod hono, y mae yn anghenrheidiol i ni gymmeryd adn. 15ed gyda ni, onide torwn ymaith ar hanner y synwyr. Pe caffwyf ganiatâd fel yr esbonwyr a nodwyd, i ddewis cyssylltu adn. 16eg â'r ymadrodd blaenorol hwnw â rwydd ymgyssylltai â hi, gallwn ddod i ben â phrofi hawl, o'r bron bob un o'r adnodau blaenorol, i'r cyfryw gyssylltiad. Er enghraifft, paham na ellid cyssylltu felly adn. 3, "y diengi di rhag barn Duw, yn y dydd y barna Duw?" Neu ynte adn. 5, "a dadguddiad cyfiawn farn Duw, yn y dydd y barna Duw?" Neu ynte adn. 6, "yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd, yn y dydd y barna Duw?" Neu ynte adn. 7, "bywyd tragywyddol, yn y dydd y barna Duw?" Neu ynte adn. 8, "trallod ac ing, yn y dydd y barna Duw?" Neu ynte adn. 11, "Canys nid oes derbyn wyneb gerbron Duw, yn y dydd y barna Duw?" Ie, meddaf, paham na ellid cyssylltu pob un o'r ymadroddion yna mor rhwydd ag adn. 16, â'r ymadrodd, "a fernir wrth y ddeddf, (adn. 12) yn y dydd y barna Duw?" Os yr ymadrodd fo'n naturiol ymgyssylltu ag adn. 16 sydd i gael ei gyssylltu felly, heb gyfeirio at *amcan* yr epistol, paham na ellid cyssylltu pob un o'r ymadroddion a nodwyd yn gystal ag adnod 12ed? Am adnod 13eg etto, paham nad yw "gwneuthurwyr y ddeddf a gyfiawnheir, yn y dydd y barna Duw?" neu "arddangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, yn y dydd y barno Duw?" o adn. 15, mor gyfaddas eilwaith ag un o'r ymadroddion a nodwyd, i'w cydgyssylltu?

Yr hyn sy'n ymddangos i mi yw, fod pob un o'r pethau ag a nodwyd fel i'w cyflawni a'u teimlo yn y farn, yn cael eu rhedeg ar ol eu gilydd yn gyfres gan yr apostol, ac yna gorphena ei bwnc gyda chau yr oll i fyny, "yn y dydd y barna Duw;" fel pe dywedasai, y cyfeiria hyn oll at y "dydd y barna Duw."

DIRGELOEDD *(ta crupta)*, "dirgel bethau y tywyllwch," 1 Cor. 4, 5; "dirgelion calon dyn," 1 Pedr 3, 4. Stuart a ddywed fod yr apostol yma yn cyfeirio at waith Duw yn dwyn i'r farn, nid yn unig gweithredoedd allanol dynion, ond hefyd eu meddyliau dirgelaf." Mae hyny yn wir am y farn, ond ai dyna feddwl yr apostol? Cyfeiria Tholuck drwy yr ymadrodd at benderfyniadau dirgel y gydwybod, y rhai a gawn yn yr adnod flaenorol, ac y dwg Duw i'r farn holl farnau dirgel dynion. Gyda Stuart y mae Turretin, Flatt, Tholuck, Barnes, a Hodge. Eithr, rhaid i mi amrywio y waith hon oddiwrthynt oll: canys methaf weled pa fodd y barna y Duw cyfiawn ddirgel amcanion dynion—paganiaid a Moeseniaid, yn ol efengyl Paul, yr hon nis clywsent erioed? Onid ein hapostol yw y gwr a'u dysgasai, mai yn ol DEDDF NATUR y bernir y pagan, ac mai yn ol ENWAEDIAD a MOESENIAETH y bernir yr Iuddew? Ar ol ei ddarllen ef fel yna yn yr adnodau blaenorol, anmhosibl, debygwyf fi, yw gosod Paul i ddywedyd mai yn ol ei efengyl ef y bernir "dynion," sef holl ddeiliaid y farn fawr. Rhaid, ynte, fod deongliad i'w gael, ag a gyssonir â'r cyn-destunau. Y *dirgelwch* hwn, tebygwyf, oedd dirgelwch dadl fawr yr epistol, sef, ar ba dir yr ystyria Duw ddynion y byd, mewn perthynas â chyfiawnder achubol. Pwy sydd yn iawn, pwy yn cyfeiliorni? Pa gyfundrefn sydd gymhwysaf i ogoniant Duw a daioni dynion? "Dirgeloedd dynion, ynte, yw y dirgeloedd am gyfundraethau a thyngedfenau dynion, am y rhai y dadleuir

yn yr epistol," a'r "dadguddiad o ba ddirgeloedd a geir yn eglur yn fy efengyl i," medd efe.

Drwy Iesu, &c. Drwyddo fel gweithredydd, ac nid fel offeryn. Nid arferyd ei ddynoliaeth fel offeryn, yr un modd ag yr arferasid cyrff y prophwydi pan eu cynhyrfid gan Dduw, a wneir, eithr ei osod fel y gosodir swyddog arall o'i fath : a gadael arno i wneyd a fyno mewn hollol ryddid ewyllys. Tebygol y bydd yr ail Berson dwyfol, yr hwn sydd mewn undeb â'r ddynoliaeth, yn gweithredu drwy y ddynoliaeth, can belled ag y safo hi mewn eisieu o berffeithiau dwyfol at y gorchwyl, ond dim pellach: canys y ddynoliaeth fel y cyfryw a eistedda, a ymddangosa, ac a lafara y cyfan. Lleinw hi, modd bynag, le creadur o'r fath gyfansoddiad ag a yw hi, a'r fath gymhwysderau ag a fydd ynddi erbyn yr amser hir-bell hwnw. Mae dynoliaeth Crist, fel pob creadur arall, yn cynnyddu mewn pob rhagoriaeth ennilladwy; ond nid yw yn debyg y cynnydda byth i allu llenwi cadair brawdle daearolion, ynghyd â'r holl ysbrydion perthynol i'w chyfundraethau, ar wahan (pe yn bosibl hefyd ei gosod) oddiwrth y dwyfol berson yn yr undeb.

## § 7. Edliwiad i'r Iuddew o'i haerllugrwydd gyda'r ddeddf.—Pen. II, 17—24.

Ar ol dangos safon y frawdle ddiweddaf at farnu yr Iuddew a'r pagan, a dangos nad yw Duw mor anghyfiawn ag y condemnia efe neb yno am un ffaeledd ag nas gallasai y neb hyny adnabod ei ddrwg, a chymhwyso hyn yn benaf at amgylchiadau y paganiaid, symuda yr apostol, yn y dosparth hwn, yn mlaen at yr Iuddew yn arbenig, a dengys iddo ei fod mor ysgeler a digywilydd â phroffesu ei hun yn athraw i'r byd o genedloedd, tra ar yr un pryd yn esgeuluso hyd y nod y gwersi isaf o foesoldeb ei hun; ac yn dringo esgynlawr uchel diwygiwr y byd, tra ar yr un pryd cyn waethed ei fuchedd â neb o'i breswylwyr; a'r *rhesymiad* naturiol yw, nad beth am alluoedd y ddeddf i gyfiawnhau ei deiliaid, nad oes reswm yn y byd i adyn o'r fath hyn ymffrostio ynddi; a'r *canlyniad* naturiol o'r cwbl yw, mai doethach i Iuddew yr oes hono oedd tewi â son am y ddeddf, na dim arall o'r fath, fel testun ymffrost.

Dysgasai Israel eilunaddoliaeth yn yr Aifft, a chludasent y ffieidd-dra hwnw gyda hwynt i Ganaan. Yno cawsant hen dduwiau yr Aifft yn rhai gwladol eilwaith. Er dan wahanol enwau, eu trefniadau addoliadol a'u gwyliau oeddynt yr un. Mai anhawdd yw tynu dyn oddiwrth dduwiau aelwyd ei fam, a gafwyd yn philosophi dynoliaeth gan brophwydi Israel a Juda. Magwraeth yr Aifft oedd yn mhob ffasiwn a defod, ddrwg a da. Ar ol methu o bob moddion a dylanwad a feddai goludoedd gwyrthiol y ddeddf a'r enwaediad eu diwygio, taflwyd hwynt i fath o foesol garchar neu alltudiad—i Fabilon. Yno cawsant dduwiau newyddion. Goresgynasai Caldea holl wlad yr Aifft, a'i gwledydd perthynasol. Rhyfel gwahanol dduwiau ydoedd. Aeth y Nilus yn ol, a thwr Babel i'r lan. Argyhoeddwyd y byd o wendid y dosparth lliosog o dduwiau Aifftaidd. Darfu am danynt byth yn mysg cenedloedd gwaraidd byd. Am yr anwar, ni chawsant hwy ddeall dim o'r helynt hwn. Mae Abyssinia, Nubia, a chanolbarth eang Affrica etto yn nglyn â'r hen Aifftaidd addoliad. Ond wele Israel yn Babilon, ac wedi cyfnewid ei hysgol eilunol. Yma safodd cenedl Jehofa; edrychodd, synodd, a dirnadodd, nad oedd duwiau yr Aifft cyn gadarned a gwyched â rhai newyddion Assyria a Babilon. Gwelsant hefyd philosophi newydd y Zabiaid, ac astronomyddiaeth y Caldeaid, a'u brudiaeth ddofn a rhyfeddol, nes taflu i ddiystyrwch bythol yn eu golwg, isel a ffiaidd eilunaddoliaeth yr Aifft a'i changenau. Ar ol iddynt

gyrhaedd i'r man hyny ar y wers a ewyllysiai Jehofa, eu Duw eu hunain, iddynt ddysgu, efe a'u symudodd o'r ysgol hon yn ol i'w hen ysgol ei hun yn Palestina. Ar ol iddynt gael ffieidd-dra ar holl ddosparth eilunol yr Aifft, a chyn iddynt ymgydio dim â duwiau newyddion Babilon, daeth yr amser iddynt ddychwelyd i'w gwlad. O hyny yn mlaen, darfu eilunaddoliaeth yn Israel; ond daeth dirgeliaeth, cudd-philosophi, a thwyll y brudwyr Caldeaidd yn nghwr eu gwisgoedd. Ac er nad oedd cymmaint o hyny ychwaith yn amlwg yn yr oes neu ddwy gyntaf ar ol y dychweliad o Fabilon, etto daeth y tramwy o Media, lle yr arosasai yr un dosparth o eilunol philosophi ag yn Caldea, ynghyd ag o Persia hefyd, a'r tramwyo o Jerusalem yn ol, â sawyr ffiaidd, os nad llawer o sylwedd yr hen Zabiaeth Caldeaidd, i gael ei goleddu yn Palestina. Oddiyma cyfododd y Sadduceaid, Phariseaid, Ebioniaid, &c.; a'u gwag philosophi traddodiadol hwynt oedd y wybodaeth *urwynebol* a gondemnir gan Paul. Collasent y gwir *Foeseniaeth*, *Abrahamiaeth*, a *Ffydd*, o'r bron i gyd. Gwir nad addolent eilunod; ac y mae mor wir â hyny nad addolent Jehofa ychwaith, oddieithr cyn belled ag y cyrhaeddai ffurfiau gosodedig a dyfeisiadol at hyny. Pan ddechreuodd y sectau hyn gyfodi, yr oedd Alexander Fawr, a'i olynwyr, yn concro Persia a'r byd, a Chanaan yn eu plith. Ni chyfododd dim teilwng o'i alw yn newydd eilwaith yn mysg y Groegiaid. Gwelliad neu drwsiad ar yr hen Galdeaeth oedd y cwbl. Yfai amryw o'r Iuddewon ryw gymmysgedd etto o hwn; a'r cyfan gyda'u gilydd, yn nghymmysg â hyny ag oedd allanol o Foeseniaeth, oedd crefydd dlawd yr Iuddew anerchedig gan Paul. Amcanasid gosod y traethawd hwn yn mysg traethodau rhagymadroddawl y gwaith; ond gan y buasai hyny yn ei gadw yn rhy hir oddiwrth y darllenydd, ail-ystyriwyd mai gwell ei osod yma.

17 *Wele, †Iuddew y'th elwir di, ac yr wyt ‡yn gorphwys §yn y ddeddf, ||ac yn gorfoleddu yn Nuw.

18 Ac ¶yn gwybod *ei* **ewyllys *ef*, ac ††yn darbod pethau rhagorol, gan fod wedi dy addysgu o'r ddeddf;

* "Eithr os," sydd yn lle "wele" yn y nifer fwyaf a pharchusaf o'r biblau Groeg, Scholz, Griesbach, Stuart, a phawb o bwys. † Mat. 3, 9; Ioan 8, 33; Rhuf. 9, 6, 7; 2 Cor. 11, 22. ‡ "Pwyso ar y ddeddf,"—Amryw. § "Deddf Moses oll,"—Amryw. "Hen destament,"—Ereill. "Pwyso ar ddeddf," yw darlleniad rhai hen fiblau Groeg, a Lladin. Mica 3, 11; Rhuf. 9, 14. || "Ymffrostio o'th Dduw,"—Amryw. Esay 45, 25; a 48, 2; Ioan 8, 41. ¶ Deut. 4, 8; Salm 147, 18, 19. ** "Yr ewyllys," medd y Groeg bron i gyd. †† "Yn barnu pethau gwahaniaethol,"—Conquest, "Profi pethau sy'n gwahaniaethu,"—Erasmus, Beza, Elsner, Clericus, Stuart. "Cymmeradwyo y pethau rhagoraf,"—Vulgate, Chrysostom, Luther. Phil. 1, 10.

Y WELE hwn a geir, bellach, yn yr holl fiblau Groeg o barch yn "Eithr os;" canys nid oedd ond un lythyren fechan o gam-gofiad wedi peri y camsyniad ar y dechreu. Dywed Winer yn ei Rammadeg fod yr "os" *(ei)* yn nechreu yr adnod hon, yn cyfeirio at y "fel hyn." neu "gan hyny" *(oun)* yn adn. 21, yr hon, fel y dywed yntau oedd naid led fawr, ond nid gormod i briod-ddull ein hapostol.

IUDDEW *(Ioudaios)*, cymmerir y gair yma yn ei ystyr grefyddol yn hytrach na chenedlig; ac arddengys berthynas y bobl â Duw yn fwy nag â chenedloedd ereill. Yn yr un ystyr ei harferir yn adn. 28, 29; Dat. 2, 9. Fel yr oedd y cyfenw hwn yn barchus, mawr chwenychid gan yr Iuddewon; cymharer Gal. 2, 15; Phil. 3, 5; a diystyrent bob enw cenedlig arall yn fawr.

GORPHWYS *(epanapauo), to lean upon, to prop up one's self by;* 2 Bren. 7, 2—17. Pwysai yr Iuddew ar y ddeddf am y flaenoriaeth yn ffafr Duw; nid ar ei weithredoedd ei hun o honi, yn gymmaint yma, ond ar y *ffaith* o fod ganddo y ddeddf. Condemnia Paul ymorphwysiad ar freintiau allanol, yn gyssylltiedig ag ymdawelwch mewn pechod.

Y DDEDDF yw yr holl gyfundrefn Foesenaidd.

GORFOLEDDU *(kauchaomai)*, ymffrostio, ymddyrchafu, bostio; yr hwn a arferir mewn ystyr dda neu ddrwg, yn ol y cyssylltiadau.

*Gwybod*, "cydnabyddus â'r ewyllys." Arferent fostio hyn. Ystyrient fod eu perthynas yn nes â Duw, a'u gwybodaeth eilwaith yn uwch nag a geid yn y cenedloedd; ac ar y tir o uwchafiaeth deublyg hwn, dysgwylient gael sefyll mewn ffafr uchel yn nydd y farn.

DARBOD *(dokimazo), to distinguish*, gwahaniaethu; neu *to approve*, cymmeradwyo; canys cymmer y gair y ddau ystyr hyn yn holl gylch yr iaith. Tebycach mai yr ystyr *yma* yw y blaenaf; *to examine and judge of, to estimate, to distinguish;* chwilio a barnu, prisio, gwahaniaethu, megys hefyd yn Luc 12, 56, â'r hon cymharir Matt. 16, 3; Zech. 11, 13; ac â'n testun cymharer Phil. 1, 10. Gan mai at addysgu yn benaf y mae cyfeiriad yr apostol yn y cydymadroddion, ac nid at gymmeradwyaeth yr Iuddew o bethau, y dewiswyd yr ystyr yna o'r ddau sydd i'r gair. Gellid sylwi fod yr un gair yn arwyddocäol o swydd profiedydd metel *(assayer)*, yr hwn, drwy ei gelfyddyd a wahaniaetha y gwych oddiwrth y gwael; ac yn ffigwrol, cymmerir i arddangos y medrusrwydd a arferai y gwyr hunan-ddoeth hyn, i ddosparthu a gwahaniaethu defodau, degymau, a bwydydd, ynghyd â nodweddiad pob peth a wnelai cenedloedd ereill; gan dybied fod pawb ond eu hunain yn analluog i wahaniaethu pethau o'r fath.

PETHAU RHAGOROL; neu yn hytrach pethau a gwahaniaeth rhyngddynt; am yr hyn ddeongliad, gwel ar ranau ereill yr adnod.

19 Ac *yr wyt yn coelio dy fod yn dywysog i'r deillion, yn llewyrch i'r rhai *sydd* mewn tywyllwch.

* Mat. 15, 14; a 23, 16, 17, 19, 24: Ioan 9, 34, 40, 41.

20 YN athraw i'r anghall, yn ddysgawdwr i'r rhai bach, *a chenyt ffurf y gwybodaeth a'r gwirionedd yn y ddeddf.

* "Ffurf allanol, neu bictiwr,"—Tholuck, Barnes, Stuart.

Ar ol yn y ddwy adn. flaenorol, ddesgrifio breintiau yr Iuddewon, a'r ffrwyth a ddylasai dyfu oddiarnynt, cyfeiria yr apostol yn awr at y safle uchel a honent yn ymyl y paganiaid, gan gynnyg eu hunain yn athrawon i broselytio y dysgedigion uchaf yn y byd, fel yn wir yr oedd yn gyfaddas iddynt fod, pe yn bucheddu yn deilwng o'u gwybodaeth. Er fod yr Iuddewon yn falch, a ffrostgar o'u gwybodaeth, nid oeddynt yn anffyddwyr o gredo.

*Llewyrch*, goleuni, a arferir yn ffigwrol am addysgydd. Gwel Esay 49, 6; Ioan 1, 4, 5, 8, 9. Arferai y Rabbiniaid alw eu hunain yn "goleuadau y byd."

ANGHALL *(aphrōn)*, *one who has not mental skill or consideration*, sef un amddifad o fedr meddwl i ystyried ac olrhain pethau; ac yna daeth ystyr y gair yn *ignorant person*, dyn anwybodus.

RHAI BACH *(nepioi)*, plant o oedran cyfaddas i dderbyn addysg; ond yma yn ffigwrol, debygwyf, am y proselytiaid, y rhai a elwid ganddynt felly, yn ol Selden *(de Jure nat.* ii, 4). O, mor gyssegredig, santaidd, hir-wynebog, ac uchelfrydig y safent uwchben eu hysgolorion; mor dirion, mae'n wir, etto mor dra mawreddog! Mat. 15, 14; a 23, 2, 16, 24.

FFURF *(morphōsis)*, ffurf neu ddelw peth, mewn cyferbyniad i'r sylwedd mewnol,—yr ymddangosiad *(semblance)* o'r peth, fel yr arferid y gair hefyd yn 2 Tim. 3, 15, ac yma yn ol Hammond, Lange, ac ereill. Eithr arferir yr un gair mewn ystyr *ddaionus* yn Gal. 4, 19, "hyd oni *ffurfier* Crist ynoch." Eithr, tebycach fod yr apostol yn cyfeirio at eu gwaith yn camddeall sylwedd yr ENWAEDIAD a'r DDEDDF. Canys cymmerasent y cyfundraethau hyny yn rhai crefyddol, tra na luniasid mo honynt yn namyn rhai gwladol yn unig. Hen gyfundrefn y FFYDD a anghofiasid ganddynt, trwy yr hon y cedwid, ac yn ol yr hon y crefyddai eu tadau, ac y credent yn Nuw; ac yn ei lle gosodasant yr ENWAEDIAD a MOESENIAETH; nid yn eu cywir ystyr ac amcan, ond yn eu hystyr ymddangosiadol ac arwynebol, neu *ffurfiol*, fel y dywed ein testun. Profir hyn yn amlycach yn eu herbyn, yn adn. 29.

*Gwirionedd yn y ddeddf*, oedd y ddeddf fel yr oedd ac y dylasai gael ei hystyried, ac nid yn ei rhith, fel yr ystyrid ganddynt hwy.

21 Tydi, gan hyny, *yr hwn wyt yn addysgu arall, oni'th ddysgi dy hun? yr hwn wyt yn pregethu, Na ladrater, a ladreti di?

* "Yr hwn wyt yn addysgu arall, gwna ddysgu dy hun: yr hwn wyt yn pregethu, Na ladrater, paid â lladrata dy hun,"—Knapp.

22 Yr hwn wyt yn dywedyd, Na odineber, a odinebi di? yr hwn wyt yn ffieiddio delwau, *a gyssegr-yspeili di?

* Mat. 3, 8. "A aberthi di [i eilun]?" meddai Bibl Ambros. "A ysbeili di deml eilun?" medd Chrysostom, Theophylact, Le Clerc, a Koppe. "A atteli di drethau y deml?" medd Grotius, Morgan, ac ereill. "A wyt ti dreisiwr yr hyn sydd gyssegredig?" medd Bengel, Schmidt, a Schleusner.

Yma cawn fraich olaf yr ymresymiad a ddechreuasid yn adn. 17 "Yr wyt yn ymffrostio (meddai'r apostol) yn dy helaethach gwybodaeth, ac yn dysgwyl i bawb arall eistedd wrth dy draed, yn agwedd ostyngedig ysgolorion, ac yn awr, tra yn gwneuthur yr honiadau goruchel hyn, ai diau dy fod dy hun yn anwybodus o'r pynciau y proffesi eu dysgu drwy yr holl amser?" Diau mai anwybodus oeddynt, ac anwybodus oddiar ddrwg yn unig. Pwy, ag a ddarllenodd yr Efengylwyr, nas gwyr eu bod yn camddeall o'r bron bob gosodiad yn nghyfammodau yr *Enwaediad* a *Moeseniaeth?* Gwasga yr apostol yn awr at eu gobeithion.

PREGETHU, neu gyhoeddi allan, yr hyn yw un o ystyrion y gair.

Cyfeirir at eu hathrawon; canys nid tebygol fod Paul yn ystyried yr holl genedl yn euog o'r pechodau anfad hyn; ac yn wir, eu dysgawdwyr a anerchir ganddo.

CYSSEGR-YSPEILIO *(ierosuleo)*, yspeilio temlau; ffigwrol, yspeilio Duw o'i deilwng anrhydedd, addoliad, ac ufydd-dod. Yma yn unig yr arferir y gair.

Eithr, er nas addolent eilunod, yspeilient Jehofa o'i hawliau, degymau, ac addoliadau, yr hyn oedd, mae yn debygol, yn ngolwg yr apostol, canys nid oes son eu bod yn yspeilio temlau duwiau ereill. Ond gwel ragymadrodd adn. 17.

23 Yr hwn wyt yn gorfoleddu yn y ddeddf, trwy dori y ddeddf a ddianrhydeddi di Dduw?

24 Canys enw Duw, *o'ch plegid chwi, a geblir yn mhlith y Cenedloedd; megys y mae yn ysgrifenedig.

* "O'ch achos chwi, Esay 52, 5,"—Stuart.

Dyfynwyd allan o Esay 52, 5, lle dywedir fod enw Duw, fel Duw y genedl, yn cael ei gablu oherwydd i'r genedl berthynol iddo golli y dydd, a disgyn i gaethiwed. Oherwydd i dduwiau Caldea orchfygu pobl Jehofa, ystyriai y cenedloedd oll fod enw Duw fel *Jehofa* yr Israeliaid, wedi disgyn i warth. Ni wyddent hwy nad o wendid yn Jehofa y bu hyny. A chan i Dduw, mewn ffordd, orfod gwneyd felly ag Israel oherwydd eu pechodau, edliwia iddynt mai o'u hachos hwy yr iselhawyd ei enw mawr ef felly. Yr un modd yn amser Paul, ceblid Duw Israel, oherwydd drwg foesau ei unig addolwyr. Nid cyflawniad o brophwydoliaeth sydd yma, ond yr un peth wedi dygwydd ag a fu o'r blaen, yn peri i'r prophwyd ysgrifenu y geiriau dan sylw. Gwel y cyfieithad. Oddiar gallineb y dyfynai Paul a'r apostolion ereill, yn aml, o fibl yr Iuddewon. Gwnaent hyn yn gyffredin pan fyddent yn eu cyhuddo o rywbeth anhawdd iddynt ei oddef. Pan gwrddom â'r cyfryw ddyfyniadau, gallem ychwanegu fel alleiriad, "Nid myfi sydd yn unig yn dywedyd hyn, yr ydych wedi eich darlunio eisoes yn eich bibl eich hunain." Ar ol dwyn yn eu herbyn y cyhuddiad trwm o ddianrhydeddu Duw, y mae efe yn dwyn yn mlaen y prophwyd yn brofiedydd, o fod buchedd annheilwng addolwyr Jehofa yn ei ddianrhydeddu yn ngolwg y cenedloedd cylchynol, yn nghanol pa rai yr oedd rhai Iuddewon yn sicr o fod yn preswylio.

### OL-SYLW.

Onid yw yr un cyhuddiad yn rhy briodol i Gristionogion? Oddiar amcanion o fasgnach, celfyddyd, rhyfel, ac ysfa gweled, y mae dynion a ymgyfenwent yn Gristionogion wedi myned o'r bron, i bob cwr o'r ddaear. Ond anaml yr oeddynt yn wir Gristionogion. At ennill y byd yr oedd eu holl amcan, llafur, ac ymgais; ac i raddau helaeth, buant yn anffyddiawg, diegwyddor, ac afradlon. Etto, ystyriai y paganiaid mai *Cristionogion* oeddynt; mai enghreifftiau teg o effaith crefydd Crist oedd eu bucheddau. Dysgasant felly, i gablu yr enw

*Cristion*, ac Awdwr y grefydd Gristionogol, fel yn cefnogi bywyd afradlon a gormesaidd. Oddiyma cyfyd un rheswm, yn mysg llawer, dros anfon cenadau at y paganiaid. Mae anghen am beri i'r byd paganaidd wybod nad tuedd o'r fath sydd i wir Gristionogaeth. Megys yr anfonasom atynt y gyfran *waethaf* (fel y dywed Barnes) o'n poblogaeth, da fyddai etto anfon ar eu hol ddynion santaidd, y rhai a ddangosant iddynt wir natur ein crefydd, a'i phroffeswyr. A phe na byddai un canlyniad uwch i'r genadiaeth Gristionogol, byddai yn werth yr holl draul a'r drafferth a gymmerir, i *gyfodi cymmeriad ein cenedl* yn ngolwg y byd paganaidd.

---

## § 8. YR IUDDEW YN CAEL EDLIWIAD O'I FOD YN DDALL, AC YN ARFER GORUCHWYLIAETH ENWAEDIAD YN GYFEILIORNUS. PEN. ii, 25—29.

CAWN yn y ddosran hon, ein hawdwr yn gadael goruchwyliaeth y DDEDDF, gan droi at un yr ENWAEDIAD. Profasai eisoes, yn adn. 17—24, fod yr Iuddew ar lawr yn deg gyda *deddf Moses*, ïe yn îs dani *hi* nag oedd y pagan dan *ddeddf natur*, o gymmaint ag yr oedd efe yn gosod ei hun yn ddysgawdwr Moeseniaeth, tra yn ei gwadu â'i fuchedd, pan nad oes brofion fod y pagan felly yn dysgu ereill yn y gwersi a droseddai ei hun. Yr un modd yr oedd hi ar yr Iuddew anfad etto gyda'i arferiad o oruchwyliaeth yr *enwaediad*. Camddeallai hi. Tybiai fod yr arwydd yn ddigon heb y fuchedd, at yr hon y rhwymid ef gan yr arwydd. Cawn yn Gen. 12fed, a'r 13eg, a'r 15fed, son am weledigaethau a dadguddiadau Duw i Abraham, ond dim mewn ffurf cyfammod hyd yn mhen. 17. Yno dywed Duw ei fod yn gwneyd ag ef *gyfammod;* y naill blaid oedd Duw ei hun, dan y teitl o Dduw Hollalluog, a'r llall oedd Abraham (a'i had pan y delent dan yr arwydd) yn y cymmeriad o *enwaededigion*. Yr ammodau o du Dduw oedd, bod iddynt yn Dduw teuluol, a'u dwyn i feddiant o wlad ymdaith eu tad; ac o'u tu hwythau oedd, enwaedu pob gwrryw yn wyth niwrnod oed. Nid oes un lle i gasglu, oddiwrth Gen. 17, fod dim ysbrydol na mewnol yn ofynol yn y cyfammod Abrahamaidd, na dim ysbrydol, na chyfiawnhaol, na nefol, yn darddedig o hono. Eithr pa beth a ddywed ein hapostol yn yr adnodau hyn? A ysbrydolodd efe y cwbl? *Do*, medd amryw. *Naddo*, meddaf fi. Nid apostolion yw y rhai sydd yn troi adnodau allan o'u cyssylltiadau wrth eu hesbonio. Y modd i ddeall Paul yn yr ymadroddion hyn yw, trwy dalu sylw teilwng i adn. 25. Yno dyry Paul ystyr newydd i'r gair *enwaediad*. Nid yw efe yn cyffwrdd â'r hen ystyr Abrahamaidd, ond yn cydio yn ystyr Iuddewig ei oes. Cyssylltasai Duw ac Abraham gyfiawnhad Abraham fel pechadur wrth gredin-iaeth a fuasai cyn y cyfammod o enwaediad. Cyssylltai yr Iuddew presennol gyfiawn-had wrth y ddefod o enwaediad yn unig. Tybiai fod rhinwedd mawr yn ngwaith Abraham yn credu i Dduw yn ol Gen. 15, 6, a bod holl had Abraham i gael eu ben-dithio drwyddo ac ynddo, ac mai drwy dderbyn arwydd enwaediad y derbynient y fendith neu y cyfiawnder hwnw. Yn awr, galwent hyn oll yn *enwaediad*, yr hyn a welwn oedd wahanol iawn i enwaediad y cyfammod Abrahamaidd, yn ol llyfr Genesis am dano. A chan fod yr Iuddew ei hun yn ystyried yn y gair ENWAEDIAD, *gyfiawnhad achubol*, ac yn deall cymmaint â hyny wrth y gair *enwaediad*, cipiodd Paul y gair o'i enau, a thriniodd yn ol ei ystyr ehelaeth ef ei hun o hono; fel pe dy-wedasai, "Gad i'r gair *enwaediad* feddu yr ystyr a osodaist arno, ynte, tra byddom yn ymresymu â'n gilydd; ond gwybydd di, yn ol yr ystyr o *gyfiawnder achubol* sydd iddo genyt, nad wyt ti yn perthyn dim oll i'r peth. Nid enwaediad wyt, canys nid y peth allanol yw yr enwaediad mawr a ffurfiaist ti yn dy feddwl. Peth mewnol yw hwnw. Gelli di fod yn enwaededig Abrahamaidd, ond yn ddienwaededig yn dy ystyr newydd dy hun, ar yr un pryd. Os myni di osod ystyr gyfiawnhaol i'r gair, yr wyt yn

dy gau dy *hun* allan o hono, ac yn gollwng i mewn yn dy le bob pagan a gyflawnodd gyfiawnderau y *ddeddf* o barch i Dduw, er nad oedd efe dan y cyfammod o enwaediad Abrahamaidd yn yr arwydd, fel tydi. Canmola Duw yr Iuddew didwyll, yr hwn sydd â'i ddybenion yn gywir, er nad ydych chwi, ddynion Iuddewig, yn talu nemawr sylw iddo." Y mae yn anmhosibl i ni feddwl fod Paul yn gosod enwaediad Gen. 17eg yn beth tufewnol, na bod Duw y cyfammod yn gosod yr arwydd i lawr mewn geiriau mor eglur, tra ar yr un pryd yn cuddio crefydd ysbrydol yn ei feddwl dan y cwbl,—ei fod yn gofyn enwaediad y galon heb son gair yn y cyfammod am y peth. Etto, mae pob esboniad arall ar Paul yn rhwym o ddisgyn i'r dyb annhebygol yna. Dadleu y mae Paul, yn hytrach, dros osod y FFYDD yn unig drefn cyfiawnhau, heb yr un o'r cyfundraethau ereill.

25 Canys enwaediad yn wir a wna les *os cedwi y ddeddf; eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, †aeth dy enwaediad yn ddienwaediad.

* "Os byddi wyliadwrus ar y ddeddf," oedd yn miblau Awstin a Rufinus.
† "Aeth dy nodwedd o bobl gyfammodol yn gyflwr o ddiarddeliad oddiwrth gyssylltiad â Duw,"—Tholuck.

"Mae o'r enwaediad a hòni di (meddai Paul), fawr lesâd, i'r sawl a geidw y ddeddf oddiar *amcan* i barchu Duw drwy hyny; ond ni ellir haeru fod y llesâd hwn, mewn un ystyr, i *ti;* mae dy fuchedd *di* yn peri i'r peth a elwi di yn *enwaediad*, sef hawl i gyfiawnder Duw, fyned yn *ddienwaediad*, neu hawl yn unig i'w ddigofaint ef." Yma aeth yr holl esbonwyr i'r un ochr, i ystyried fod Paul yn arferyd y gair ENWAEDIAD yn ei wir ystyr Abrahamaidd, yn lle ystyried mai yn ei ystyr Iuddewig yr arferai ef. Ei ystyr Abrahamaidd nid oedd ddim ond yr arwydd gwladol [gwel rhagymadrodd y §], tra cynnwysai yr ystyr Iuddewig yr arwydd yn cyssylltu yr Iuddew a'i dygai â chyfiawnder Duw. Cyfiawnder y *Ffydd*, ac nid yr *Enwaediad* Abrahamaidd, oedd hwn. Priodolai yr Iuddew, yntau, gyfiawnder y *Ffydd* i'r *Enwaediad* Abrahamaidd, ac i'r ddeubeth gosodai y teitl o ENWAEDIAD: a'r enwaediad Iuddewig hwn yw yr un a fenthyciodd Paul yn yr adnodau hyn.

26 Os y dienwaediad gan hyny a geidw *gyfiawnderau y ddeddf, †oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaediad?

* "Gyfiawnder," yw darlleniad un hen Fibl Groeg, a dau Ladin. "Gosodiadau y ddeddf,"—Stuart, Belsham, A. Campbell, a Tholuck. "Y ddeddf foesol,"—Barnes. Act. 10, 34, 35. † Oni chyfnewidir ei, &c.,"—Biblau Chrysostom. "Am enwaediad,"—Amryw.

*Y dienwaediad*, oedd y cenedloedd.

CYFIAWNDERAU *(dicaioma)*, *precepts*, gorchymynion. Y ddeddf foesol a feddylir, medd Barnes, am nad oedd yn debygol y deallai pagan orchymynion y gyfraith seremoniol. Eithr tybied bodoliaeth y peth a wnaeth yr apostol, ac nid tystio ei fod i'w gael. Cyfrif y ffaith o fod dyn heb yr enwaediad Abrahamaidd, yn ddigon i'w osod mewn hawl o freintiau yr unrhyw enwaediad, nad beth oeddynt, y mae Paul; ac nid fod gwaith pagan yn ufyddhau i Moses yn rhoi iddo hawl i gyfiawnder Duw; onide, buasai yn dywedyd mai o weith-

redoedd y ddeddf y cadwesid ef, yr hyn fuasai yn groes eilwaith i athrawiaeth fawr yr epistol.

27 Ac oni bydd i'r *dienwaediad yr hwn sydd o naturiaeth (os ceidw y ddeddf) †dy farnu di, ‡yr hwn wrth y llythyren a'r enwaediad wyt yn troseddu y ddeddf?

* "Ac oni bydd i'r hwn sy'n cadw y ddeddf dy farnu di?" yw darlleniad rhai hen fiblau. "Ie, yr hwn a geidw y ddeddf yn ei stad naturiol o ddienwaediad a'th farna di,"—Stuart, Tholuck. † "Peri i gyfiawnder dy gondemniad di fod yn fwy amlwg,"—Hodge. ‡ "Yr hwn drwy y ddeddf ysgrifenedig,"—Tholuck, Barnes, Hodge, a Walford." "Yr ysgrythyrau,"—Stuart.

O NATURIAETH *(ex phuseos)*, stad naturiol, yn wahanol oddiwrth fwynhad dadguddiad gwyrthiol. Ffaith dybiedig yw hon, canys dywed yr apostol mewn lle arall, fod pawb yn ol am ogoniant Duw, ac i'w cadw yn unig drwy y *Ffydd* sydd yn Nghrist Iesu.

*Barnu.* Gwel Mat. 12, 4.

*Llythyren,* am bethau ysgrifenedig. 2 Cor. 3, 6.

28 Canys *nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew; ac nid enwaediad *yw yr hyn* sydd yn yr amlwg yn y cnawd:

29 Eithr yr hwn sydd yn y dirgel *sydd* Iuddew; †ac enwaediad y galon sydd yn yr ysbryd, ‡nid yn y llythyren: §yr hwn y mae ei glod, nid o ddynion, ond o Dduw.

* "Nid hwnw sydd mewn proffes yn unig, yw yr Iuddew sydd yn blentyn Duw,"—Hodge. † Enwaediad sy'n cymmeryd lle yn y galon a'r ysbryd,"—Beza, Heumann. Col. 2, 11; Phil. 3, 3. "Yr enwaediad a wneir yn y galon gan yr Ysbryd Glân, ac nid gan orchymynion y ddeddf yn unig,"—Grotius, Ecumenius, ac ereill. 2 Cor. 3, 6. "Sydd ysbrydol ac nid llythyrenol,"—Awstin, Clericus, a Stuart. ‡ 1 Cor. 4, 5; 2 Cor. 10, 18; 1 Thes. 2, 4.

Mae y gair *Iuddew* yma, megys yn adn. 17, i'w gymmeryd yn yr ystyr grefyddol, sef yn yr ystyr grefyddol a honent hwy eu hunain, ac nid yn yr ystyr Abrahamaidd, na Moesenaidd, na Ffyddiog.

*Amlwg,* allanol; sef yn ddisgynedig o Abraham, yn dwyn yn ei gnawd arwydd yr enwaediad, ac yn meddu deddf ysgrifenedig. Arddengys yr adnodau hyn, nad oedd bod yn Iuddew y ffurfiau yn werth dim; mai Iuddew Abrahamaidd a Moesenaidd a gyfansoddasai Duw yn ei gyfammodau; sef Iuddew i gyflawni ei ochr ei hun o'r cyfammodau hyny, ac i ddysgwyl o'r ochr arall am y gyflog o ddyled am hyny oddiwrth Dduw, sef bendithion a breintiau tymmorol; yn lle y gymmysgfa o grefydd wladol a glytiasent hwy allan o'r darnau a ddewisasent eu hunain o'r holl gyfundraethau blaenorol. Cymmerasent allan o'r ENWAEDIAD a'r MOESENIAETH eu holl ffurfiau allanol a hawliau gwladol, ac allan o'r FFYDD ei chyfiawnder cyfiawnhaol; ac am eu bod yn meddu y blaenaf, hawlient yr olaf; tra nad oedd cyfiawnder y FFYDD yn gyssylltiedig ag un gyfran o Abrahamiaeth na

Moeseniaeth yn neillduol, ond ag ymddiriediad crediniol yn addewidion Duw.

*Dirgel—Enwaediad calon.* Hwn yw Iuddew y cyfiawnhad, sef dyscybl y FFYDD yr hon a roddwyd unwaith i'r saint. "Yn yr Ysbryd," yw ysbrydol; "yn y llythyren," yw llythyrenol. *Meddwl* yn lle y ffurf allanol.

## CYFIEITHAD NEWYDD.—PEN. II.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) OHERWYDD paham, diesgus wyt ti, O ddyn! pwy bynag ydwyt sy'n condemnio; canys pan yn condemnio arall yr wyt yn dy gondemnio dy hun, oherwydd dy fod di sydd yn condemnio yn gwneuthur yr un pethau. (2) Eithr nyni a wyddom fod condemniad Duw ar y rhai a wnant y cyfryw bethau, yn ol gwirionedd. (3) A wyt ti, ynte, O ddyn! yr hwn wyt yn condemnio y rhai a wnant y cyfryw bethau, tra dy hunan yn gwneuthur yr un pethau, yn tybied y diengi di rhag condemniad Duw? (4) Ynte, ai diystyru golud ei ddaioni, a'i oddefgarwch, a'i ymaros ef, yr ydwyt, heb gymmeryd arnat wybod fod daioni Duw yn dy dywys tuag at edifeirwch? (5) Yn ol dy galedrwydd, a'th galon anedifeiriol, yr wyt, modd bynag, yn trysori i ti dy hun, ddigofaint yn nydd digofaint a dadguddiad cyfiawn farn Duw, (6) yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd: (7) iddynt hwy, y rhai drwy ddyfal-barhad yn gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragwyddol: (8) iddynt hwythau, y rhai sydd gynhenus, ac anufydd i'r gwirionedd tra yn ufydd i anghyfiawnder: llid a digofaint, (9) trallod ac ing, [ïe] ar bob enaid dyn ag sydd yn gwneuthur drwg; ar Iuddew yn gyntaf, ac ar Roegwr drachefn: (10) eithr gogoniant, ac anrhydedd, a thangnefedd, i bob un sydd yn gwneuthur daioni; i Iuddew yn gyntaf, ac i Roegwr drachefn, (11) oblegid nad oes derbyn wyneb gerbron Duw; (12) canys cyfrgollir heb ddeddf gynnifer ag a bechasant heb [gyfundrefn] DDEDDF; a bernir drwy ddeddf gynnifer ag a bechasant yn [nghyfundrefn] y ddeddf, oherwydd nad y rhai sy'n gwrando y ddeddf fydd yn gyfiawn gyda Duw, ond y rhai sy'n gwneuthur y ddeddf a GYFIAWNHEIR. (14) Pa bryd bynag, gan hyny, y gwnelo y Cenedloedd sydd yn ol natur heb ddeddf, bethau y ddeddf, maent hwy tra heb feddu deddf, iddynt eu hunain yn ddeddf; (15) [sef] y rhai sydd yn dangos fod gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, drwy gyd-tystiolaethiad eu cydwybodau â hwynt, pan fyddo eu rhesymiadau yn cyhuddo neu yn esgusodi eu gilydd:†—(16) yn y dydd y barna Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy efengyl i, drwy Iesu Grist.

(17) Eithr, os wyt ti yn cael dy gyfenwi yn Iuddew, ac yn pwyso ar y DDEDDF, ac yn gwneyd ymffrost o Dduw, (18) ac yn gwybod yr ewyllys, ac yn gallu gwahaniaethu rhwng pethau gwahanol; a chan fod wedi dy addysgu allan o'r DDEDDF (19) [os] wyt hefyd yn ymddiried dy hun i fod yn arweinydd i'r deillion, yn oleuni i'r rhai sydd mewn tywyllwch, (20) yn athraw i'r anwybodus, yn ddysgawdwr i fabanod, yn meddu ymddangosiad o wybodaeth a gwirionedd y DDEDDF: (21) yr hwn wyt, fel hyn, yn addysgu arall; onid wyt yn dysgu dy hun? A ladreti di, yr hwn wyt yn cyhoeddi "Na ladrata?" (22) A odinebi di, yr hwn wyt yn dywedyd, "Na odineba?" A gyssegr-yspeili di, yr hwn wyt yn ffieiddio delwau? (23) A ddianrhydeddi di Dduw drwy dori y ddeddf, yr hwn wyt yn gwneyd ymffrost o'r DDEDDF? (24) Canys "yr enw perthynol i Dduw," fel yr ysgrifenwyd, "a geblir o'ch achos chwi, yn mysg y cenedloedd."

(25) ENWAEDIAD hefyd yn wir a lesâ, os cedwi y ddeddf; eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad. (26) Gan hyny, os ceidw y dienwaededig gyfiawnderau y ddeddf, oni chyfrifir ei ddienwaediad ef am enwaediad?

† Am gyssylltiad yr ymadroddion, gwel ESBONIAD ar adn. 16.

(27) Ac oni farna y dienwaededig o natur sy'n cadw y ddeddf, dydi, yr hwn wyt, drwy [feddiant] o ysgrifen ac enwaediad, yn droseddwr y ddeddf? (28) Canys nid yr hwn sydd allanol yw'r Iuddew, nid ychwaith yr hyn sydd allanol yn y cnawd yw'r enwaediad; (28) eithr yr Iuddew yw yr hwn sydd dufewnol, ac enwaediad sydd o galon, ysbrydol, nid llythyrenol; clod yr hwn nid yw o ddynion, ond o Dduw.

---

## PENNOD III.

### § 9. Tri Gwrth-resymiadau Iuddewig yn cael eu hateb. Adn. 1—8.

Y cyntaf o'r gwrth-resymau yn erbyn athrawiaeth Paul yw, fod yr Iuddew yn cael ei osod ynddi heb un fantais ar y pagan, adn. 1; yr hyn a wadir gan Paul, ac a ddyry iddo gyfleusdra i gyfaddef fod i'r Iuddewon fanteision mawrion ar bawb ereill, adn. 2. Yr ail wrth-reswm yw, fod Duw wedi addaw bod yn Dduw i'r Iuddewon, ac o ganlyniad, nad oedd eu hanffyddlondeb, hyd y nod pe'i cyfaddefid, yn ei ryddhau ef oddiwrth ei rwymedigaethau, nac yn gwneuthur ei addewid yn ofer, adn. 3. Paul a ganiatâ, mewn atebiad, nad gwiw galw ffyddlondeb Duw i ammheuaeth, doed a ddelo o'r naill athrawiaeth a'r llall, adn, 4, 5; eithr dengys, er hyny, fod yr egwyddor, yn ol yr hon y dysgwyliai yr Iuddewon rydd-drwydded oddiwrth gosp, sef, am fod eu hanghyfiawnder yn canmol cyfiawnder Duw, yn un dwyllodrus. Efe a brawf hyn drwy ddangos yn gyntaf, os oedd eu hegwyddor hwy yn gywir, na allai Duw gospi neb, pagan nac Iuddew, adn. 5, 6, 7; ac yn ail, ei bod yn arwain i'r gwrthuni, mai uniawn yw gwneyd drwg fel y delo daioni, adn. 8.

PA ragoriaeth gan hyny sydd i'r Iuddew? neu pa fudd *sydd* o'r enwaediad?

2 Llawer yn mhob rhyw fodd: *yn gyntaf, oherwydd darfod ymddiried iddynt hwy am †ymadroddion Duw.

* Deut. 4, 7, 8; Salm 147, 19, 20; Rhuf. 2, 19; a 9, 4. "Yn benaf,"—Walford, Belsham, Stuart, A. Campbell, a Barnes. "Iddynt hwy yr ymddiriedwyd yn gyntaf," medd Origen. † "Addewidion Duw,"—Hunnius, Schmidt. "Ordinhadau Duw,"—Ambros, Ecumenius, Beza, Beausobre. "Addewidion a phrophwydoliaethau,"—Tholuck, Stuart. "Ysgrythyrau Duw,"—Barnes.

Dywedasai Paul yn y bennod o'r blaen, mai yn ol eu gweithredoedd y bernid yr Iuddewon yn gystal â'r paganiaid, ac y disgynai cosp drymach ar y drwg Iuddew goleu, nag ar y drwg bagan tywyll, nad faint manteision y naill ac anfanteision y llall; ïe, fod mantais fwy yr Iuddew yn cynnyrchu cosp *fwy* arno am ei bechodau. Yma rhagwelodd Paul wrthddadl naturiol yr Iuddew, canys clywsai hi, mae'n debyg, ganwaith, ar ddiwedd ei bregethau.

Hyn yw yr atebiad i wrthddadl yr adnod gyntaf, a chynnwysa wadiad pendant o'r casgliad a dynai yr Iuddew oddiwrth ei gyn-resymau ef. Nid yw yn canlyn, os bernir yr Iuddew yn ol ei weithredoedd, nad oes un fantais mewn bod yn bobl i Dduw, yn meddu dwyfol ddadguddiad, &c.

Ymadroddion *(ta logia)*, *oracles;* unrhyw atebiadau neu ddadguddiadau dwyfol. Cyfeiria y gair yma, ac yn adn. 3, yn benaf at yr

oraclau a gynnwysent yr addewidion ynghylch y Messia, y genedl Iuddewig, &c. Gyda golwg ar egwyddorion yr adnod, mae fel pe dywedai, fod mwy o oleuni, a manteision gwell, wedi eu cynnysgaethu i'r Iuddewon nâ neb arall. Rhoddai dyfodfa at yr ysgrythyrau fwy o oleuni; cynnygiai yr addewidion *ysbrydol* gefnogiad i fywyd o ffydd; ac mewn canlyniad i'r stad yn yr hon y gosododd dadguddiad dwyfol yr Iuddewon, iddynt hwy y rhoddwyd cynnygion cyntaf efengyl. Cawn ragor o'u breintiau yn 9, 1, 2. Dangosodd Duw *ymddiried* ynddynt wrth eu hanrhegu â'i wirionedd dadguddiedig, a chadwasant ef yn bur hyd y Messia; profi dwyfolder yr hwn, pan y daeth, oedd prif neges yr Hen Destament.

3 *Oblegid beth os anghredodd rhai? a †wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer?

* Rhuf. 10, 16; Heb. 4, 2. "Anufyddhaodd rhai," medd un Bibl Groeg tra pharchus. "Bu rhai anffyddlon,"—Stuart. † Num. 23, 19; Rhuf. 9, 6; a 11, 29; 2 Tim. 2, 13. "Diddymu ffyddlondeb Duw i'w gyfammod,"—Stuart, Tholuck, Barnes, Hodge, Conquest, A. Campbell. "Gwneyd gwirionedd Duw yn ddieffaith," medd Walford.

Ail wrth-ddadl yr Iuddew. "Onid oedd gwaith Duw yn gosod ei hun mewn cyfammod â hwynt, yn ei rwymo i'w cadw rhag colledigaeth?" Mae yn eglur mai eu cred oedd, y byddai holl Israel yn gadwedig, ar bwys y cyfammod Abrahamaidd; ac onide, y byddai Duw y cyfammod yn anffyddlawn. Tybient nad oedd yr addewidion yn dibynu dim ar eu bucheddau eu hunain. Antinomiaid yr hen gyfammod oeddynt. Cawn gip-olwg arnynt yn Matt. 3, 9; Ioan 8, 33; Rhuf. 2, 17; a 9, 6. "Mae i holl Israel ddwy ran yn y bywyd tragywyddol," oedd air aml iawn yn ngenau Iuddew.

*Ffydd Duw.* "A wna eu diffyddiaeth hwynt ffydd Duw yn ofer?" Neu yn well "A wna eu hanymddiried hwy waith Duw yn 'ymddiried ei ymadroddion' iddynt, yn ofer?"' Dealled y darllenydd mai yr un gair oedd gan y Groegiaid am *ffydd* ac am *ymddiried.* Pe dywedem mai at gyfundrefn y *Ffydd* y cyfeiria y gair *ffydd* yn ein testun, byddai raid i ni ddeongli yr *ymadroddion* yn adn. 1, yn *addewidion grasol* yn unig, a chyfyngu holl ddadguddiadau grasol Duw i'r genedl hon yn unig, o Abraham yn mlaen, yr hyn a gauai allan Melchisedec, a'r holl dduwiolion olynol i gyfammod yr Enwaediad sydd yn Gen. 17, oddiwrth y fraint o berthynu i'r Ffydd, drwy yr hon y cyfiawnheid pechaduriaid; ac os allan o'i chylch *hi*, allan oddiwrth faddeuant pechodau; canys dywed pen. 3, 25, 26, mai drwy gyfundrefn Y Ffydd yn ngwaed Crist y dangosai Duw y cyfiawnder mewn dadl, drwy faddeuant pechodau o ddechreu y byd hyd ddiwrnod Calfaria. *O, na;* nid iddynt hwy yn unig yr ymddiriedodd Duw oraclau y Ffydd i gyd. Rhaid fod llawer o gymmundeb â Duw yn cymmeryd lle yn barhaus, o'r tu allan i genedl Israel, o leiaf hyd Moses, os nad ar ol hyny. Oraclau y dosparth hwnw o deulu y Ffydd ag a berthynai i gyfundrefn yr Enwaediad a'r Ddeddf, yw yr hen Destament. O ran y Messïa a'i eglwys gyfoesol, yn benaf, y cadwyd yr hyn a gadwyd o'r

oraclau dwyfol ynghyd. Cymmaint ag oedd yn eisieu at wasanaeth y Testament Newydd yn unig a gadwyd. Felly nid i'r Iuddewon yn unig yr ymddiriedodd Duw oraclau y FFYDD, neu ddadguddiadau grasol, tra mai iddynt hwy yn unig yr ymddiriedwyd oraclau yr ENWAEDIAD a'r DDEDDF.

4 Na ato Duw: *eithr bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gelwyddog; megys yr ysgrifenwyd, †Fel y'th gyfiawnhaer yn dy eiriau, ‡ac y gorfyddech pan y'th farner.

* "Mae Duw yn eirwir,"—Un hen Fibl Groeg, y Vulgate, yn nghyda rhai Lladin ereill; felly biblau Cyprian a Morgan. Ioan 3, 33; Salm 62, 9; a 116, 11. "Yn hytrach bydded Duw," &c., medd Koppe. "Caffed Duw ymddangos yn eirwir," &c., medd ereill. "Duw yn deilwng o ymddiried,"—Tholuck, Stuart. "Pob dyn yn anffyddlon," medd Tholuck, a Belsham. "Cyfaddefer Duw yn eirwir, pe bai hyd y nod bob dyn yn gelwyddog," medd Conquest. † "Fel y'th gyfiawnhaer pan gondemniech," medd Stuart. "Yn dy ddywediadau," medd Conquest, a Walford. Salm 51, 4. ‡ "Pan farnech,"—Conquest, Stuart, A. Campbell, a'r Hebraeg.

*Na ato Duw.* Nid oes geiriau tebyg i hyn yn y testun gwreiddiol, yn un man. "Dim mewn un modd," yw yr ystyr gwreiddiol; a thebygol fod y cyfieithwyr Cymreig wedi benthyca y "Na ato Duw" oddiwrth y Saeson, yn mysg pa rai yr oedd y fath air *nacaol* yn beth sathredig er ys dau can mlynedd yn ol. Dylid ei adael heibio, oherwydd y mae yn arferiad rhy ysgafn o enw y Goruchaf.

*Geirwir:* fel pe dywedasai efe yngwres ei athrylithr,—"Troed pob dyn allan yn gelwyddog, neu dorwr ammod â Duw, fel y troes yr Israel allan ag ef, ni wnelai hyn namyn arddangos Duw ei hun yn fwy geirwir a ffyddlon." Ystyr y gair yna yw *ffyddlon*, yr hyn yw geirwiredd cyfammodwr. "Nid oes un pall yn ffyddlondeb Duw, (meddai yr apostol) i'w ganfod mewn condemnio yr Iuddewon, canys gwnaethpwyd addewidion grasol a nefol Duw, i blant cyfundrefn y FFYDD yn unig, o bob oes a chenedl heb wahaniaeth; ac addewidion cyfundraethol yr ENWAEDIAD a FFYDD i'r rhai o blant Abraham ac Israel a geid yn cadw eu cyfran eu hunain o ammodau y cyfryw gyfammodau. Ciliodd Israel fel cenedl oddiwrth gyfammod *eu* Duw, sef eu dyledswyddau ato fel eu JEHOFA, ac yr oedd yn y cyfammod hwnw, fel y gwelir yn Deut. 28—32, ammod o du Dduw i'w cospi am y cyfryw wrthgiliad. Felly ffyddlon, *geirwir* oedd Efe, er eu bod hwy dan y barnau fel y cenedloedd ereill, i ba rai nid oedd Jehofa yn Dduw.

5 *Eithr os yw ein hanghyfiawnder ni yn canmol cyfiawnder Duw, pa beth a ddywedwn? †Ai anghyfiawn yw Duw, yr hwn sydd yn dwyn arnom ddigofaint? (‡yn ol dyn yr wyf yn dywedyd).

* "Yn peri mwyhad ar gyfiawnder Duw," medd Belsham. "Amlygu yn fwy gyfiawnder Duw,"—Wakefield, Hodge, Walford, Tholuck. "Ni (Iuddewon)," medd rhai. "Ni (Gristionogion)," medd ereill. "Ni (bawb)," medd Tholuck. "Os yw ein hanffyddlondeb ni yn hynodi ffyddlondeb Duw,"—Amryw. "Cyfiawnder barn Duw,"—Stuart, a Walford. "Cymmeriad cyfiawn a santaidd Duw,"—Barnes. "Perffeithrwydd moesol Duw,"—Hodge. † "Yr hwn sydd yn dwyn arnom gosp," medd Hodge, Barnes, Belsham, Stuart. "Yr hwn sydd yn dial,"—Conquest, A

Campbell. "Os cospa efe," medd Walford. "Onid yw Duw anghyfiawn," &c.,—Turretin. ‡ "Yn ol dyn, &c.,"—Nid yw yn y Bibl Ethiopaeg. "Dwyn arnom ddigofaint yn ol dull dynion," meddai biblau Groeg Origen. "Yn ol arfer dynion yr wyf yn dywedyd," medd Belsham, a Stuart. "Yr wyf yn llefaru fel y deallo dynion," medd rhai. "Fel yr ymddengys y pwnc i ddynion,"—Barnes. "Fel y llefara y dynion hyny,"—Amryw. "Fel y llefara'r gwrthwynebwyr," medd rhai.

Hon yw trydedd wrth-ddadl yr Iuddew. "Mae nid yn unig ffyddlondeb Duw (meddent) wedi ei wystlo i'n iachawdwriaeth ni, ond hyd y nod y ffaith o'n bod ni yn anghyfiawn, yn arddangos ei gyfiawnder ef yn fwy amlwg; ac o ganlyniad, byddai anghyfiawn ynddo ein cospi ni, am yr hyn sy'n cynnyddu ei ogoniant ei hun."

"Onid anghyfiawn yw Duw, &c.," yw y cywir ddeongliad; canys iaith yr Iuddew Antinomaidd yw, yngenau yr apostol; ac o eisieu deall felly, aeth Tholuck ac ereill i orfod gosod cwpl o eiriau i mewn, er mwyn gorphen y synwyr, fel y dywedent!

Cyfiawnder Duw; ei ffyddlondeb, a'i uniondeb, medd y beirniaid, gan osod nas gwn pa sawl ystyr i'r gair bach hwn o fewn cylch yr epistol. Pa esboniwr bynag a orfoder i osod y naill ystyr yn y naill fan, a'r ystyr arall yn y llall, mae yn llawn amser iddo adael heibio, naill ai ei gredo dduwinyddol, neu bin esboniadol. Yr un ystyr a welir, debygwyf fi, i'r gair yn y man yma, ag yn y manau ereill â'i cynnwysant. *Eu hanghyfiawnder hwy* oedd beth nas arferasent ei gyfaddef. O ddechreu yr epistol, ac yn neillduol yn pen. *ail*, profasai Paul, nad faint oedd o gyfiawnder yn rhad gan Dduw, mai anghyfiawnder yn unig oedd yn amlwg yn eu cyfundrefn grefyddol hwy, yr hon a gyfenwai efe yn Gnawd, fel y cawn weled wrth nesu yn mlaen." Felly ynte (meddent megys) pa wahaniaeth i Dduw a wna baich ein pechodau, gan mai yn rhad y cyfrana efe ei gyfiawnder? Cyfiawnhaed efe nyni, a chaiff lawer mwy o ogoniant oddiwrth ei waith yn gwneyd hyny, nag a gawsai oddiwrth ein cyfiawnhau pe yn ysgafnach ein baich o anghyfiawnder. Canmol y cyfiawnder a elwi di yn berthynol i'r Ffydd, a wnelai ein hanghyfiawnder ni; ac felly, onid anghyfiawn, ar dir gras yn Nuw, fyddai dwyn arnom ni ei ddigofaint." "Beth ynte a ddywedwn ni," oedd ffurf ymadrodd a ddysgasai Paul wrth draed y Rabbi Gamaliel, canys ceir yn britho yr ysgrifeniadau Rabbinaidd.

*Yn ol dyn;* "llafaru fel y dynion hyny yr wyf," yw un o'i ystyriaethau gan y prif feirniaid, yr hwn, gan ei fod y mwyaf naturiol, a ddewiswyd yn y cyfieithad.

6 *Na ato Duw: canys wrth hyny pa fodd y barna Duw y byd?

* O'r "canys" i'r diwedd nid oedd yn Mibl Chrysostom. Gen. 18, 25; Job 8, 3; a 34, 17. "Yr eistedd Duw i farnu, &c," medd Hodge, Tholuck, Grotius, Beza, Origen, Bucer. "Y condemnia Duw y byd paganaidd,"—Limborch, Koppe, Barnes (debygid), Venema, Cramer, Stolz, Reiche, Ernesti.

"Os yn ol eich twyll-resymiaeth hwn y byddai (meddai yr apostol); sef, fod y gogoniant mwy a ennillai Duw wrth gyfiawnhau pechadur mawr nag un llai, yn ei rwymo i fod yn anghyfiawn wrth beidio â'i gyfawnhau yn ddiammodol ar ei fuchedd; yna bydd gwaith Duw yn condemnio y byd paganaidd gyda chwi yn y farn, yn groes i drefn ei ras cyfiawnhaol; canys cawsai, yn ol eich egwyddor hon, fwy o ogoniant i'w

gyfiawnder drwy gyfiawnhau pawb, nac wrth gondemnio; ac yna, os na all efe gondemnio neb o'r anfad euogiaid sydd yn y byd, rhag cymmylu ei ras drwy hyny, i ba beth y casgla efe hwynt i'r farn? canys credwch yn gyffredinol yn sicrwydd y farn ddiweddaf."

7 Canys os bu *gwirionedd Duw drwy fy nghelwydd i yn helaethach i'w ogoniant ef, paham y'm bernir innau etto megys pechadur?

* "Ymddygiadau ffyddlon Duw, drwy fy anffyddlondeb i,"—Stuart, Hodge, Conquest. "Gwir grefydd Duw drwy fy eilunaddoliaeth i,"—Reiche. "Ffyddlondeb Duw i gyflawni ei fygythion,"—Barnes. "Os dadblygwyd yn eglurach wirionedd Duw," medd Walford. "Gwirionedd ymarferol neu santeiddrwydd Duw," medd Tholuck.

Gwrth-ddadl nesaf yr Iuddew antinomaidd sydd yma, yr hon nid yw ond ad-lefariad o'r hyn a gawsai yn adn. 5, ganddo ef. *Celwydd* yw anffyddlondeb, a *gwirionedd* yw ffyddlondeb i'r cyfammodau dan sylw.

8 *Ac nid (megys y'n ceblir, a megys y dywed rhai ein bod yn dywedyd) Gwnawn ddrwg fel y del daioni? y rhai y mae eu damnedigaeth yn gyfiawn.

* "Ac a ddywedwn ni, gan hyny (megys y'n ceblir, &c.," medd Conquest, a Stuart. "Ac na wnawn ddrwg fel y del daioni (megys y'n ceblir, &c." medd y Vulgate, Erasmus, Beza, Baumgarten. "Ac ni ddywedwn (megys y'n ceblir, &c.," medd Erasmus, Calvin, Koppe. "Ac ni ddylem ddweyd (megys y'n ceblir, &c.," medd Louis de Dieu, S. Schmidt. "Ac ni ddylem wneyd (megys y'n ceblir, &c.," medd y Bibl Arabaeg, Luther, Bengel, Heumann. "A phaham na allem, megys y mae rhai, gan ein henllibio, yn dywedyd,—gymmeradwyo gwneyd drwg fel y delo daioni?"—Chrysostom, Theophylact, Ecumenius, Tholuck, Barnes. "A phaham na allem ddywedyd (fel y cableddus sieryd rhai ein bod yn dweyd), Gwnawn, &c.,"—Walford. Rhuf. 5, 20; a 6, 1, 15.

Ysbryd yr ymresymiad tywyll hwn sydd fel hyn: "Ac oni ddywedwch yn hytrach [ar unwaith] 'Gwnawn ddrwg fel y delo daioni,' megys y'n ceblir ni, [yr apostolion], ac megys y dywed rhai ein bod ni [ein hunain] yn dywedyd, y rhai y mae eu damnedigaeth yn gyfiawn." Neu "Paham na ddywedwch ar unwaith, fel y cableddus ddywedir ein bod ni ein hunain, o ran hyny yn pregethu, 'Gwnawn ddrwg fel y delo daioni mwy allan o'r gras â'i maddeua." "Po gwaethaf y bo'm (meddai Paul), goreu i gyd, yn ol eich ymresymiad chwi." "Os daw mwy o ddaioni drwy gyfiawnhau yn rhad bechadur mawr, bydded i ninnau bechu mwy, fel y caffo Duw gyfleusdra i ddangos ei ddaioni tuag atom." Dyna egwyddor yr ymresymiad. Tynodd Paul yr Antinomwr Iuddewig ymlaen nes gwelai y gosodiad mwyaf cyfeiliornus oedd yn bosibl. Felly yn ei egwyddor ei hunan yr oedd, yn wir, ei arfer ef. Felly y gwnaeth efe hefyd yn y *seithfed* bennod o'n epistol; tuag at iawn ddeall prioddull ymresymiadol Paul yn yr hon ceir llawer o gymhorth oddiwrth dalu sylw teilwng i'w ddull tebyg yn y ddosran dan sylw. Ar ben Antinomiaeth Iuddewig y cura Paul drwy yr holl epistol, gan mwyaf; a cheir gwersi eglur ynddo i ninnau sydd yn nghymysg â llawer o Antinomiaid Cristionogol.

## § 10. Ymarweddiad yr Iuddew yn gondemniedig trwy dystiolaeth ei oraclau ei hun. Pen. iii, 9—20.

**Profasai** yr apostol eisoes, drwy dystiolaeth anwadadwy, i'r Iuddewon a'r Cenedloedd, fod y dosparth olaf a enwyd yn gondemniedig ar dir eu hathrawiaethau yn gystal â'u bucheddau. Aeth ar ol hyny at bwnc yr Iuddew; ac ar ol profi mai yn ol eu gweithredoedd, ac nid yn ol breintiau amserol cyfundraethau **Enwaediad** a'r **Gyfraith**, y barna Duw bawb oll yn y diwedd, a'r Iuddew, gan hyny, fel ereill; dangosodd nad oedd loches i'r Iuddew mewn esgusion o anwybodaeth, canys profodd ei fod yn gosod ei hunan i fyny yn athraw i'r byd o baganiaid, tra ar yr un pryd yn gwadu â'i fuchedd bob gair o wersi rabbinawl ei dafod a'i ffurfiau. Ar ol, meddaf, dynu yn mlaen hyd yna, yr oedd yn gorphwys ar yr apostol sefyll ychydig i brofi ei gyhuddiad yn erbyn buchedd yr Iuddew; a hyn a wna efe, hyd y nod allan o'i Fibl ei hunan, yn y ddosran hon.

Mae esbonwyr wedi ymddyrysu llawer yn y fan hon, oherwydd fod Paul yn dwyn allan ddrygioni y rhai gwaethaf o'r Iuddewon yn erbyn cyfeiliornad yr Iuddew oedd yn Rhufain, gan adael lle iddo yntau lechu, fel y tybiant, dan y ffaith, nad ei fuchedd ef oedd yr un anfad a brofasid o'r Hen Destament. Eithr pe cofiasai yr esbonwyr mai ymresymu yn nghylch y cyfundraethau yr oeddid, arbedasai iddynt yr holl ddyryswch hwn. Pe profasid fod Dafydd a'r prophwydi ereill, yn condemnio dim ond ychydig o blant y cyfammodau Abrahamaidd a Moesenaidd, buasai yn ddigon o brawf i gau genau yr Iuddew hwn; canys ei gyfeiliornad ef oedd yn gyfeiliornad cyfundraethol, ac nid personol yn unig, sef fod Duw yn rhwym dan y cyfryw gyfammodau, i gadw pob un o'u deiliaid, yn hollol ddisylw ar eu buchedd, os byddent dan ddim ond nôd yr enwaediad, ac yn cydymffurfio â'r defodau Moesenaidd, a'r traddodiadau Phariseaidd ynghyd, ag a gydiasid wrth yr unrhyw gyfammodau. Galwent hwy hyn oll yn *weithredoedd y ddeddf*, tra galwai Paul y cryaswth yn *gnawd*, gan gymhwyso y gair *gweithredoedd y ddeddf* at osodiadau Moses a'r prophwydi yn unig. Felly y cawn Paul yn y ddosran bresennol, yn profi allan o Fibl yr Iuddew, fod bucheddau rhyw rai yn ddamniol, ac yn eu profi yn amddifaid o *gyfiawnder cyfiawnhaol* Duw, pwnc mawr arholiad yr epistol; ac ar ol darfod dyfynu ei holl brofion ysgrythyrol, try yn adn. 19 at yr Iuddew, gan ddywedyd yn dra rhesymiadol, ei fod yntau o fewn y dosparth, sef dosparth y genedl gyfammodol; ac os yn y cyfryw ddosparth, yna dan y condemniad; ac os dan y condemniad, yna yn sicr amddifaid o'r *cyfiawnder* mewn dadl. Ar ei bwnc mawr y mae ein hapostol yn barhaus: ond cryn dasg yw ei gael allan ar rai amgylchiadau.

Yma etto cawn ein holl esbonwyr, yn mron, yn para yn y dyryswch. Methant ddeall pa fodd yr arferai Paul gyhuddiadau a wnaethid yn erbyn dynion ereill, mewn oesoedd ereill, yn erbyn ei oes ei hun; ïe, yn erbyn Iuddewon Cristionogol a moesol yn eglwys Rhufain. Dywedant hwy mai ceisio profi cywirdeb cyhuddiad y mae Paul. Felly y caniataf finnau. Dywedent *hwy* nad yw dyfyniadau Paul yn profi ei bwnc, heb i ni ganiatâu mai benthyca yr Hen Destament a wnaeth efe, oddiwrth ei amcan cyntefig, gan y prophwydi. Rhaid i mi anghytuno â hyn, a dywedyd yn ddibetrus, mai cynt y cyfaddefwn fy mod yn methu deall cyfundrefn Paul o ddyfynu, nag y meddyliwn am ei gyhuddo o'r fath annhegwch ar bwnc o ddadl, nac yn wir un amgylchiad arall. Na; profi ei bwnc yn eglur y mae Paul, a'r pwnc hwnw ydoedd, fod amryw o ddeiliaid Moeseniaeth yn euog o'r cyfryw ddrygioni ag a'u hamddifadai byth, yn ol eu barn eu hunain, o *gyfiawnhad* ar dir buchedd, neu gyfiawniadau cyfundrefn **deddf**. Ac os profodd efe fod rhywrai o honynt, o foreu mawr Sinai yn mlaen, dan y cyfryw euogrwydd, oni phrofodd efe yn eglur ei bwnc? Tybiwyf mai do; nid ar dir benthyca ei dystiolaeth allan o'i pherthynas naturiol a dwyfol, ond drwy ei chymmeryd fel yr oedd ar lawr, a'i gadael felly eilwaith. Apostol ysbrydoledig yn benthyca *tystiolaethau* dwyfol oddiwrth eu dwyfol amcan, yn wir! Etto, yn y tir yna yr wyf yn cael, yn ddiau, bob esboniwr sydd o'm blaen, ac o fewn fy nghyrhaedd. Pa ryfedd, gan hyny, fod eu cyfundrefn hwy, a'r eiddof finnau, mor wahanol i'w gilydd o ddechreu hyd ddiwedd yr epistol!

9 Beth gan hyny? *a ydym ni yn fwy rhagorol? Nac *ydym* ddim; †canys ni a brofasom o'r blaen fod pawb, yr Iuddewon a'r Groegwyr dan bechod;

* "A ydym ni yn rhagori ar y paganiaid?" medd Conquest, A. Campbell, Belsham, Walford. "A oes un flaenoriaeth genym ni, Iuddewon?" medd Stuart, Barnes, Hodge. "Pa ffug-esgus allwn ni wneyd, yn awr?" medd y biblau Syriaeg ac Arabaeg. Felly Koppe hefyd. "A ragorir arnom ni gan y paganiaid?"—Wetstein. † "Dan arglwyddiaeth pechod," medd Tholuck, a Stuart. Mat. 8, 9; Gal. 3, 23. "Cyhuddasom o'r blaen, yn gystal Iuddewon â, &c.,"—Walford, a Stuart. "Gwnaethom yn gadarn ein cyhuddiad, fod pawb, &c.,"—Hodge.

"Beth yn awr a ellir gasglu oddiwrth hyn oll?" meddai megys y gwrth-ddadleuwr Antinomaidd. "Pe caniateid fod yr hyn oll a ddywedaist ti Paul, yn wir, pa ragoriaeth neu fantais a ellir, yn ngwyneb y cwbl, ei adael i'r Iuddew? canys gwyddost, a chaniateaist y fod rhagoriaeth yn berthynol iddo." "Canbelled ag yr â eu dwyfol ordinhadau, llawer yn mhob rhyw fodd; eithr o ran eu gwir nodweddiad, a'u gobeithion o flaen y frawdle—DIM MEWN UN MODD!" oedd y difrifol a gonest atebiad. "Dim gyda golwg ar y cyfiawnder mewn dadl; canys nid drwy hawliau, na nodau cenedlaethol, nac o waed, nac o ewyllys y cnawdol Phariseaeth, y mae y cyfiawnhad hwn yn deilliaw; ond o ras yn unig."

PROFASOM *(proetiasametha)*, *to substantiate, a charge;* profi, cadarnhau cyhuddiad mewn llys, medd rhai; eithr gwell yw ystyr cyffredin y gair, sef *we have allready made the charge,* "gwnaethom eisoes y cyhuddiad, a bellach awn at ei brofi, a'i brofi allan o'ch anwyl oraclau didwyll eich hunain."

Arholiad III.—DAN BECHOD (*uph amartian*). Yma, gyda pherwyddiad (bod, *to be*) o arosiad, arwyddoca arosiad, ymorphwysiad, dan bechod. Mewn ffigiwr yr arferir yma, dan yr ystyriaeth o fod *pechod* yn sefyll dan y cymmeriad o arglwydd. Gan fod yr ymadrodd hwn yn sicr o'n cyfarfod yn aml yn nghorff yr epistol. cymhwys fydd gwneyd un arholiad i'w ystyr pan mewn ffigiwr, megys "dan bechod," "dan y ddeddf," "dan ras," &c.

"Minnau wyf ddyn *dan* awdurdod, a chenyf filwyr *danaf.*" Mat. 8, 9; Luc 7, 8.

"Cyd-gauodd yr ysgrythyr bawb *dan* bechod."

"Cyn dyfod y Ffydd, ein cadwyd *dan* Ddeddf."

"Nid ydym mwyach *dan* athraw." Gal. 3, 22, 23, 25.

"*Dan* lywodraethwyr y mae hyd, &c." Gal. 4, 2.

"Nid ydych chwi *dan* deddf, eithr *dan* gras." Rhuf. 6, 14, 15.

"I'r rhai *dan* deddf, megys *dan* deddf, &c." 1 Cor. 9, 20.

"Wedi ei wneuthur *dan* deddf." Gal. 4, 4.

"Fel y prynai y rhai oedd *dan* deddf." Adn. 5.

"Dywedwch chwi i mi, y rhai a ewyllysiwch fod *dan* deddf, onid ydych yn clywed y ddeddf?" Gal. 4, 21.

"Os gan yr Ysbryd y'ch arweinir, nid ydych *dan* deddf." Gal. 5, 18.

"Mae cynnifer ag sydd berthynol i weithredoedd deddf, *dan* felldith." Gal 4, 10.

"Pan yn blant, yr oeddym *dan* elfenau athrawiaethol y byd Iuddewig a cholledig," Gal. 4, 3.

Ac ar yr un dull yn hollol y deallir y gair *dan* yn ein testun: "Fod pawb oll *dan* arglwyddiaeth—dan ddeddf, PECHOD, prif ormeswr y byd. Cawn yr un ffigiwr etto yn aml yn ein hepistol; ac os tâl y darllenydd sylw manwl i'r dyfyniadau uchod, gall ddeall y ffigiwr o *Bechod, Deddf, Ffydd, Gras, &c.*, fel arglwyddi, yn gystal â phed ysgrifenid iddo draethawd helaeth ar y pwnc.

10 Megys y mae yn ysgrifenedig, *Nid oes neb cyfiawn, nac oes un:

* Salm 14, 1—3; a 53, 1. "Nid oes neb o'r Iuddewon, &c.," medd Chrysostom, Calvin, Grotius, Tholuck, Flatt, Barnes. "Neb oes neb yn gwneuthur daioni,"—Y Salmydd Hebreig.

11 *Nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw.

12 †Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, ‡nac oes un:

* Salm 14. 2. "Neb yn iawn-ddeall am Dduw,"—Hodge. "I edrych a oedd neb yn deall, sef yr hwn a geisiai Dduw,"—Y Salmydd. † "I weled ai myned oddiar y ffordd a wnaeth pawb, a chydfyned yn llygredig," medd y Salm Hebreig. "Aethant i gyd yn llygredig,"—Groeg. ‡ "Dim hyd y nod un,"—Groeg. "Mae hadau mewnol o anfadrwydd ynddynt oll,"—Hebraeg y Salm.

Beth yw yr amcan yma? Amlwg, mai profi pwnc mewn dadl ydyw. Ond, pa beth yw y pwnc hwnw? Nad oedd gan yr Iuddewon un hawl i ragoriaeth ar y cenedloedd ar dir ymarweddiad. Tebygol mai at yr Iuddew y cyfeiria Paul drwy y dyfyniadau hyn.

Dyfyniad yw hwn allan o Salm 14, 1, drwy grynsoddi yr ystyr yn hytrach nâ'r geiriau. Ailadrodda Salm 56, yr un geiriau.

*Hebraeg Salm* xiv, 1—3,—"Neb yn gwneyd daioni. Edrychodd yr Arglwydd i wared o'r nef ar feibion dynion, i weled a oedd yno neb yn deall, *ac* yn ceisio Duw. O'r neilldu y maent oll; yn fryntion maent gyda'u gilydd: neb yn gwneyd daioni—dim un."

*Septuagint yr un lle*,—"Nid oes neb yn gwneyd daioni: nac oes, ddim un. Edrychodd yr Arglwydd i wared o'r nefoedd ar feibion dynion, i edrych a oedd neb a chanddo ddeall, neu yn ceisio Duw. Aethent oll o'r neilldu, daethent oll yn ddiffaith. Nid oes neb yn gwneyd daioni; nac oes, un.

Soniasai y Salmydd am "fwyta fy mhobl," yr hyn a brawf mai at *ddosparth* yn unig o'r genedl y cyfeiria yn yr ymadroddion dyfynedig gan Paul. Nid oedd dim a fynai Paul yn y desgrifiadau hyn âg anghrhedinwyr ei oes, yn mhellach na chyfodi addysg oddiwrth y geiriau iddynt, yr hyn yn wir fyddai yn gymhwys i gredinwyr wneuthur hefyd atynt eu hunain.

13 *Bedd agored *yw* eu ceg; a'u tafodau †y gwnaethant ddichell: gwenwyn aspiaid *sydd* dàn eu gwefusau:

* Salm 5, 9, yn ol y Septuagint. "A'u tafodau gwenieithiant,"—Hebraeg y Salm. † "Arferasant ddichell,"—Walford.

*Hebraeg Salm* 5, 9; a 140, 3,—"Eu ceg sydd fedd agored, ac â'u tafod gwenieithiant. Gwenwyn nadredd sydd dan eu gwefusau."

*Septuagint yr un lle*,—"Eu ceg sydd fedd agored: â'u tafodau arferasant ddichell. Gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau."

Wrth yr hyn y gwelwn, mai allan o'r hen fibl Groeg, yn hytrach na'r un Hebreig, y dyfynodd yr Apostol. Yr egwyddor yw: "Megys y daw allan o'r bedd agerdd ffiaidd a heintus."

Yr asp sydd fath o neidr, yr hon y mae ei gwenwyn yn meddu y fath

fywiogrwydd treiddiol, fel y mae yn lladd o'r bron gydag iddo dreiddio i'r archoll, a hyny yn anfeddyginiaethadwy. Creadur bychan yw, yn llechu yn aml yn y tywod ar ochr yr heol, ac yn pigo cyn i'r teithiwr allu ei chanfod. Ceir gan amlaf yn Lybia a'r Aipht. Eithr nid yw dysgedigion yn cytuno am y rhywogaeth o sarff a arwyddoceir gan y bibl Hebraeg; er y gallwn i adael ar Paul i ddeall ei fibl Hebreig, a chredu yn hawdd mai *asp* yw y deongliad, gan iddo ef ddywedyd hyny, a'r Deg-a-thrugain hefyd o'i flaen.

14 *Y rhai y mae eu genau yn llawn melldith a chwerwedd.

15 †Buan yw eu traed i dywallt gwaed,

16 ‡Distryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd:

17 §A ffordd tangnefedd nid adnabuant.

18 ||Nid oes ofn Duw gerbron eu llygaid.

* "Llawn anudon," medd Septuagint y Salm 10, 7. "Melldith a thwyll,"—Hebraeg y Salm. "Llawn chwerw felldithiadau," medd Hodge. † Esay 59, 7, 8. "Llofruddiant heb ruso nac edifarhau,"—Hodge, a Stuart. ‡ "Chwalant ar eu hol ddystryw, a dinystr bob cam a gerddont," medd Stuart, Barnes, Hodge. "Ac aflwydd yn eu ffordd o fywioliaethu," medd Tholuck. Esay 59, 7. § "Ffordd bywyd, o'r hon y tardd iachawdwriaeth,"—Tholuck. "Nis cydnabyddasant,"—Tholuck. || Salm 36, 1. "Nid oes barch i Dduw,"—Barnes. "Dim ofn digio Duw," medd Stuart.

*Hebraeg Salm* 10, 7,—"Ei enau sydd yn llawn rheg a thwyll."

*Septuagint yr un lle*,—"Ei enau sydd yn llawn rheg a chwerwdod."

*Hebraeg Esay* 59, 7, 8,—"Rhed eu traed i ddrygioni, a brysiant i dywallt gwaed. Difrod a dinystr sydd yn eu llwybrau. Ffordd tangnefedd nid adnabyddant."

*Septuagint yr un lle*,—"Rhed eu traed i ddrygioni, cyflymu ydynt i dywallt gwaed. Dystryw a thrueni sydd yn eu ffyrdd, a ffordd tangnefedd nid adnabyddant."

*Hebraeg Salm* 36, 1,—"Dim ofn Duw gerbron ei lygaid."

*Septuagint* yr un modd.

Cymhwysid gan y prophwyd at ran fawr o'r genedl yn ei oes, yr hyn sydd ddigon i resymiad yr apostol, heb son gydâ'r esbonwyr, am yr anhawsder o geisio eu cymhwyso at Iuddewon ei oes ei hun, yr hyn ni fuasai yn ddim llai na chroesi gair Duw oddiwrth ei amcan.

Yr oedd *ofni* Duw yn un o brif egwyddorion crefydd Moeseniaeth, ac, yn wir, bob goruwchwyliaeth cyn-bentecostaidd; ond yn awr daeth ysbryd mabwysiad yn ei le, can belled ag yr oedd arswyd nesâu at Dduw yn y ddyledswydd. "*Nyni* ydym *blant* i Dduw trwy gyfundrefn y Ffydd yn Nghrist Iesu."—Gal. 3, 25.

19 Ni a wyddom hefyd am ba bethau bynag y mae y *ddeddf yn ei ddywedyd, mai †wrth y rhai sydd dan y ddeddf y mae hi yn ei ddywedyd: ‡fel y cauer pob genau, ac §y byddo yr holl fyd dan farn Duw.

* "Yr Hen Destament yn ei ddywedyd," medd Tholuck, Stuart, Flatt, Barnes. "Y ddeddf [yn unig] yn ei ddywedyd,"—Calovius, Ammon. "Yr holl ysgrythyrau dadguddiedig,"—Hodge. Ioan 10, 34. † "Wrth y rhai sydd yn [nghyfundrefn] y ddeddf,"—Groeg. ‡ "Fel [o ganlyniad, a nid o amcan] y caner, &c.,"—Stuart.

"'Fel [o amcan] yr amddifadid dynion o bob esgus,''—Hodge. "Nes y mae pob genau yn cau,'' medd Belsham. § "Ac y safo'r holl fyd yn gondemniedig gerbron Duw,'' medd Walford, Stuart, Conquest. Job 5, 16; Salm 107, 42.

Y DDEDDF; sef y llyfr o ba un y dyfynais yn awr,'' fel pe dywedasai; sef yr Hen Destament.

*Y rhai sydd dan y ddeddf*, sef dyscyblion Moses. Nid wyf fi yn deall pa fodd y gallai Chrysostom, Calvin, Grotius, a Tholuck, feddwl "fod pa beth bynag a ddywed yr Hen Destament yn cael ei ddywedyd am bawb fo dano.'' Beth? Onid oedd Dafydd, a'r saint, y rhai a eilw efe yn yr un Salm "fy mhobl,'' dan yr Hen Destament? ac a oedd efe yn dywedyd, "Buan yw eu traed i dywallt gwaed, &c.'' am danynt hwy yn mysg ereill? Gwelwn mai gadael i bob dyfyniad ei hen ystyr gyntefig yr oedd Paul. Mae gwahaniaeth rhwng dywedyd gyda Paul "Wrth y rhai dan y ddeddf y dywed,'' a dywedyd gydâ'r esbonwyr, mai "wrth *pawb* oedd dan y ddeddf y dywed.'' Nage; Pan lefaro yr Hen Destament yn gyhuddol neu gymmeradwyol, nid wrth bawb sydd dano y dywed efe; ond wrth y gwrthrychau neillduol dan sylw.

*Fel y caner pob genau*; pa fodd y cauid pob genau heb osod pob un dan y cyhuddiadau a nodwyd? Dyna anhawsdra yr esbonwyr; yr ateb sydd eglur. Gan nad eisieu cyhuddo Iuddewon ei oes, ond yn hytrach planty gyfundrefn, yr oedd Paul, yr oedd yn gallu dwyn cyhuddiad llwyddiannus yn erbyn rhyw rai o honynt yn ddigon i gau pob genau am byth, rhag haeru yn hwy, fod eu breintiau yn unig yn eu cyfansoddi o anghenrheidrwydd yn rhagorach na'r Cenedloedd. Dyna fel y cauid pob genau, ac nid drwy osod hen siarad o Dafydd ac Esaia, yr hwn a lafarasid wrth ddynion ereill yn unig, fel prawf o euogrwydd dynion a fodolent yn mhen amryw oesoedd ar eu hol. Gan nad oedd y dyfyniadan yn brophwydoliaeth, ni allasai Paul ar un cyfrif eu cymhwyso fel *profion* o nodwedd ei gydoeswyr.

*Yr holl fyd dan farn Duw;* nid drwy eu gosod *oll, bob enaid*, dan y cyhuddiadau trymion a wnaed yn pen. 1, a 3, o'n hepistol, fel y tybia rhai esbonwyr, drwy feddwl am hadau pob pechod yn mhob dyn, a'r cyffelyb, heb un sail yn y testun i hyny; eithr drwy gadw golwg ar berthynas arholiad mawr yr epistol â chyfundraethau bostiedig philosophyddion ac Iuddewon o gyrhaedd y dedwyddwch mewn dadl. Yr oedd Paul wedi cau genau y pagan philosophaidd o'r blaen, eithr yr oedd yr Iuddew heb ei ddystewi o hyd. Yn awr dystawwyd yntau; ac yna mae pob genau yn nghau, a'r holl fyd "o Genedloedd ac Iuddewon dan *gondemniad Duw*.'' Mae pob cyfundrefn ac oracl yn ddystaw. Aeth *Doethineb ddynol*, ac *Enwaediad*, a *Deddf* yn fud gydâ'u gilydd. Ni oddefodd nodwedd eu deiliaid i'r apostol dremio arnynt. Condemniodd nodwedd anfad dosparth lliosog o ddeiliaid pob un o'r cyfundraethau bostiedig hyn, y gyfundrefn yr oeddynt dani. Cyfaddefid fod pwy bynag a feddai hawl i ddedwyddwch yn meddu yr hyn a ddyhuddai lid Duw, ac a ddiwygiai ddyn. Cytunai pagan ac Iuddew mai mewn rhyw fath o aberth neu *gyfiawnder cyfiawnhaol* y cartrefai achosiad y cyfryw ddedwyddwch a thangnefedd. Galwent pa beth bynag a foddlonai Dduw i'r perwyl yn *gyfiawnder Duw.* Honai pob cyfundrefn baganaidd ei bod yn meddu y cyfryw ddyhuddiant dwyfol ynddi ei

hun. Condemniai yr Iuddewon y cwbl, a honent mai yn nghyfiawnder Abraham, yr hyn a gyfrifasid iddo, yn ol Gen. 15, 6, yn nghyd ag yn nghyfiawnder y *Ddeddf* iddynt hwy, yr enwaediad, y cartrefai y cyfiawnder hwn. Paul yntau a hònai nad yn y naill na'r llall, ond yn y *Ffydd*, sef gras yn unig, yn dod drwy ymddiriediad yn Nuw drwy bob anhawsderau, y ceid y cyfiawnder mewn dadl. Mor resynus yw gweled gwyr dysgedig fel Stuart, yn gorfod gosod Paul i beidio ymresymu yn y bennod hon, rhag ofn ei osod felly i ymresymu oddiar seiliau anghymwys allan o'r Hen Destament. Gwthiasid hwynt i'r anhawsdra hwn drwy osod yr apostol ar y dechreu i ddadlu yn erbyn crefyddau personol yn lle cyfundraethol ei gydoeswyr paganaidd ac Iuddewig. Nid ymddengys Walford, na Barnes, na Hodge, fel yn canfod nemawr anhawsder mewn dim, eithr ânt yn mlaen, megys a'redig ag ogau yn lle yr aradr, o'r dechreuad, a chyrhaeddant y dalar heb gwrdd ag un gwreiddyn na maen tramgwydd ar hyd y maes i gyd.

20 Am hyny *drwy weithredoedd y ddeddf ni †chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef; ‡canys drwy y ddeddf *y mae* adnabod pechod.

* "Allan o weithredoedd deddf,"—Groeg. Salm 143, 2; Act. 13, 39; Gal. 2, 16; a 3, 11; Eph. 2, 8, 9; Titus 3, 5. "Drwy y gweithredoedd a ofyna y ddeddf,"—Barnes, Stuart, Hodge. "Y ddeddf seremoniol yn unig," medd Ambrosiast, Theodoret, Theophylact, Morgan, Erasmus, Lapide, Grotius, Koppe, Ammon, Lombard, "Y ddeddf foesol," medd Stuart, Storr, Flatt, Tholuck. "Ufydd-dod i Dduw yn gyffredinol," medd Hodge. † "*Cyfiawnhau* yw ymddwyn at y pechadur fel at un a berffaith gadwasai yr holl ddeddf," medd Stuart, a Barnes. ‡ "Trwy bob deddf yn gystal â'u gilydd,"—Barnes.

GWEITHREDOEDD Y DDEDDF. Pa un ai y ddeddf seremonïol, ynte y farnol, ynte y foesol, ynte y tair fel eu rhenir yn hollol anysgrythyrol gan ddyrys-esbonwyr yr oesoedd—a feddylir yma: Gwel TRAETHAWD ar y diwedd; canys elai yr arholiad ry faith i'w osod yn nghanol yr Esboniad. Ychwanegaf yn unig mai yr un ddeddf ag a gawsom hyd yma yn yr epistol ydyw, sef y Gyfundrefn Foesenaidd, yn holl osodiadau Moses, ac esboniadau y prophwydi arnynt—Y NOMOS, y ddeddf, oeddynt oll. Yn eu lle mae Crist a'r *Ffydd* genym ni. Eu cymmysgu y mae yr holl Esbonwyr a welais hyd yma; eithr tybiwyf fod Paul yn ei holl epistolau, yn ymdrechu i'w cadw yn hollol ar wahan. Trwy ystyried *Enwaediad* a *Moeseniaeth* yn wir grefydd ysbrydol saint yr Hen Destament, y cyfeiliornodd yr esbonwyr, mae'n debyg; yn lle, gyda Paul, gymmeryd y *Ffydd*, o Abel yn mlaen, fel y grefydd o rad ras heb gyfrif iddynt eu pechodau, â'u cadwai hwynt, megys ninnau yn awr.

*Ni chyfiawnheir;* CYFIAWNHAU, meddant oll, megys Stuart, Walford, Barnes, Hodge, &c., &c., yw "*derbyn pechadur ac ymddwyn tuag ato yr un modd yn hollol a phe cadwasai efe holl osodiadau y ddeddf ei hun.*" Gosodiadau pa ddeddf? "*Y ddeddf,*" meddant, fel pe byddai bawb dan yr un ddeddf. Deddf foesol pob dyn yw ei oreu yn ngwyneb ei holl berthynasau a'i gyfleusderau. Ni cheir dau ddyn, ac ni

chafwyd erioed, ychwaith, dan yr un ddeddf o ddyledswydd foesol yn hollol. Am Israel, yr oeddynt hwy oll dan yr un ddeddf, canys deddf wladol oedd hi. Pa ysbrydoedd bynag a osoder o dan ddeddf, rhaid iddynt oll gael deddfau gwahanol; canys gwahanol yw eu cyfleusderau a'u galluoedd. *Enwaediad* na *Moeseniaeth* ni buont "ddeddf foesol" i neb erioed, ynddynt eu hunain.

Am y CYFIAWNHAD etto. Nid wyf yn gallu dirnad y desgrifiad uchod, er wedi ei weled er pan welais ddim, ymron. Nid "derbyn pechadur ac ymddwyn ato yr un modd â phe cadwasai efe y ddeddf yn ei berson ei hun," y mae Duw; eithr *ei dderbyn yn nghysgod iawn Y Ffydd, ac ymddwyn tuag ato fel at bechadur damniol ynddo ei hun, ond yn rhydd a chyfiawn yn yr iawn dwyfol yn unig.*" Fel pe cadwasai y ddeddf yn ei berson *ei hun*, yn wir! neu fel pe cadwasai Adda hi ar y dechreu, mae'n debyg. Tebygwyf fi fod myrdd mwy mewn bod yn bechadur cyfiawnhäol yn *Nghrist*, nac mewn un Adda a gadwasai y ddeddf yn ei berson ei hun; ïe, nac un angel ychwaith. "Yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn gyfiawnder," yw "Jehofa ein cyfiawnder."

*Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod;* CANYS *(gar)*, a ddengys yr achos paham na allai gweithredoedd y Ddeddf gynnyrchu y cyfiawnhad hwn. Dywed Stuart "fod y ddeddf yn condemnio ac nid cyfiawnhau; a hyny oherwydd ddarfod i ddynion ei throseddu," gan ardybied y gallasai hi gyfiawnhau y sawl â'i cadwasai: a hon yw y ddeddf foesol yn ol ei farn ef; sef y deg gorchymyn. Barnes a gymmer yn ganiatäol fod yma ddangosiad "na chyfrifir neb fel pe buasai efe wedi cadw y ddeddf, ac fel yn teilyngu gwobrwyon ufudd-dod." Mewn sylw ar ymresymiad Stuart, dywedaf fod NOMOS, neu *Deddf*, neu Foeseniaeth, yn condemnio ei throseddwyr, ond yn cyfiawnhau y rhai â'i cadwent. Eu *cyfiawnhau*, meddaf, canys yr oedd cyfiawnder a chyfiawnhad ganddi. Yr oedd Paul yn ol ei chyfiawnder hi yn ddiargyhoedd, ac onid oedd hi yn ei gyfiawnhau ef? Eithr nid oedd ei chyfiawnder ar ol ei gael o werth dim rhag cosp pechodau rhyfygus. Nid oedd ganddi nac iawn na chyfiawnder yn mhellach na rhai seremoniol, dros bechodau pendant a seremoniol. Yr oedd raid i Paul wrth y gwaed sydd yn glanhau oddiwrth *bob* pechod. Pa bryd bynag y troseddai deiliad *Deddf* ei gosodiadau hi, yr oedd iawn ganddi yn ymyl; a phan offrymid yr iawn *hwnw*, elai yr euog yn lân a chyfiawn oddiwrth y bai hwnw; eithr nid oedd dim yn y byd a fynai y cyfan â bywyd tragywyddol. Trwy y FFYDD fawr y cedwid, ac y maddeuid i enaid damniol. Mae yr hyn a ddywedwyd yn atebiad i sylw Barnes yn ogystal. Cawn yn adn. 19, "Y ddeddf;" ond yn adn. 20, "Deddf" heb y fannod o'i blaen, ddwywaith, a'r un modd drachefn yn nechreu adn. 21, tra ceir y fannod o flaen *Deddf* yn niwedd yr adnod hono. Ystyr yr ymadrodd hwn, gan hyny, yw: "canys adnabyddiaeth pechod sydd drwy ddeddf;" sef; er fod pob deddf yn gallu cyfiawnhau ei deiliaid ufydd, adnabyddiaeth o bechodau eu deiliaid a gawsom ni yn ein holrheiniad presennol, drwy bob deddf, yn erbyn ei deiliaid." Nid ychwaith yn erbyn yr *holl* ddeiliaid. Nid oedd raid i'r ddadl wrth gymmaint prawf â hyny. Eithr adnabyddwyd pechod dan bob cyfun-

drefn o ddeddf, neu *systems* diras, yr hyn sy'n rhoi adnabyddiaeth i ni, na thâl cymmaint ag un o honynt i sefyll yn gyfundrefn cyfiawnhad. Hyna; a nid fod deddf yn well cymhorth i adnabod pechod, nag efengyl, oedd meddwl yr apostol.

---

§ 11. PERTHYNAS CYFIAWNDER DUW A GORUCHWYLIAETH Y FFYDD, DAN HEN GYFNOD GODDEFGARWCH DUW, YNGHYD A CHYFNOD DIWEDDARACH GWAED CRIST. PEN. III, 21—31.

CAWN ein hapostol bellach ar ben profi ei osodiad mawr yn mhen. 1, 17, sef, mai yn yr efengyl a bregethai efe y dadguddid cyfiawnder cyfiawnhaol Duw i bechadur; mai ynddi hi, ac nid yn y deddfau a'r cyfundraethau paganaidd; mai ynddi hi, ac nid yn nghyfundraethau yr enwaediad Abrahamaidd, na Moeseniaeth; mai ynddi hi, ac nid yn y crynswth cymmysglyd o Abrahamiaeth, Moeseniaeth, Gwag-Philosophi Groegaidd, a Thraddodiadau Phariseaidd, yr hwn a gyssyllid gan Iuddewon yr oes â gogoniant y Ffydd;—ac nid yn y *system* hon, yr hon, ynglyn ag ymarweddiad ei choleddwyr, a alwai Paul yn GNAWD; nid yn y cyfundraethau yna, nac ychwaith yn y cyfnod hwnw o dymmor hirfaith y FFYDD, ag a elwid yn yspaid GODDEFGARWCH DUW;—nid yn yr holl bethau dwyfol a dynol yna, y dadguddiwyd cyfiawnder Duw, o ffydd ffydd. Gwir fod y cyfiawn yn amser Habaccuc yn byw, ac yn cael ei fywyd allan o (*ek*, c. gen.) y FFYDD. Dadguddiasid cymmaint â hyny drwyddi, GODDEFGARWCH DUW; ond drwyddi hi, EFENGYL, neu gyfnod gwaed Crist, y dadguddiwyd cyfiawnder allan o Ffydd, *ac hyd at* [gwel dal. 25], ac i neb ond perthynasau y Ffydd yn unig. Ymddengys fod ammheuaeth wedi aros ar y byd hyd yn awr, pa un ai i ddeiliaid y Ffydd yn unig, ynte i rai tra moesol ereill, yr oedd cyfiawnhad y FFYDD yn disgyn; eithr yn awr dadguddiwyd ei fod allan o Ffydd, ac i berthynasau y Ffydd; allan o honi *hi* yn unig, ac iddynt *hwy* yn unig. Yn nghyfnod a chynnwysiad EFENGYL CRIST y dadguddiwyd hefyd, nad oedd gwahaniaeth o flaen gorsedd neu drugareddfawr y FFYDD, rhwng y naill bechadur credinio! a'r llall; ynghyd ag mai trwy Grist eu prynid, drwy fath ddwyfol o brynedigaeth yn haeddiant ei waed Ef; ynghyd ag mai trwy ei oddefgarwch yn unig, ac nid oddiar ei ddaioni naturiol y tu cefn i'w gyfiawnder, yr elai Duw heibio i bechodau y saint cyn-bentecostawl, oddiar rag-olygiad ar y gwaed a gyflwynai y Trugareddfa-wr, neu lawn gosodedig iddo ef, yn ei bryd (26). Diau fod Duw yn gyfiawn pan yn myned heibio i bechodau y credinwyr gynt; eithr nid oedd un dadguddiad nad y tu cefn i'r briodoledd o gyfiawnder y gwnelai efe hyny, cyn yr Efengyl (26). Ac er ei fod yn methu cael sail i gyhoeddi ei gyfiawnder mewn cyfiawnhad, o'r fath ag ydoedd y maddeuant hwnw [gwel ar adn. 25] cyn cyfnod y GWAED, y mae Efe yn awr yn gallu herio bydoedd i edrych arno yn cyflawni—nid y *paresis*, neu droi gwyneb draw oddiwrth fai, fel cynt, eithr yn hollol faddeu (*aphiemi*); a'r achos mawr o'r gwahaniaeth hwn yw, fod ei WAED Ef wedi ei daenellu ar, ac o flaen, trugareddfa y FFYDD, lle mae, nid rhyw Israel yn unig, ond y bydoedd oll, yn edrych; canys yn llys, ac ar orsedd llywodraeth yr oll, y mae y drefn yn egluriadol. Ar Drugareddfa-wr pechaduriaid dynol yr eistedda Duwdod i ymwneyd â'i greaduriaid lliosog, yn ddrwg a da, o'i afrifed fydoedd, a'i eang lywodraeth oll.

Darfu, gan hyny, yr ymffrost a feddai yr Iuddew yn Nuw, yn ol pen. 2, 17; canys cafwyd fod Duw y ffydd wedi bod, ac yn bod, ac i fod, yn Dduw pob cenedl fel eu gilydd, am ei bod mor hawdd i'r naill â'r llall nesu yn mlaen at orsedd o rad ras perffaith, heb dalu dim o'i arian, heb gyflwyno dim o'i weithredoedd, nac o'i gyfundraethau dwyfol na dynol, ond agor ei fynwes ymddiriedus yn unig, i dderbyn fel annuwiol gyfiawnhaol gyfiawnder Duw (30). Gwir fod hyn oll yn diddymu y deddfau rhagnodedig i gyd, yn yr ystyr eu cymmerid gan yr Iuddew yn y ddadl; ond y mae mor wir ellwaith mai symudo pob deddf ddwyfol yn ei hol yr oeddis, a'i sefydlu yn ddisigl ar y safle lle y gosodasai Duw ei hunan hi [31].

21 Ac *yr awrhon yr eglurwyd cyfiawnder Duw heb y ddeddf, †wrth gael tystiolaeth gan y ddeddf a'r prophwydi;

* "Heb ddeddf,"—Groeg. "Heb weithredoedd y ddeddf,"—Conquest. "Yn awr, yn y Testament Newydd, yr eglurwyd," medd Tholuck, a Stuart. "Heb un berthynas â rhwymedigaethau moesol," medd Tholuck. "Mewn ffordd wahanol i ufydd-dod personol i'r ddeddf," medd Barnes. "Yn groes i gyfiawnder deddfol perffaith ufydd-dod," medd Stuart. "Cyfiawnder anghyrhaeddadwy drwy ufydd-dod i'r ddeddf,"—Hodge. † "Drwy gael ei ddysgu gan y ddeddf," medd Hodge. "Drwy gael ei gyhoeddi yn yr Hen Destament," medd Barnes, Tholuck, Stuart.

"Eithr yn awr (dan y Testament Newydd), heb ddeddf, cyfiawnder Duw a eglurwyd, gan dderbyn tystiolaeth oddiwrth y ddeddf a'r prophwydi."

EGLURWYD; *(pepkanerôtai), to make apparent, manifest, known, to show openly;* gwneyd yn eglur, amlwg, adnabyddus, gyhoeddus.

*Heb y ddeddf;* neu yn hytrach, "heb ddeddf;" canys bu deddf natur, a deddf Moses, gan yr apostol dan sylw; ac yn awr, dan un gair, efe a gynnwysa y ddwy. "Heb un o'r cyfundraethau a alwasai efe yn *Deddf.*" "Heb gyfiawnhad haeddiannol," medd Stuart, Barnes, Hodge, &c., tra mae Paul yn dweyd yn unig mai heb un o'r cyfundraethau a nodwyd er dechreu yr epistol, yr eglurwyd cyfiawnder Duw. Gwir mai heb haeddiant dynol, ac mor wir á hyny, nad dyna bwnc yr ymadrodd.

Pa beth a ddywed yr apostol yn y fan hon? A ddywed efe fod cyfiawnder Duw yn hysbys, er mai i raddau aneglur, cyn yn awr? Ynte, a ddywed efe nad oedd neb hyd yn awr yn gwybod dim am dano, hyd y nod dan yr Hen Destament? Beth yw gwrthddrych y gair hwn *eglurwyd?* Yr ateb a geir yn adn. 22—26, mai *cyfiawnder rhad Duw yn ngwaed Crist fel yr iawn gosodedig, i bawb a gredent.* A oedd hyn oll am natur, ffynnonell, a chyssylltiadau y cyfiawnder hwn, yn eglur i blant y FFYDD cyn *yn awr?* Eglur yw fod Paul yn tybied nad oedd. "Yn awr yr eglurwyd cyfiawnder Duw yn y goleu hwn." Gwyddent am gymmaint â maddeuant o'r blaen. Gwyddent fwy nag a wyr yr Undodwyr. Gwyddent fod Duw yn maddeu o'i rad drugaredd; ond ar ba gyfrif y rhedai y drugaredd hòno atynt, nis gwyddent. "Yn awr yr eglurwyd hyn." Mae arferiad y gair hwn *phaneroô,* eglurhau, yn arddangos mai dwyn i'r goleu beth anhysbys o'r blaen, yw ei ystyr. Nid taflu goleu mwy ar beth lled eglur o'r blaen. Er enghraifft, gwel Ioan 2, 11; 1 Cor. 4, 5; 2 Cor. 2, 14; Col. 4, 4; Tit. 1, 3; Ioan 17, 6; Rhuf. 1, 19; Rhuf. 16, 26; 2 Cor. 7, 12; Eph. 5, 13; Col. 1, 26. Er fod, gan hyny, yn hysbys i'r holl ffyddloniaid gwaredol, o Abel yn mlaen, fod cyfiawnder maddeuol gyda Duw, ac mai i'r edifeiriol, diwygiol, crediniol neu ymddiriedus, ac yn rhad, yr oedd efe; etto nid oedd wedi erioed ei egluro mewn cyssylltiad â gwaed Crist, fel "yr eglurwyd yn awr," i ni dan y Testament Newydd. Arholed y darllenydd i'r Hen Destament, a chaiff sicrwydd mai fel hyn yn hollol yr oedd.

*Gan gael ei dystiolaethu gan y ddeddf, &c.* Nid ei egluro, ond derbyn tystiolaeth drosto ganddynt; nid tystiolaeth, ychwaith, o'i fodol-

iaeth, fel y mae yn awr. Buasai hyny yn eglurhad o hono. Y dystiolaeth a gawsom eisoes allan o'r Hen Destament yn nghylch amddifadrwydd pob cyfundrefn arall, o hono, a'r tystiolaethau ereill a gawn yn mlaen, dros faddeuant rhad, allan o'r un llyfr, a hyny yn nglyn wrth grediniaeth, o'r tu allan i gyfundrefn y Ddeddf; y rhai hyny yw tystiolaeth y ddeddf a'r prophwydi i'r Iuddew, dros mai heb *system* DEDDF y ceir ef.

*Y ddeddf a'r prophwydi*, a arferir am yr Hen Destament, fel y Ddeddf a'i hesboniadau dwyfol, yn Mat. 5, 17; a 7, 12; a 11, 13; a 22, 40; Ioan 1, 45. Gorfododd golygiadau Barnes, Stuart, Hodge, ac ereill, am amcan a rhediad yr epistol, hwynt i ddywedyd yma, fod dadgudiadau eglur y Testament Newydd am hyn, wedi eu *cyfiawn gyhoeddi* yn yr Hen, er fod Paul newydd ddweyd mai "yn awr yr eglurwyd" hwynt. Gwada rhai o honynt eilwaith, a meddalant ystyr y gair *egluro*, er mwyn gosod Paul yn gysson â'u hesboniadau eu hunain ar y pennodau blaenorol.

22 Sef *cyfiawnder Duw, yr hwn sydd drwy ffydd Iesu Grist, †i bawb, ac ar bawb a gredant; ‡canys nid oes gwahaniaeth.

* "Iesu Grist," nid yw yn y bibl Groeg henaf. "Yn Nghrist Iesu," yw darlleniad y nesaf ei barch at hwnw. "Trwy ffydd bersonol fel moddion neu offeryn," medd Barnes, a Hodge. "Y ffydd sydd â Christ iddi'n wrthddrych," medd Hodge. "Trwy ffydd Gristionogol," medd Stuart. † "Ac ar bawb a gredant," nid yw yn y tri biblau Groeg henaf, a rhai ereill, nac yn y Coptaeg, Ethiopaeg, Armenaeg, un bibl Arabaeg, biblau Lladin Clement o Rufain, Origen, Cyril, nac Awstin. "I bawb, hyd y nod pawb a gredant,"—Hodge, Tholuck, Reiche. "Yr hwn a ddaeth hyd at bawb, i bawb,"—Luther, Schmidt. "I bawb o'r Iuddewon, ac ar bawb o'r Cenedloedd,"—Theodoret, Ecumenius. ‡ Rhuf. 10, 12; Gal. 3, 28; Col. 3, 11.

Mae "eithr" yn nechreu yr adnod hon, yr hwn a droir gan yr esbonwyr yn "sef," gair o ystyr tra gwahanol. Nad beth ddaw o'r athrawiaeth, rhaid i'r gair bach hwn gael ei ystyr naturiol. Cynnygiaf fel hyn:—"Eithr cyfiawnder Duw drwy ffydd, &c." [yw efe]; er nad wyf yn gwadu y rhaid troi y gair yn *sef* ar rai amgylchiadau o briodddull ansathredig. "Gan mai heb weithredoedd deddf y cyfiawnheir dyn, rhaid mai drwy y *Ffydd*," fel pe dywedasai efe.

TRWY FFYDD *(dia pisteôs)*, fel modd neu lwybr; os nad hefyd fel achos. Ond gan nad ydwyf yn ystyried mai crediniaeth yw *ffydd* yr epistol hwn, ond y drefn o gadw pechadur drwy rad ras yn unig, yn nglyn â chrediniaeth, ni raid i neb chwitho wrth ddarllen ffydd o'r fath hyn yn achos cyfiawnhad. Ond gwel DRAETHAWD ar *Ffydd* yn niwedd y gwaith. Cawn yno edrych pa beth yw *i ffydd, mewn ffydd, allan o ffydd, oddiwrth ffydd, trwy ffydd, perthynol i ffydd, &c.*

*Iesu Grist*. Os y ffydd sydd â Christ yn wrthddrych iddi, yna nid oedd efe yn wrthddrych i ffydd yr Hen Destament. Etto, felly y deongla Stuart, Barnes, Tholuck, Hodge, &c., tra daliant fod Crist yn wrthddrych yr hen ffydd, ar yr un pryd. Dywedasai Paul,—"*Yn awr* dadguddiwyd cyfiawnder Duw drwy ffydd Iesu Grist, i bawb," &c., yr hyn sy'n dangos nad oedd neb yn gwybod mai drwy Iesu Grist yr oeddynt yn derbyn y cyfiawnder, er fod Duw yn gwybod hyny,

oblegid ddarfod iddo ei osod ef yn Iawn cyn hyny, i'r perwyl, heb son gair wrthynt hwy.

I BAWB AC AR BAWB A GREDANT *(eis pantas kai epi pantas tous pisteuontas)*. Beth all fod ystyr yr "i bawb," ac "ar bawb?" "Cyfiawnder Duw a ddaeth i bawb, &c.," meddai Luther.

EIS, *i* bawb, arwyddocâ mai *pawb* yw y gwrthddrychau at ba rai y tuedda, ac yr annela, y cyfiawnder hwn yn awr drwy Ffydd Crist. Gwel Robins. Lex. Neu ynte, gall arwyddocâu mai *pawb* yw mesur, graddau, ffiniau, ac eangder y cyfryw yn awr. Gwel yr un dan y gair EIS. Neu ynte, mai er mwyn, o achos, er llesâd, *pawb*, y mae amcan y cyfryw.—Yr un. Eithr gan y rhaid i'r ystyr fod y naill neu y llall, oni all fod cyfiawnder Duw o ran ei amcan, ei drefniad, ei ymossdiad, a'i rediad, at y pawb, fel ei wrthddrychau amcanol, ac eangderol, tra er mwyn eu llesâu ar yr un pryd?

EPI, *ar* bawb. *Epi with accusative;* a arwyddocâ ffiniau neu eithafoedd y cyfiawnhad; neu ei ledaeniad ar, yn drwyadl dros, y *pawb* sydd yn nglyn â'r gair *epi*, ar.

*A gredant;* pawb o'r credinwyr, neu y rhai sydd yn credu, yw y gwrthddrychau sydd i'r ddau air bach mewn dadl; "I bawb ac ar bawb" o'r rhai hyn y daeth "yn eglur" fod y cyfiawnder trwy Grist. Iddynt y cynnygir; arnynt y cyfrenir. Cynnyg *i*, a chyfranu *ar*, yr ydys bob peth. Eithr ni chynnygir cyfiawnder Duw i'r anghredadyn, hyd y nod *yn awr*. I bawb a gredo y mae yn gyrhaeddadwy, a chynnygiadwy; ac ar bawb a gredo y disgyna fel anrheg eilwaith, pan ei mwynheir.

23 *Oblegid pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw.

24 A hwy wedi †eu cyfiawnhau yn rhad drwy ei ras ef, ‡drwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu:

* "Syrthio yn fyr o'r gogoniant a gyfrana Duw," medd Stuart. "Am ddelw Duw," medd Glassius, a Calovius. "Ac a fethasant gyrhaedd cymmeradwyaeth Duw," medd Barnes. Rhuf. 11, 32; Gal. 3, 22. † Rhuf 4. 16: Eph. 2, 8; Tit. 3, 5, 7. "Wedi eu cyfiawnhau o rad haelioni, hyd y nod o'i ffafr ef," medd Belsham. "Heb un cyflawniad o'n heiddo ni," medd Tholuck, ac Ambrosiast. "Gan fod wedi cael ymddwyn atynt fel pe'n gyfiawnion,"—Barnes. ‡ "Trwy y pridwerth a dalodd Crist Iesu,"—Rhai. "Trwy y waredigaeth a gawsant gan Grist Iesu,"—Stuart. "Trwy waredigaeth oddiwrth bechod a'i ganlyniadau,"—Barnes. "Trwy y prynedigaeth, hyny yw, trwy Grist Iesu,"—Walford. "Gwaredigaeth drwy dalu pridwerth am,"—Hodge.

*Ydynt yn ol;* yn fyr o, amddifaid o, hollol wag o.

GOGONIANT DUW *(doces tou theou)*. Arferir y gair hwn am gymmeradwyaeth Duw, yn Ioan 5, 41, 44; a 7, 18; a 8, 50, 54; a 12, 43; ond nid, am a wn, yn Paul. Eithr, gan mai y gogoniant a gyfrana Duw, yw yr ystyr gyffredin yn y Testament Newydd, gwell ei adael felly yma, yr hyn a brawf fod y pawb dan sylw wedi pechu, ac yn syrthio yn amddifaid o ogoniant mewn bywyd dyfodol; ac am hyny, mae yn rhaid wrth ryw gyfundrefn arall o gyfiawnhad, heblaw y deddfau rhagnodedig.

Cyssylltiad yr adnodau sydd fel hyn,—" Eithr cyfiawnder Duw, yr hwn sydd drwy ffydd Iesu Grist, a eglurwyd yn awr, i bawb a gredant (canys pechasant bawb, ac aethant yn fyr am ogoniant Duw), gan eu cyfiawnhau yn rhad o'i ras ef, &c." Son am y "pawb a gredant," o adn. 22ain, y mae "pechasant" yn adn. 23ain, ynghyd â'r "hwy a gyfiawnhawyd" yn adn. 24ain. Gwyddom hyn, yn gyntaf, am nad oedd achos iddo son am neb arall i wneyd ei resymiad i fyny; yn ail, am fod yr un gair *pawb* yn ddiatreg yn y 23ain, ar ol *pawb* yr 22ain, ac heb un nod o wahaniaethiad rhyngddynt; ac yn drydydd, am nad yw pob enaid byw wedi pechu; mae y babanod, a'r dosparth lliosog o ddynion sydd islaw gwybodaeth gyfrifol, mewn stad o'r neillldu i ddeddf a phechod. "Pawb a gredant" yw y "pechaduriaid" yma, ac y maent hwy oll mewn cyflwr ag y gallasent bechu ynddo.

TRWY EI RAS EF. *Trwy* sydd air o ystyr amheus yma. Gall fod "yn rhad i'w ras ef," neu "gan ei ras ef." Yr olaf wrth reswm yw y cywir.

YN RHAD *(dorean)*, *freely (adverb)*, *without requital;* heb ad-daliad. "Rhoddwch yn rhad," Mat. 10, 8. "Pregethu yr efengyl yn rhad," 2 Cor. 11, 7. "Ni fwytasom fara neb yn rhad." "Rhoddaf o ddwfr y bywyd yn rhad," Dat. 21, 8. Ni thalodd y crediniol ynte ddim, ac ni ddaw gofyn tâl arno byth.

GRAS *(charis)*, yr hyn sy'n peri llawenydd a phleser. Yna ffafr, ewyllys da, haelioni. Ffafr rad Duw, yn yr ymarferiad â'r hon y cyfrana efe yn ddirwymau ac effeithiol i ddynion pechadurus, fendithion iachawdwriaeth. Mae *gras* i'w *wahaniaethu* oddiwrth ei diriondeb a'i haelioni cyffredinol Ef, yn yr hyn y mae efe yn ddaionus *(chrestos)*, hyd y nod i'r anniolchgar a'r drwg, Luc 6, 35. Mae i'w wahaniaethu hefyd oddiwrth ei ymhyfrydiad mewn credinwyr, y rhai, gan eu bod mewn undeb â Christ, ac yn dderbyniol ynddo ef, ydynt, drwy weithrediad yr Ysbryd Glân, yn cael eu cynnysgaethu â thueddiadau santaidd, ac yn gwneuthur gweithredoedd da, o ran pa rai hefyd y maent yn hoff *(euarestoi, well-pleasing)* gan Dduw, Rhuf. 14, 18.

PRYNEDIGAETH *(apolutrosis)*, *redemption.* Grym y gair hwn a ddeallir oreu drwy sylwi ar ei wreiddyn *lutron*, yr hwn a arwyddocâ, y pris neu bridwerth a dalir dros gaethwas, mewn canlyniad i'r hyn y gollyngir ef yn rhydd. *Apolutroo* yw talu ymaith. Gan hyny, ystyr y gair yn ein testun yw talu y pris, a'r gollyngiad sy'n dilyn hyny. Fel hyn daeth y gair ar droion yn arferol am ddim ond gwaredigaeth.

*Yn Nghrist Iesu:* drwyddo, ac yn aros ynddo a chanddo.

25 *Yr hwn a osododd Duw †yn iawn, ‡trwy ffydd yn ei waed ef, §i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau ||a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw;

* "Yr hwn a rag-ordeiniodd Duw," medd Conquest. "Yr hwn a osododd Duw allan," medd A. Campbell, J. Williams, Belsham, Walford, ac ereill; (yn gyhoeddus) Stuart, Barnes. "Yr hwn a rag-osododd Duw,"—Amryw. "Yr hwn a ddewisodd Duw,"—Rhai. † Gadewir y gair *iawn* allan o'r biblau Armenaeg, eithr gosodwyd ef ar ymyl y ddalen yn argraffiad y flwyddyn 1698. "Propitiatorem (*a sacrificer, an appeaser*), heddychwr drwy aberth," yw darlleniad tri hen fibl Lladin, Vulgate y

Pab Sixtus, biblau Morgan, Jerom, Ambros, ac ereill. "Trugareddfa neu aberthawl heddychwr," oedd bibl Rufinus. "Propitiatio" (iawn, *atonement*), yw darlleniad y Vulgate, hen Syriaeg, Arabaeg, a dau hen fibl Lladin. "Cymmodiad" oedd bibl Hilarius. "Aberth dyhuddawl,"—Hodge, Bucer, Hesychius, Grotius, Clericus, Elsner, Kypke, Heumann, Barnes. "Y dyhuddawl neu gymmodiadawl," (*an adjective*)—Tholuck, Origen, Theodoret, Theophylact, Ecumenius, Erasmus, Luther. "Fel trugareddfa,"—Belsham, Taylor, Locke. "Yn drugareddfa,"—A. Campbell. "Cymmodfa,"—J. Williams. ‡ "Trwy y ffydd, &c.,"—Groeg. Gadewir allan "trwy y ffydd yn ei waed ef," o un o'r biblau Groeg henaf, a bibl Chrysostom. "Iawn y ffydd yn ei waed ef," oedd yn mibl Ambrosiaster. "Ffydd," yn lle "y ffydd," yw darlleniad pedwar o fiblau Groeg tra hen, rhai diweddarach, ynghyd â biblau Basil, Cyril, ac ereill. "Trwy ei farwolaeth waedlyd ef,"—Tholuck. "Trwy ffydd fel moddion,"—Barnes, Elockler. "Yr hwn a osododd efe drwy ffydd yn ei waed ef,"—Reiche. "Iawn yn ei waed ef,"—Chrysostom, Theodoret, Vitringa, Calovius, Hodge. "Cyfiawnhau yn ei waed ef,"—Winzer, Fritsche. "Trugareddfa yn ei waed ef,"—Belsham, Taylor. § "I ddangos ei drefn o gyfiawnhad yn nghylch maddeuant y pechodau a aethent heibio,"—Belsham. "Wrth fyned heibio i'r pechodau a wnaethid,"—Hodge. "I ddangos allan ei drugaredd yn maddeuant,"—Conquest. "I ddangos ei gyfiawnhad ef,"—Stuart, Barnes. "I ddangos ei wirionedd ef,"—Ambros, Locke. "I ddangos ei ddaioni ef,"—Theodoret, Socinus, Grotius, Koppe, Reiche. "I ddangos ei santeiddrwydd ef,"—Flatt. "Er amddiffyniad o'i gyfiawnder ef yn mherthynas i'r pechodau, &c.,"—Michaelis. ‖ "A wnaethid cyn ein troedigaeth," medd Reiche, a Barnes (debygid). "A wnaethid cyn marwolaeth Crist," medd Stuart, Hodge, Tholuck.

*Yr hwn a* OSODODD *(pro ethe to)*. Ei ystyr yn y Testament Newydd yw, naill ai gosod gerbron, cynnyg, neu gyhoeddus arddangos, neu gyfansoddi, trefnu, dewis, arfaethu. Gan fod y gosodiad hwn o Grist yn iawn wedi bod gydag amcan i ddangos cyfiawnder Duw pan yn maddeu i'r hen dduwiolion, rhaid ei fod yn iawn ar y pryd hyny, neu i ddangos yn awr ei fod ef yn gyfiawn y pryd y gwnai hyny. Nid ydym yn cael un cymhorth, yn yr ystyriaeth yna, i wybod ystyr y gair dan sylw. Eithr gan mai drwy y *Ffydd* yn ngwaed Crist y gosodwyd ef yn iawn, rhaid nad *gosod gerbron*, *cynnyg*, yw yr ystyr, canys ni feddwn air o dystiolaeth ei fod fel iawn wedi ei gynnyg dan yr Hen Destament. Ai *cyhoeddus arddangos* ynte yw yr ystyr? A oedd Duw yn maddeu cyn gosod iddo ei hun iawn? Os oedd, yr oedd y cysgod yn groes i'r gwir sylwedd. Rhaid oedd, gan hyny, fod ganddo *iawn* yn rhywle, drwy yr hwn y maddeuai efe i'r crediniol, drwy yr oesoedd blaenorol. Yn awr, cawn ein gwasgu i osod ar y gair ei drydydd ystyr yn unig, sef *constituted*, *chosen*, cyfansoddi, dewis. "Yr hwn a gyfansoddodd Duw yn iawn, o'i ddewisiad ei hun."

IAWN *(ilasterios)*. Trugareddfa, neu ynte aberth dyhuddol; canys y mae y beirniaid yn mawr wahaniaethu am yr ystyr; er, gan amlaf yn dewis y naill neu y llall o'r ddau ystyr hyn. Gadewir olrheiniad i ystyr y gair, a'i berthynas â phynciau ereill yr epistol, hyd y TRAETHAWD ar y diwedd. Yn unig sylwaf, fod fy marn i mewn un ystyr yn cynnwys y ddau arwyddocâd. Oddiar y drugareddfa y cymmunai Duw â meibion Israel, Exod. 25, 22. Gorchuddid yr orsedd, neu drugareddfa hon, gan fwg yr arogldarth, bob amser yr elai yr archoffeiriad i mewn i'r cymundeb dwyfol. Taenellid gwaed y bustach a offrymid ar ddydd mawr y cymmod ar, ac o flaen, y drugareddfa.

saith waith, Lef. 16, 14, 15. Gelwid y taenellu hwn yn "wneyd iawn dros y lle santaidd, oherwydd aflendid meibion Israel," adn. 16. Oddiar y drugareddfa hon, ac yn gydiol â'r ddefod a nodwyd, y cyhoeddai Duw faddeuant, neu ei gymmod i'r genedl. Cymmaint â hyna am y drugareddfa foesenaidd. Cymmaint â hyna am *iawn* llesg cyfundrefn y *Ddeddf.* Nid drwy y cynllun yna y maddeuasai Duw i'r cyn-dduwiolion, ond drwy gyfundrefn y *Ffydd.* Nid oedd Efe un amser yn maddeu pechodau bychain, pendant, amryfus, a thiriogaethol, y gyfundrefn yna, ond oddiar ei thrugareddfa hi ei hun; felly hefyd, nid oedd efe yn rhad faddeu pechodau rhyfygus, ac o bob rhyw, mewn gair, drwy hen gyfundrefn y *Ffydd,* ond oddiar drugareddfa y *Ffydd.* Etto, megys y mae y gair *trugareddfa,* yr hon oedd orsedd freninol y Ddeddf, yn air am beth, ac nid am berson, felly y mae yn ein testun, *ilasterios* yn lle *ilasterion; person* yn lle *peth;* trugareddfa-wr yn lle trugareddfan. Cynnwysa ystyr y gair hwn, yn y rhyw gwrrywaidd fel y cawn ef yma, yr hyn oedd Crist fel yr arch, a'r cauad, a'r gyfraith, a'r gwaed, a'r secina. Amcan a swydd y cwbl ynghyd, ac yn eu gwaith, a wna i fyny arwyddocâd y gair trugareddfa-wr; canys nid oedd gan gyfundrefn y Ffydd un gwr arall yn sefyll yn lle yr aberth, na'r secina, na'r arch, ond ei hunan. Felly nid oedd y *Ffydd* fawr hithau heb fod wrth ei gwaith yn maddeu, mwy na'r *Ddeddf.* Os cyfansoddai Duw fel Duw tymmorol y Ddeddf, iddo ei hun arch o goed, ac arni gauad o aur, a chyfraith neu gyfammod yn hytrach, o geryg, a gwaed ar y cyfan, yn orseddfainc; cyfansoddasai hefyd orsedd i eistedd arni yn nghyfundrefn fawr y *Ffydd,* fel Duw tragwyddol ac ysbrydol; a'r orsedd hono oedd Iesu Grist. Efe oedd yn llenwi lle yr holl bethau a nodwyd yn ngorsedd fach y Ddeddf. Os oedd y gweithredoedd drudfawr o ddarparu aberthau, offrymau, degymau, gwyliau, ymprydiau, golchiadau, &c., yn ofynol oddiwrth yr addolydd, cyn y caffai faddeuant byr a chyfyng gorsedd y *Ddeddf;* nid oedd rhaid ond credu yn unig, fel y ceid maddeuant rhad, eang, a bythol, gorsedd dragwyddol y *Ffydd.* Nid oedd neb dan yr Hen Destament ei hun yn cyflwyno aberth pan geisiai faddeuant gorsedd y Ffydd, sef maddeuant am bechodau rhyfygus, goruwch cyrhaedd gorsedd isel y Ddeddf. "Ni fyni aberth, pe amgen mi â'i rhoddwn," meddai Dafydd. Ofer fuasai i'r pechadur a odinebasai, ac a lofruddiasai briod ei butain, er mwyn cuddio ei fai cyntaf, droi at orsedd fach y *Ddeddf* gyda'i faich; fel mynydd mawr, efe a'i gorchuddiasai yn y fan; etto, heb nac aberth nac offrwm, maddeuodd gorsedd rad y Ffydd iddo ef y cwbl. Nid oedd aberth dros bechodau moesol, na dim ond rhyw rai newydd eu llunio yn bendant gan frenin y genedl, wedi ei adael mwyach gan gyfundrefn y *Ddeddf;* ond y mae gwaed Iesu Grist, trugareddfa-wr y Ffydd, yn glanhau y crediniol oddiwrth *bob* pechod. Felly yr oedd Duw wedi gosod Crist yn y sefyllfa hon, er amser cyfansoddiad cyntaf cyfundrefn y Ffydd. Efe, mewn gair, oedd sylfaen y gyfundrefn; a maddeuodd y Duw mawr dros dymmor pedair mil o flynyddoedd, i'r holl gredinwyr, drwy y gyfundrefn hon a gyfansoddasai efe yn ei waed Ef. Yr oedd ganddo arch, a chyfraith (nid un Moeseniaeth), a thrugareddfa, ond heb un dafn o waed. Etto yr oedd lle gwag iddo er-

hyn y deuai. Yno yr oedd y Tri Pherson, a'r ddau gerub yn cysgodi y gyfundrefn, ac yn edrych i wared ar y person arall, yr hwn oedd yn y canol, etto heb waed—heb ddynoliaeth aberthedig. Yno hefyd yr oedd yr hyn na allasai gorsedd y ddeddf ei ddangos byth, sef maddeuant heb waed, drwy oddefgarwch Duw. Gwelwn yma gymmaint uwch oedd ymddiried Duw yn nhrugareddfa-wr y Ffydd, nag yn y llall. Eithr taenellwyd yr orsedd yn berffaith pan gyflwynwyd y gwaed, a chafodd Duw ddangos nad oedd efe yn gwneyd cam â chyfiawnder wrth faddeu drwy oddef am y gwaed hwn cyhyd. Yr oedd Duw yn *dangos ei gyfiawnder* yn barhaus wrth faddeu, canys drwy y *Ffydd* yn ngwaed Crist y maddeuai; ac yr oedd yn hòno sicrhad cyfammodol drwy lw, am gaffaeliad y gwaed yn ei dymmor. Y darlleniad egluraf sydd fel hyn: "Yr hwn drugareddfa-wr a osododd Duw drwy y Ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder drwy faddeuant, &c."

Yn ei waed ef *(en tô aimati)*, ei farwolaeth waedlyd ef. Yr oedd gan gyfundrefn fawr y Ffydd ddau gyfnod; sef cyfnod *te anoche ton Theon*, neu oddefgarwch Duw, a chyfnod *aima tou Christou*, gwaed Crist. Y cyntaf a ddiflanodd pan gyflwynwyd y gwaed fry ar drugareddfa y Ffydd, pan anfonwyd yr Ysbryd i wared, megys Aaron at yr addolwyr, yn dystiolaeth o berffeithiad yr offrymiad. Yr oedd y Ffydd yn maddeu er y dechreuad, yn ei waed ef, ond yn awr yr eglurwyd hyny. Pan gafwyd y gwaed y gosodwyd ef yn wrthrych crediniaeth. Er fod Duw yn maddeu oddiar ymddiried yn y gosodiad a'r gwaed, nid oedd efe yn gofyn i'r credadyn ymddiried mewn dim ond yn y ffaith o fod Duw yn drugarog; eithr pan dderbyniwyd y gwaed, eglurwyd mai trugarog yno a fuasai ac a fydd efe. Ystyr y gair *gwaed Crist* yn yr Epistolau, yw eithafnod dyoddefaint ufyddol Crist o gariad at ei Dad a'r byd colledig. Eithr gwel ragor yn y Traethawd *ar waed Crist*, yn niwedd y gyfrol.

I ddangos *(eis eudeixin)*, tuag at, hyd nes dangos, *manifestation, declaration*, dadguddiad, cyhoeddiad; neu ynte, *proof, indication, token;* prawf, mynegiad, arwydd. "Dangoswch iddynt hwy hysbysrwydd (arwydd) o'ch cariad,"—2 Cor. 8, 24. "Yr hyn iddynt hwy sydd arwydd (prawf) sicr o golledigaeth; Phil. 1, 28. Gwel y darllenydd mai dangos, egluro, sydd gymhwysaf i'r ystyr a roddwyd yma ar yr holl gyfadnodau.

Trwy faddeuant *(dia ten paresin)*. Dia *with acc.*, *trwy*, yn y cyssylltiad hwn, yw *oherwydd, o achos.* Dyna ystyr cyffredin y gair bach yma—*trwy.* Arferir weithiau hefyd am *drwy foddion*, neu *achlysur*, neu *stad;* megys pe dywedasid trwy faddeuant pechodau fel moddion, neu achlysur, neu stad, i ddangos cyfiawnder Duw. Eithr pa fodd y gallasai maddeuant pechodau yr hen dduwiolion fod yn achlysur na moddion i ddangos fod Duw yn gyfiawn? Tebycach fuasent o ddangos ei fod yn anghyfiawn. Iawn a allasai fod yn foddion dangos cyfiawnder Duw. Ystyr arall yw, "i ddangos ei gyfiawnder ef *yn mherthynas, neu gyda golwg ar* faddeuant pechodau. Eithr ystyr anaml iawn, os nad dyeithr hollol, yw hon i'r gair. Pe gosodid i'r ymadrodd ei ystyr gyffredin, caffem:—"I ddangos allan ei

gyfiawnder ef oherwydd y maddeuant, &c." Yr achos o osodiad Crist yn iawn o dan y gyfran gyn-bentecostaidd o dymmor hirfaith y FFYDD oedd y maddeuant a gyflawnai Duw cyn derbyniad y pridwerth. Gosododd Duw y drugareddfa, arch, gwaed, &c., yn orsedd iddo ei hun fel Duw a brenin MOESENIAETH, *oherwydd* y maddeuant a gyflawnai efe o bechodau gwladol, ar yr iawn gwladol hwn, i'w Israel gwladol. Felly gosododd efe y Mab yn orsedd gras neu iawn, drwy oddefgarwch, fel Duw grasol y FFYDD, *oherwydd* y maddeuant a gyflawnai efe o bechodau moesol ar yr iawn moesol ac anfeidrol hwn, i'w Israel ysbrydol.

MADDEUANT *(paresis), a letting pass, practermission;* gadael i'r pechod fyned heibio, yn yr ystyr o edrych drosto, a pheidio â'i gospi. Mae yn air gwahanol i APHESIS, yr hwn a arwyddoca *bardwn, maddeuant*, yn mherffaith ystyr y gair. *Paresis* nid yw ond yn ein testun yn unig, a chan hyny dylem sylwi ar ei berwyddiad gydwreiddiol, PARIE'MI, *to let pass along, to neglect, to let loose, to relax;* gollwng y beiau heibio, eu hesgeuluso, eu gollwng fel carcharorion, yn rhyddion, heb sicrhau na chaffent eu hail-ddala; llaesa gafael ynddynt. "Cyfodwch i fyny y dwylaw a *laesasant.*" Arddengys maddeuant y cynbentecostiaid y maddeuwr tosturiol, megys yn llaesu ei ddwylaw wrth ddechreu taro, er nad ychwaith yn gollwng y wialen yn hollol o'i law, na'r gwg oddiar ei wyneb. Ar ddiwrnod byth-gofus Calfaria y collodd gwialen cosp yr hen dduwiolion yn dragywydd o'i law. Goruchwyliaeth y goddefgarwch oedd hono. Nid maddeuant fel hwn yw maddeuant y Testament Newydd, a nid crediniaeth yn naioni Duw yn unig, fel yr eiddynt hwy, a dâl yn gyfrwng maddeuant mwy, o du y pechadur. Nad beth am faddeuant Socinaidd gogyfer â'r amser cyn Calfaria, *yn awr* ni thal efe ddim. "Yn ei waed ef," yw hi yn awr.

TRWY DDIODDEFGARWCH *(en te anoche), during,* ar dymmor dyoddefgarwch Duw. Pa un yw meddwl yr ymadrodd,—"maddeuant drwy oddefgarwch Duw," ynte "pechodau a gyflawnwyd drwy oddefgarwch Duw?" Mae i'r gair bach *en*, trwy, a arferir yma, yn fynych yr ystyr o *tra, tra tymmor,* megys yn Matt. 12, 2, "yn, neu tra y Sabboth." Ond ANOCHE, yw *a holding back, delay, a truce;* ymataliad, oediad. Ceir yn unig hefyd yn pen. 2, 4, am yr un peth. Gan fod goddefgarwch at *bechodau* wedi cael ei arddangos gan y Duw da tuag at bawb fyrdd o weithiau, ni fuasai yn ymddangos mor gymhwys i'r apostol alw hwn yn dymmor goddefgarwch Duw, mwy na thymmor y Testament Newydd. Y math a nodwyd o faddeuant, neu esgeuluso pechodau y credinwyr, a olygir, ynte.

26 *I ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn; fel y byddai efe yn gyfiawn, †ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu.

* "I arddangosiad o'i gyfiawnder ef,"—Groeg. "I *yr* arddangosiad," yw darlleniad tri hen fibl Groeg, a dau o rai Lladin. † Nid yw y gair *Iesu* mewn dau fibl Groeg tra hen, a rhai diweddarach, ynghyd â dau fibl Lladin. "Iesu Grist," sydd yn y Coptaeg, Vulgate, biblau Theodoret, Morgan, a Rufinus. "Ein Harglwydd Iesu Grist," yw darlleniad yr hen Syriaeg. "Crist ein Harglwydd ni,"—Arabaeg.

I DDANGOS *(pros eudeixin).* Yn yr adnod ddiweddaf cawsom *eis*

*eudeixin*, am *i ddangos*, tra yma cawn *pros eudeixin*, am *i ddangos* yr un cyfiawnder. Paham gosod gwahanol ymadroddion yn yr iaith wreiddiol am yr hyn a gyfieithir yr un modd? Mae llawer ffordd o ateb y gofyniad hwn. Dywed Stuart, Tholuck, Flatt, a Turretin mai yr un ystyr sydd i'r ddau air, a chyfeiria y cyntaf at ymadroddion sy'n profi hyny. Etto gellid tybied fod yn yr *i* cyntaf ryw *duag at* o dueddiad agosach: fel hyn, "yr hwn a gyfansoddodd Duw yn iawn trwy y Ffydd yn ei waed ef, *tuag at* ddangos allan ei gyfiawnder ef, oherwydd y pechodau a wnaethid o'r blaen: *hyd* ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn, &c. Mae ychydig wahaniaeth agosrwydd i'r craff-ddarllenydd i'w ganfod; ac onid oedd hyny yn amcan yr apostol, onid tebygol y gwnaethai wahaniaeth yn newisiad ei eiriau. Yr oedd anghen am osodiad Crist yn iawn, nid yn unig i ddangos fod Duw yn gyfiawn pan gyfiawnhai efe ddeiliaid cynbentecostaidd y Ffydd, ond hefyd fel y byddai efe yn gyfiawn "y pryd hwn," tra yn cyfiawnhau y neb sydd o Ffydd Iesu. Ffydd yn Nuw oedd hi o'r blaen, ond y pryd hwn, "Ffydd Iesu;" wrth yr hyn y gwelir mai efe oedd Duw yr hen Ffydd erioed.

*Fel y byddai: verb in the infinit.* Nid, fel y gallai efe fod yn gymmaint, ond fel y byddai efe, o ganlyniad, yn gyfiawn, &c.

*O Ffydd Iesu.* Allan o, perthynol i Ffydd Iesu, fel yn ffynnon neu wreiddyn eu crefydd neu gyfundrefn o addoli. Am y lleill gallesid dywedyd "y rhai sydd o'r byd, neu ddoethineb fydol y philosophyddion,—y rhai sydd o'r Enwaediad,—y rhai sydd o'r Ddeddf,—y rhai sydd o Ffydd *anoche*, neu ymarosiad Duw; ond yma y rhai sydd o Ffydd Iesu.

27 *Pa le gan hyny *y mae* gorfoledd? Efe a gauwyd allan. Trwy ba ddeddf? ai *deddf* gweithredoedd? Nage; †eithr trwy ddeddf ffydd.

* "Dy orfoledd," yw darlleniad un hen fibl Groeg, Vulgate, ac amryw rai Lladin. "Gorfoledd, bost, ymffrost,"—Groeg. † "Trwy drefn athrawiaeth, neu gynllun ffydd,"—Barnes, Tholuck.

*Yn mha le*, gan mai rhad ras yw cyfiawnhad yn awr, ac ydoedd efe gynt hefyd—yn mha le mae *y* gorfoledd? Mae'r fannod *y* o flaen y gair, yr hyn sy'n dangos mai at rhyw orfoledd arbenig y cyfeirid. Cawn son am orfoleddu yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yn pen. 5, 2. Eithr y gorfoledd neillduol a fu gan yr apostol dan sylw eisoes yw hwn, canys gosododd y fannod i neillduoli o'i flaen.

Gorfoledd *(kauchesis)*. Gwel ar pen. 2, 17. Yr ystyr yw *boasting, glorying, exulting;* bostio, ymffrostio, ymogoneddu. Soniasai Paul yn yr adnod a nodasom, am fost yr Iuddew yn Nuw. Trwy yr Enwaediad a'r Ddeddf yr ymfostiai efe ynddo. "Yn mha le (medd yr apostol yn awr) mae y fost hono, gan hyny?" Neu efallai mai yn ngenau yr Iuddew ei dyru hi.

Bwriwyd allan *(execleisthe), to shut out, to exclude.* "Chwennych y maent eich *cau* chwi *allan*," Gal. 4, 17, yn ein testun, yr ystyr yw, bod heb le; fod ymffrost yr Iuddew yn Nuw heb le.

*Trwy ba ddeddf?* trwy ba un o'r tair, Enwaediad, Moeseniaeth, ynte Ffydd. Wrth ba oruchwyliaeth, medd Stuart; eithr tebycach yw, gan fod y gair *Deddf* ei hun yn cael ei arferyd gan ein hapostol am oruchwyliaeth o'r eiddi ei hun, mai dadguddiad neu osodiad yw yr ystyr.

*Deddf gweithredoedd?* yn hytrach "O weithredoedd?" A yw goruchwyliaethau Deddf natur neu Moses, dan ba rai yr oedd gweithredoedd dyn ei hun yn ennill iddo gyfiawnder y cyfundraethau hyny, yn cau allan ymffrost yr Iuddew? nac ydynt. Caiff pagan gadw deddf ei gydwybod, ynghyd â'r hyn a ddarllena efe o ddeddf Duw ar lyfr creadigaeth, ac er ennill o hono felly gymmeradwyaeth ei greawdwr am ei ufydd-dod, ni ennilla efe byth yr hyn â rydd iddo destun ymffrost fel ennillwr cyfiawnder cyfiawnhäol am gymmaint ag un o'i feiau. Cyfiawnder i'r ufydd yw cyfiawnder cyfundrefn Natur. Allan o gyfundrefn y Ffydd y ceir y cyfiawnder sydd yn destun ymffrost, sef ymffrost yn Nuw drwy ein Harglwydd Iesu Grist. Dyna gyfundrefn Natur fel gosodiad i ddyn ennill cyfiawnder ar dir ufudd-dod, wedi methu â'i gynnysgaethu â'r cyfiawnder sy'n angen ar yr anufydd. Cyfundrefn arall oedd â'i chyfiawnder yn gyrhaeddadwy drwy weithredoedd o ufydd-dod, oedd y Ddeddf. Ie, yr oedd gan hon iawn hefyd am anufydd-dod; sef am anufydd-dod i'r rhestr o feiau bychain, pendant, a nodasid ar ei llyfrau; ond nid am fai moesol, ac anfad ynddo ei hun. Nid allan o'r Ffydd y ceid iawn am droseddu ei gosodiadau hi. Ni buasai maddeuant dirgel Duw y Ffydd yn rhyddhau dim ar y pechadur oddiwrth iawn a chospau Jehofa, Duw y Ddeddf. Maddeuodd Duw y Ddeddf i Dafydd ac Eli. Maent yn y nef yn awr; eithr ni faddeuodd Jehofa, Duw Moeseniaeth iddynt hyd heddyw, canys disgynodd cosp eu pechodau ar eu tai, yn ol barnau Moeseniaeth. Felly, nid oedd un lle i fostio o Ddeddf gweithredoedd *Moses*, mwy na'r llall a nodwyd, am ei bod yn cynnysgaethu pechadur â chyfiawnder. Ni chyfranai hi un math o gyfiawnder i'r pechadur mawr; ac am hyny, cauwyd allan, nid *pob* gorfoledd, ond *y* gorfoledd Iuddewig, Phariseaidd, Antinomaidd, dan sylw yn pen. 2, 17; a thrwy osodiad y Ffydd y cauwyd ef; canys y mae hi, nid yn unig yn cyfiawnhau y crediniol, ond yn condemnio cyfiawnderau deddf Natur, a Moses, ac Enwaediad, os amddifad fyddis o'r credu, yr hyn yw ammod rasol ac oesol cyfundrefn y *Ffydd*.

28 *Yr ydym ni gan hyny yn cyfrif mai drwy ffydd y cyfiawnheir dyn, †heb weithredoedd y ddeddf.

* "Canys yr ydym ni yn cyfrif," yw darlleniad yr hen fiblau parchusaf yn y Groeg, ac ieithoedd ereill. "Y cyfiawnheir dyn â ffydd,"—Groeg. "Trwy ffydd," yw darlleniad rhai hen fiblau. "Yr ydym ni wedi ein perswadio mai,"—Hodge. "Mai trwy gredu, &c.,"—Barnes. "Mai trwy ffydd yn unig,"—Bibl Luther. ‡ "Heb weithredoedd deddf,"—Groeg. Act. 13, 38, 39; Rhuf. 8, 3; Gal. 2, 16.

Yn cyfrif *(logizometha)*, *we conclude*: yr ydym yn penderfynu, gan mai fel y dywedwyd y mae pethau yn bod.

Trwy ffydd *(pistei Dat)*. "Yr ydym yn cyfrif gan hyny i Ffydd

i gyfiawnhau dyn, heb weithredoedd deddf." "Heb gymhorth gweithredoedd deddf natur na Sina."

29 Ai i'r Iuddewon *y mae efe* yn Dduw yn unig? onid *yw* i'r Cenedloedd hefyd? yn wir, *y mae efe* i'r Cenedloedd hefyd:

30 *Gan mai un Duw *sydd,* yr hwn a gyfiawnha yr enwaediad wrth ffydd, a'r dienwaediad trwy ffydd.

* "Ac felly y mae efe yr un a'r unrhyw Dduw,"—Conquest. "Gan mai un Duw sydd, efe a gyfiawnha, &c.,"—A. Campbell. Rhuf. 10, 12, 13; Gal. 3, 8, 20, 28.

Cawn yma ail ganlyniad trefn y Ffydd o gyfiawnhau; arddengys Dduw yn gystal eiddo i'r Cenedloedd ag i'r Iuddewon. Nid oedd hawliau y cenedloedd yn Nuw, dan dymmor Moeseniaeth, wedi ei gau allan, canys yr oeddynt oll dan Ffydd Duw, er nad dani yn ei heglurder fel Ffydd Iesu. Mae yn yr athrawiaeth hon, egwyddorion crefydd gyffredinol. Dan y Ddeddf, Duw cenedl oedd efe, ond dan y Ffydd, Duw holl genedloedd y ddaear. Nid oedd drygioni y paganiaid yn un rhwystr iddynt wasgu yn mlaen i hawlio maddeuant ar dir rhad ras, eithr ni allasent gael dynesu at Jehofa, Duw Israel Palestina. Nid yw y Groeg yn dywedyd na *mae* na *bu;* ond yn cynnwys y ddau amseriad.

"Gan mai yr un a'r unrhyw Dduw, yw yr hwn a gyfiawnha yr Enwaediad allan (o, i wared o, fel o ffynnon bell yn mlaen,) o Ffydd, a'r dienwaediad drwy yr un Ffydd, fel achos a chyfrwng agos ato." Yr Enwaediad a'r Dienwaediad a arwyddocânt Iuddewon a Chenedloedd.

31 Wrth hyny, a ydym ni yn gwneuthur *y ddeddf yn ddirym drwy ffydd? Na ato Duw: eithr yr ydym yn cadarnhau y †ddeddf.

* "Y ddeddf foesol,"—Hodge, Barnes, Calvin. "Y ddeddf seremoniol,"—Socinus, Erasmus. "Yr Hen Destament,"—Flatt, Koppe, Stuart, Tholuck.

*Deddf,* ac nid *y ddeddf;* gan gyfeirio at ddeddf natur a dadguddiad Sina.

Difuddio *(katargoumen) to render useless,* difuddio; nau *to make vain,* troi yn ofer; neu wneyd yn ddiffaith; neu ddystrywio.

*Cadarnhau (istemi), to cause to stand,* peri i beth sefyll. Yn pen. 10, 3; Heb. 10, 9; Exod. 6, 4, cawn am *gadarnhau.* "Ceisio cadarnhau eu cyfiawnder eu hunain." "Y mae yn tynu ymaith y cyntaf, fel y gosodai yn gadarnhäol yr ail." "Mi a sicrheais (gadarnheais) fy nghyfammod â hwynt, am roddi iddynt wlad Canaan," ystyr yr adnod yw hyn, gan hyny:—"A ydym ni, gan hyny, yn troi yn ddiffaith, ac yn dystrywio deddfau natur a Sina, oddiwrth eu hamcan dwyfol, drwy gyfundrefn y Ffydd? A ydym ni yn gwneyd cam ag amcan deddf natur, drwy ddywedyd na allant gyfiawnhau neb ond yr ufydd? A ydym ni yn gwneyd cam â Moses drwy ddywedyd na allai yntau gyfiawnhau pechadur gerbron Duw y Ffydd—Duw y farn fawr—y Duw tragywyddol? Ai cam a Sina oedd ynom ddweyd na feddai un cyf-

iawnder ond un amserol, gwladol, a dyddim: na feddai ddim o'r cyfiawnder tragywyddol sy'n eisieu ar bechadur colledig? Nage! Chwychwi a daflasoch Sina oddiar ei sylfaeni dwyfol, ac a'i gosodasoch ar seiliau y Ffydd, yno mae efe yn siglo. Minnau a ddaethum i'w gadarnhau, drwy ei osod ar ei hen wadnau dwyfol ei hun." Cadarnhau y Ddeddf yr oedd Paul drwy ei gosod a'i gadael yn ei lle ei hun. Ond dystrywiai Paul y gyfundrefn a luniasai yr Iuddewon, o bwyso ar enwaediad a chyflawniadau Moeseniaeth; sef ar y cyfiawnder a gyfrifasai Duw i Abraham, ac ar y golchiadau, defodau, ac aberthau, am fwynhad o'r cyfiawnder cyfiawnhäol hwnw, yr hwn a gyssylltasai Duw â chredu yn ol cyfundrefn y Ffydd yn unig.

## CYFIEITHAD NEWYDD.—PEN. III.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

[GWRTH-DDADL I] (1) Pa beth, gan hyny, mantais yr Iuddew? Neu, pa beth budd yr **ENWAEDIAD**? [ATEB] (2) Llawer mewn gwahanol ystyriaethau; y penaf modd bynag, ydoedd eu bod wedi eu hymddiried am oraclau Duw. [GWRTH. II] (3) Beth ynte, os anymddiriedodd rhai, a wna eu hanymddiried hwynt ymddiriediad Duw [o'i gyfammod iddynt hwy] yn ddieffaith? [ATEB] (4) Dim mewn un modd; eithr bydded Duw yn eirwir, a phob dyn gelwyddog; megys y mae yn ysgrifenedig, "Fel y'th gyfiawnhaer pan lefarych, ac y gorfyddech pan y'th farner." [GWRTH. III] (5) Eithr os yw ein hanghyfiawnder ni yn dadblygu cyfiawnder Duw, pa beth a ddywedwn? Onid anghyfiawn yw Duw wrth ddwyn arnom ddigofaint? [ATEB] Llefaru fel y dynion hyny yr wyf. (6) Dim mewn un modd: canys pa fodd, felly, y barna Duw y byd? [GWRTH. IV] (7) Canys os ffyddlondeb Duw i'w air a arddangoswyd yn fwy i'w ogoniant ef, drwy fy anffyddlondeb i, paham y'm condemnir i mwy fel pechadur? [ATEB] (8) A ddywedwn ni, gan hyny, megys y cableddus gyhoeddir ac yr haera rhai ein bod ni [yr apostolion] yn dywedyd: Gwnawn ddrwg fel y delo daioni? damnedigaeth pa rai sydd gyfiawn.

[GWRTH. V] (9) Beth, gan hyny? a feddwn ni un rhagoriaeth [ynte]? [ATEB] Dim mewn un modd; canys cyhuddasom eisoes yn gystal Iuddewon a Chenedloedd, o fod oll dan bechod; (10) Megys y mae yn ysgrifenedig, "Nid oes neb cyfiawn; nac oes un." (11) "Nid oes neb yn deall, nid oes neb yn ceisio Duw." (12) "Troisant oll o'r neilldu; aethant gyda'u gilydd yn llygredig: nid oes wneuthurwr daioni, nac oes gymmaint ag un." (13) "Bedd agored yw eu ceg: twyllant â'u tafodau: gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau: (14) eu genau sydd gyflawn o reg a chwerwedd." (15) "Eu traed sydd gyflym i dywallt gwaed. (16) Dystryw a thrueni sydd yn eu ffyrdd: (17) a ffordd tangnefedd nid adnabuant." (18) "Nid oes ofn Duw gerbron eu llygaid." (19) Gwyddom, bellach, am ba bethau bynag a ddywed y DDEDDF, mai wrth y rhai dan y *Ddeddf* y dywed; fel y caffo pob genau ei chau, ac y delo yr holl fyd yn euog gerbron Duw. (20) Oblegid allan o weithredoedd deddf ni chyfiawnheir un cnawd ger ei fron ef; canys adnabyddiaeth pechod sydd drwy ddeddf.

(21) Eithr yn awr heb ddeddf cyfiawnder Duw a eglurwyd, i'r hwn y tystiolaethid gan y ddeddf a'r prophwydi; (22) eithr cyfiawnder Duw trwy Ffydd Iesu Grist [yw efe] i bawb [yn gynnygiadol], ac ar bawb [yn gyfraniadol], ag a gredant; (canys nid oes gwahaniaeth, (23) oblegid pechasant bawb, ac aethant yn ol am ogoniant Duw) 24 Gan gael eu cyfiawnhau yn rhad gan ei ras ef drwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist; (25) yr hwn a gyfansoddodd Duw yn drugareddfa-wr drwy y Ffydd yn ei waed ef, tuag at ddangos ei gyfiawnder ef, oherwydd gollyngiad heibio y pechodau a wnaethid o'r blaen, GODDEFGARWCH Duw; (26) Hyd at ddangosiad o'i gyfiawnder y pryd hwn, fel y byddai efe [o ganlyniad] yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb fo berthynol i Ffydd Iesu.

(27) Yn mha le, gan hyny, mae yr ymffrost? Mae wedi ei gau allan. Drwy ba ddeddf? ai y rhai o weithredoedd? Nage: eithr drwy ddeddf Ffydd. (28) Yr ydym yn penderfynu, gan hyny, FFYDD i gyfiawnhau dyn heb WEITHREDOEDD deddf. (29) Ai Duw'r Iuddewon [oedd, yw, fydd efe] yn unig? Onid i'r Cenedloedd hefyd? o'r Cenedloedd hefyd, yn ddiau, (30) gan mai un y Duw, yr hwn a gyfiawnha yr enwaediad allan o FFYDD [fel ffynnonell hirbell], a'r dienwaediad drwy yr un *Ffydd* [fel achos agosach]. (31) A ydym ni, gan hyny, yn gosod deddf yn [beth] ofer drwy y FFYDD? Dim mewn un modd! oblegid sefydlu deddf yn ei lle [ei hun] yr ydym.

---

## PENNOD IV.

### § 12. YR HEN DESTAMENT YN DYST NAD DRWY YR ENWAEDIAD NA'R DDEDDF, OND MAI DRWY Y FFYDD Y CYFIAWNHEID PECHADUR. ADN. 1—25.

TYBIA'r apostol fod y gwrthwynebwr yn dadleu yn ei erbyn, yn ngwyneb yr hyn a nodwyd—fod ei egwyddorion yn gwneyd manteision enwaediad, hyd y nod i Abraham ei hun, yn ddim (1). Mewn ateb i'r hyn, dyfyna Paul allan o hanes cyfiawnhad Abraham (3), a Dafydd, ddigon i brofi nad oeddynt hwy eu deuoedd yn gyfiawnhaol drwy un drefn ond y FFYDD. Ac os na chyfiawnhaodd enwaediad y naill, nâ'r Ddeddf y llall, rhaid na allant gyfiawnhau neb o'r Iuddewon (8). Ychwanega fod Abraham wedi meddiannu y cyfiawnhad hwn cyn derbyn enwaediad (10), yr hyn a brawf nad perthynol i'r enwaediad yn unig ydoedd, yn gymmaint ag mai sêl oedd enwaediad, a osodiad Duw yn ei gnawd ef, i arddangos ei fod wedi ei gyfiawnhau drwy drefn y *Ffydd*. Nad oedd enwaediad ddim ond trefn o sêl amlwg Duw, yn îs-wasanaethol i'r Ffydd; ac i gadw cyfiawnhad trwy y Ffydd mewn coffadwriaeth (11). Ei fod, gan hyny, wedi cael ei gyfansoddi yn dad neu ragflaenydd enwaediadol, i bawb a gyfiawnheir dan dymmor goruchwyliaeth y sêl hon, pa un bynag a fydd nod y cyfiawnhad a gawsai Abraham arnynt, ai peidio (12); oherwydd nad drwy y NOMOS, neu Ddeddf, ond gannoedd o flynyddau cyn son am dani, y cafodd Abraham yr addewid am y byd yn etifeddiaeth iddo (13); ond drwy y cyfiawnder a gawsai efe allan o'r *Ffydd;* canys, os o'r *Ddeddf* y daeth y byd yn etifeddiaeth i Abraham, aeth y *Ffydd* yn ofer, a'r hen addewid dani gymmaint o amser cyn son am y Ddeddf, yn ofer hollol (14). Mai digofaint, yn lle maddeuant rhad, oedd prif gymwynas y Ddeddf (15); a bod Duw wedi trefnu i'r cyfiawnhad ddisgyn i bechadur drwy y Ffydd, er mwyn ei gyflwyno iddo yn rhad, ac i'r holl had addewidiol i Abraham, y rhai nid ydynt neb yn y diwedd ond deiliaid cyfundrefn y Ffydd (16). Yna rhed yr apostol yn mlaen at wrthddrych ac anhawsderau crediniaeth Abraham, yr hyn a osodwyd mewn coffadwriaeth er mwyn holl deulu y *Ffydd* oddiyno hyd y diwedd (24).

PA *beth gan hyny a ddywedwn ni ddarfod i †Abraham ein tad ni ei ‡gael yn ol y cnawd?

* "Pa fantais, gan hyny?"—Belsham. † "Abraham ein cyn-dad," medd yr hen fiblau Groeg, A, B, C, yr hen gyfieithiadau Syriaeg, Coptaeg, ac Armenaeg. Felly Tholuck. Esay 51, 2; Mat. 3, 9; Ioan 8, 33. "Ein tad ni yn ol y cnawd ei gael?"—Chrysostom, Erasmus, Limborch. ‡ "Yn ol manteision allanol," medd Witsius, Cocceius. "Trwy y cnawd,"—Hodge. "Yn ol enwaediad." medd Wetstein, Venema, Michaelis, Koppe, Bretschneider, Stuart, Barnes. "Yn naturiol," medd Calvin. "Yn ol cenedliad cnawdol,"—Grotius. "Yn ol gweithredoedd,"—Theodoret. "Pa beth, gan hyny, a ddywedwn ni? Ai fod Abraham wedi cyrhaedd [cyfiawnhad] drwy ei ymdrechion ei hun?"—Clericus, Grotius.

Arholiad IV.—YN OL Y CNAWD (*kata sarca*). Arferir ef yn y manau canlynol:— Act. 2, 30; Ioan 8, 15; Rhuf. 1, 3; a 8, 1, 4, 5, 12, 13; a 9, 3, 5; 1 Cor. 1, 26; a 10, 18; 2 Cor. 1, 17; a 5, 16; a 10. 2, 3; Gal. 4, 23, 29; a 5, 17; Eph. 8, 5; Col. 3, 22. Gan fod iddo amryw ystyriaethau, rhaid talu sylw yn unig iddo yn yr epistol hwn; sef yn yr arholiadau cyfundraethol. "Rhodio, nid yn ol y cnawd"—y gyfundrefn Phariseaidd, nodwedd yr hon oedd cyflawni pob ysgelerder yn ddirgel, gan bwyso ar y berthynas *gnawdol*, enwaediadol, ag Abraham, ynghyd ag ar ddefodau *cnawdol* y Ddeddf, am gyfiawnhad yn y diwedd; y rhai sy'n rhodio nid felly, ond yn ol yr Ysbryd Glân, neu reolau dadguddiadol yr Ysbryd. "Dyledwyr ydym (medd efe eilwaith) nid i Phariseaeth, i fucheddu yn ol Phariseaeth." Felly, "gan rodio yn mysg y Phariseaid, nid ydym yn rhyfela yn ol Phariseaeth." 2 Cor. 10, 3,—"Y rhai a dybiant am danom (ebe efe o'r blaen) fel pe byddem yn rhodio yn ol Phariseaeth."

Ymddengys fod y gair wedi ymdreiglo oddiwrth ei ystyr gyntaf o gig a gwaed, hyd fod yn berthynas deuluol neu genedlaethol, oddiyno at y natur ddynol yn gyffredinol; oddiyno at fath o grefydd yn ol trachwantau y corff yn hollol, megys Phariseaeth yn mysg yr Iuddewon, cilunaddoliaeth Bacchus, Venus, &c., yn mysg y Groegiaid a'r Rhufeiniaid. Yn mha le bynag o'n hepistol y cawn "yn ol y cnawd," yn nglyn â geni, neu berthynasau dynol, perthynas ddynol a feddylir; ond pan yn nglyn â buchedd, crefydd y wlad dan sylw fyddai yr ystyr, sef yr hon a bwysai ar berthynas ddynol, neu nodau cnawdol, fel rhyddhad oddiwrth gondemniad am bechodau trachwantus.

Pe perthynas gnawdol a feddylid yma, perthynas a phwy allem ei galw? Gallasem alw y peth ynglyn â'r Iuddewon, yn berthynas ag Abraham, ond am dano ef, nis gallwn ei galw yn berthynas â neb yn y byd. Tebyg, gan hyny ynte, mai yn ol yr hyn a alwai yr apostol yn *gnawd* yn yr wythfed bennod, a manau ereill o'r epistol, a feddylir, sef yr hyn a ddywedwyd yn yr Arholiad isod.

2 *Canys os Abraham a gyfiawnhawyd drwy weithredoedd, †y mae iddo orfoledd; ‡eithr nid gerbron Duw.

* "Trwy weithredoedd y ddeddf," oedd darlleniad biblau Morgan, ac Ambrosiaster. "Ei haeddiant ei hun," medd Barnes, a Stuart. "Canys *os*," o ammheuaeth,—Groeg. Rhuf. 3, 20, 27, 28. † "Y mae ganddo le i ymffrostio,"—Stuart, Walford, Barnes. "Efe a allai ymffrostio,"—J. Williams. ‡ "Nid oedd ganddo un sail i fostio gerbron Duw," medd Calvin. "Nid gerbron Duw, mae'n wir, ond ynddo ei hun, fel un wedi ymddwyn yn uniawn," medd Ecumenius. "Os cyfiawnhawyd Abraham drwy weithredoedd gerbron Duw," medd amryw. "Y mae iddo ymffrost gerbron Duw,"—Stuart. "Y mae iddo orfoledd, mae'n wir, gerbron dynion, eithr nid gerbron Duw," medd Beza, Grotius, Semler, Koppe, Tholuck, Ruckert.

*Drwy weithredoedd;* neu yn hytrach allan *(ek. c. gen)*, o GWEITHREDOEDD; yr hwn sydd air yn gyferbyniol i'r FFYDD, ac yn cynnwys holl ddyledswyddau yr *Enwaediad* a'r *Ddeddf.* Er mwyn cynnwys dyledswyddau pob cynllun gwladol mewn gair, cymmerodd Paul i fynu y gair hwn, canys yr oedd efe yn dadlu yn erbyn fod dyledswyddau y cyfammodau Abrahamaidd na'r Moesenaidd yn seiliau cyfiawnhad i bechadur. Cawn yr un gair hwn *trwy, allan o*, yn adn. 26, "ac yn gyfiawnhäwr yr hwn sydd allan o, neu berthynol i Ffydd Iesu." Felly yma "cyfiawnhau *allan o*, neu drwy berthynas â *Gweithredoedd* mewn cyferbyniad i *Gras.*"

*Nid gerbron Duw.* "Gwir yw," fel pe dywedasai "fod Abraham yn meddu gweithredoedd da ei gyfammod ei hun, sef cyfundrefn *En-*

*waediad;* a bod Duw yn talu iddo gyfiawnder y cyfammod hwnw am y cyfryw ufydd-dod; ac os oedd ganddo le i ymffrostio, nid yn nghyfundrefn y *Ffydd*, nid yn nhrefn cyfiawnhad pechadur, nid gerbron Duw—nid mewn perthynas â *(pros with ace)* Duw, eithr mewn perthynas ag Enwaediad, yr oedd ganddo y cyfryw ymffrost. Gall y darllenydd gymmeryd a fyno o'r ddau esboniad. Mae grammadegiaeth yr adnod dros yr olaf, debygwyf, er fod yr esbonwyr yn ei erbyn, gan orfod cydio dernyn at yr adnod er mwyn ei gwneyd yn eglur.

3 Canys pa beth a ddywed yr ysgrythyr? *Credodd Abraham i Dduw; †a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.

* Gen. 15, 8; Gal. 3, 6; Iago 2, 23. "Credodd Abraham Dduw," medd Walford. † "A chyfrifwyd iddo y weithred o gredu, sef ei eiddo ei hun, yn gyfiawnder," medd Barnes, Belsham, Walford. "Edrychodd Duw ar ymostyngiad mabaidd Abraham fel pe buasai yn wir santeiddrwydd, a chyssylltodd haeddiant wrtho yn unig," medd Tholuck; yn debyg Luther. "A chyfrifwyd cyfiawnder Crist, gwrthddrych ei ffydd, iddo," medd amryw. "Cyfrifwyd ffydd iddo fel moddion ei gyffawnhad," medd Hodge.

4 Eithr *i'r neb sydd yn gweithio, ni chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled.

* Rhuf. 11, 6. "I'r neb sy'n perffaith gyflawni y gyfraith," medd Stuart, Hodge, ac amryw. "I'r neb sy'n ceisio cyfiawnhad drwy weithredoedd," medd rhai. "I'r neb sy'n cyflawni gweithredoedd, ni ddywedir fod y gwobr yn cael ei *gyfrif*, yr hyn fuasai yn arwain i feddwl ei fod o ras; eithr ei dderbyn y mae efe am ei fod yn ei deilyngu," medd Michaelis.

Credodd *(epistense)*, *to believe, to burst;* meddu perswadiad cryf o wirionedd rhywbeth; ymddiriediad diamheuol yn ngwirionedd a chywirdeb rhyw berson. Ond gwel y Traethawd ar *Ffydd*.

Cyfrifwyd *(logizesthai)*, *to reason, to think, to consider, to reckon;* ymresymu, meddwl, ystyried, cyfrif. Hefyd, *to conclude, judge, suppose, to hold;* penderfynu, barnu, tybied, dal allan. Hefyd, dodi yn nghyfrif un. Ond gwel Traethawd ar *Gyfiawnder*.

Yn gyfiawnder *(eis dicaiosunen)*, tuag at, fel, megys. Cawn yr un *yn* neu *eis* hefyd yn adn. 5, "ei ffydd ef a gyfrifir i, fel, megys, yn gyfiawnder. Adn. 9—"ddarfod cyfrif ffydd i Abraham yn gyfiawnder." Adn. 22,—"Ac am hyny y cyfrifwyd iddo ef yn, i, fel cyfiawnder." Cawn yr un ymadrodd etto yn Gal. 3, 6, oll wedi eu dyfynu allan o Gen. 15, 6, megys hefyd Salm 106, 31; Marc 2, 52. Yn awr gofynaf i'r sawl sy'n methu ymollwng oddiwrth yr hen ddull o esbonio yr epistol hwn, ac yn dal i alw Ffydd yr epistol yn grediniaeth; pa beth a raid fod ystyr y gair *ffydd* yn adn. 5, a 22. Ai, Ei grediniaeth ef, ynte cyfundrefn fawr a grasol y Ffydd, a gyfrifwyd yn gyfiawnder iddo ef? Ond rhagor etto ar hyn.

*I'r hwn sy'n gweithio* gwaith cynlluniau *Enwaedïad* a *Deddf*, ni chyfrifir, nid ystyrir y wobr yn ol gras, eithr yn ol dyled; eithr yr hwn sydd yn cyflawni gwaith y *Ffydd*, sef credu yn Nuw, a gaiff gyfiawnhad rhad; canys nid yw yn talu am dano; oherwydd tâl nid oes ond

iawn digonol. Credu nid yw un math o dalu. Ymddiried yn y deddfroddwr digofus nid yw un teilyngdod yn yr euog, heb iawn ganddo iddo ef. Felly, mae y cyfiawnhad yn hollol o ras, er yn nglyn wrth yr ammod o ymddiriediad mewn iawn, neu gymmod, oddiallan iddo ei hun.

GWOBR *(misthos)*, *hire*, *wages*, *recompense;* cyflog, taliad. Arferir y gair am wobr yr efengyl, megys yn Mat. 5, 12, 46 ; a 6, 1, 2, 5, 16, &c., yr hyn sy'n dangos nad gwadu taliad, gwobr, a chyflog, y mae yr apostol yn ein testun, ond gwadu ei fod yn nglyn â dyled yn Nuw i'w gyfranu. Os yw Duw yn addaw gras yn nglyn â rhyw ddyledswydd, aeth yn gyflog o ras, yn wobr o drugaredd oddiwrtho i'r ufydd, pan yr ufyddhaodd efe. Gwelwn fod i'r gair *misthos* yr ystyr o gyflog neu wobr oddiwrth y naill ochr yn unig. Nid ydym ni yn galw rhodd fo wedi cael ei haddaw, yn wobr nac yn gyflog. Rhaid i ni gael yr ystyriaeth o ennilliad a dyled cyn y gallwn feddwl am gyflog. Eithr arferodd Paul y gair *cyflog* am yr hyn oedd yn rodd perffaith o ran dyled, am ei bod yn wobr o ran addewid ac ammod o dderbyniad croesawgar. Pe talai yr Armin a'r Calvin sylw manwl i'r hyn a nodwyd, gallant gydweled ar y pwnc hwn yn hawdd.

5 Eithr *i'r neb nid yw yn gweithio, ond yn credu yn yr hwn †sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, ‡ei ffydd ef a gyfrifir yn gyfiawnder.

* "I'r neb nid yw yn ymddibynu ar ei waith," medd Barnes, a Hodge. "Nid Abraham oedd 'y neb nid yw yn gweithio,' canys nid oedd gras cyfiawnhaol Duw yn wrthddrych i'w grediniaeth ef," medd S. Schmidt, Baumgarten, C. Schmidt. "Abraham oedd 'yr annuwiol' hwn, canys ni fuasai efe berffaith dan y ddeddf foesol," medd Beza. "Efe ydoedd, canys ystyr y gair yma yw *eilunaddolwr*," medd Michaelis, Rosenmuller, Koppe, Grotius, Wetstein. "I'r neb nid yw yn cynnyrchu perffaith ufydd-dod," medd Stuart. † "Yn ymddwyn at yr annuwiol fel pe byddai efe ei hun yn gyfiawn," medd Stuart. ‡ "Ei grediniaeth ef a gyfrifir am gyfiawnder," medd Stuart. "Yn gyfiawnder yn ol penderfyniad gras," yw darlleniad rhai o'r Vulgate, a rhai biblau Lladin ereill.

"I'r hwn nid yw yn perffaith ufyddhau," medd Stuart, fel pe byddai gan ufydd-dod perffaith hawl i gyfiawnder y *Ffydd*, yr hwn a luniwyd gogyfer â, ac yn gymhwys yn unig i, bechaduriaid crediniol; ïe, pe buasent wedi anufyddhau i bob gorchymyn ond yr un am gredu yn Nghrist.

*Cyfiawnhau yr annuwiol;* sef yr hwn *sydd yn* cyfiawnhau y cyfryw. "Yn ymddwyn tuag ato fel pe byddai efe ei hun yn gyfiawn," medd Stuart, Barnes, Hodge, ac ereill. Eithr ystyriwn ychydig. Os cyfiawnhau yr *annuwiol* y mae Duw, nid y cyfiawn y mae efe. Ai ymddwyn tuag ato fel pe byddai efe yn gyfiawn y mae efe wrth ei gyfiawnhau ef? Onid ei ryddhau yw ei gyfiawnhau ef? Pan gredo efe yn Nghrist yn y modd gofynol gan drefn Duw, mae Duw yn ei ryddhau ef. Dyn *annuwiol* y mae efe yn ei ryddhau, ac nid un a ystyrir nac a gyfrifir yn gyfiawn. *Ar ol* ei ryddhau yr ystyrir ef yn rhydd neu gyfiawn. Adyn condemniedig a ryddheir gan ein llywodraeth ni

wrth faddeu iddo. Ar ol ei ryddhau, y mae efe yn gyfiawn. Rhaid i gyfiawnder y Ffydd—cyfiawnder iawnol Crist, gael dyn yn annuwiol, euog, a chaeth, cyn y gall efe nesu i un berthynas ag ef. Rhaid i Dduw fel Tad gael creadur rhydd oddiwrth gondemniad a gwrthryfel cyn y gall efe ymbleseru ynddo.

6 Megys y mae Dafydd hefyd yn datgan dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder iddo *heb weithredoedd, gan ddywedyd,

7 †Dedwydd yw y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau.

8 Dedwydd yw y gwr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo.

* "Heb weithredoedd y ddeddf foesol." † Salm 22, 1, 2. "Y *maddeu* neu fwrw heibio, a'r *cuddio*, oeddynt ddau air Hebreigaidd am yr un peth," medd Tholuck. "Y *cuddio pechod* oedd peidio â'i gospi," medd Stuart. "Dedwydd hwy! camweddau y rhai faddeuwyd, a phechodau y rhai orchuddiwyd. Dedwydd ddyn! i'r hwn ni chyfrifa yr Arglwydd bechod,"—Groeg.

Dyna ddigon am oruchwyliaeth yr Enwaediad. Trwy y Ffydd y cyfiawnhawyd Abraham ei hun; pa faint mwy ei holl blant ef? Profir yma fod saint y *Ddeddf*, y rhai a berthynent i Jehofa fel ei ddeiliaid, yn perthynu iddo hefyd fel eu Duw ysbrydol drwy y *Ffydd.*

*Dedwyddwch;* neu yn llawen-gyfarch y dyn, &c.

*I'r hwn.* Pa fodd y dywed Stuart a Barnes, nis gwn, nad yw y gair *cyfrif* yn cael ei arferyd am, ac nad yw Duw ychwaith yn cyfrif eiddo y naill i'r llall yn y cyfiawnhad. Oni ddywedir yma, ac ni a'i cyfieithwn yn hollol lythyrenol—"I'r hwn y cyfrifa," neu, "I'r hwn y mae Duw yn cyfrif cyfiawnder heb *weithredoedd?*" Cawn yma gyfrif i hwn. Cawn mai *cyfiawnder* yw yr hyn a gyfrifir i hwn. Yn adn. 5, cawsom fod *hwn* yn *annuwiol* pan y rhyddheid drwy y cyfiawnhad. Ac o ba le yr oedd gan *hwn*—yr *annuwiol hwn*, gyfiawnder o fath yn y byd; ïe, cyfiawnder digonol, o'i gyfrif iddo, i'w wneyd yn "ddedwydd" fel y dywedasai Dafydd frenin? Eithr, os nad oedd ganddo y cyfiawnder hwn ynddo ei hun, ac os cyfrifwyd ef iddo yn y cyfiawnhad, o ba le, a thrwy ba lwybr y cyfrifwyd ef iddo? Y fynyd o'r blaen nid oedd yn eiddo iddo, yn awr ei eiddo ef yw. Nid wyf fi yn gallu dirnad pa fodd y gall yr ymadroddion hyn gydsefyll â'u gilydd, heb i ni ystyried cyfrifiad trosglwyddedig yn meddwl a threfn Duw, sef trefn y Ffydd, dros yr hon y dadleua ein hepistol.

ANWIREDDAU *(anomia)*, anghyfraith. Toriad cyfammod o ryw fath. Anffyddlondeb i rwymedigaeth. Arferir am ddeiliaid Sina, a phroffeswyr crefydd hefyd.

*Cuddiwyd*, neu orchuddiwyd: yr ystyr yw, fod y pechodau yn cael eu symud o'r golwg, fel nad oedd un gosp dan y cyfammod hwnw i ddisgyn am danynt, na byth, os caffai Duw iawn drostynt.

*Nid yw—yn cyfrif pechod;* sef nad yw yn ei ddal yn gyfrifol am danynt yn y byd hwn; nac yn ei gospi yn yr hwn a ddaw. Gan nad

oedd un sail ymffrost gan un o'r enwogion a nodwyd, rhaid nad oedd gan neb o'r genedl, wrth gwrs, hawl i son am gyfiawnhad drwy ei weithredoedd.

NI CHYFRIFA *(ou me logizetai)*. Mae yma ddau air nacaol—*ni, ni chyfrif*. Mae y naill yn nacâd hollol a diammheuol, tra mae y llall yn fath o nacâd ar ammod. Gan hyny cyfeiriant fel hyn:—"Os na chyfrifa yr Arglwydd anwiredd i'r gwr, ni bydd dim ond gwynfydedigrwydd iddo." Os ceir yr ymadrodd cyntaf yn gadarn, mae yr olaf yn sicr o fod felly. Edrychwn ni ein hunain, ynte, at y nacâd cyntaf, ac ni raid i ni ammau Duw am yr olaf.

9 *A ddaeth y dedwyddwch hwn, gan hyny, ar yr enwaediad yn unig, ynte ar y dienwaediad hefyd? †Canys yr ydym yn dywedyd ddarfod cyfrif ffydd i Abraham yn gyfiawnder.

* "Y dedwyddwch hwn, gan hyny, ai ar yr enwaediad? ai ynte ar y dienwaediad hefyd?"—Groeg llythyrenol. "Yr enwaediad yn unig," yw darlleniad dau o hen fiblau Groeg parchus, a rhai Lladin; ond nid oes eisieu, "Ai ar yr enwaediad yn unig yr erys efe?" meddai biblau Ambrosiaster, a Morgan, ynghyd â rhai Lladin ereill. "Y datganiad hwn o ddedwyddwch," medd Hodge. "A ydyw y gorchwyl o gyfrif ein hunain yn ddedwydd fel hyn, oherwydd rhad ras Duw, yn perthynu i lywodraeth diriogaethol Duw?" medd Tholuck. † "Canys yr ydym oll yn addef," medd Barnes.

"Y dedwyddwch hwn, ynte; ai ar yr enwaediad, ynte ar y dienwaediad," y mae, ac y bu, ac y bydd efe? Gadawa yr apostol allan yr amseriad o'i bethau yn aml iawn yn y pennodau hyn, er mwyn bod yn rhydd i drafod ei bynciau fel cyfundraethau, ac nid fel pethau i'w cymhwyso yn bersonol yn unig.

*Enwaediad, &c.*, oedd yr Iuddewon dan y cyfammod Abrahamaidd yn Gen. 17. Y dienwaediad oedd y lleill oll, pa un bynag ai enwaededig mewn ffaith, drwy esiampl yr Abrahamiaid, ai peidio, oeddynt. Yr oedd llawer o genedloedd heblaw Israel yn enwaedu. Gwel y TRAETH. ar y diwedd.

"Canys dywedasom mai y Ffydd a gyfrifwyd yn gyfiawnder i Abraham." Ni allai Dafydd feddwl yn y dyfyniad uchod am neb ond yr enwaediad, canys buasai felly yn cau allan Abraham ei hun. Rhag i'r Iuddew wrth-ddadleu mai gwir oedd yr hyn a ddywedasai Paul am y Ffydd yn gyfiawnder yn lle y Ddeddf; etto, y gallai mai i ddeiliaid y Ddeddf yn unig y cyfrenid y cyfiawnder hwnw. Ac, a chyfaddef y gwir, nid goleu iawn ydoedd yr Hen Destament ar hyn o bwnc; eithr rhag, meddaf, i'r Iuddew lechu yn y lloches yna, tyna Paul ef yn ol etto at gyfiawnhad ei dad Abraham; canys nad beth am bawb arall, aiff yr Iuddew yn fud yn y fan y galler profi fod crefydd Abraham yn wahanol i'w grefydd ei hun.

10 *Pa fodd gan hyny y cyfrifwyd hi? ai pan oedd yn yr enwaediad ynte yn y dienwaediad? Nid yn yr enwaediad, ond yn y dienwaediad.

* "Pa fodd gan hyny, y cyfrifwyd? ai tra mewn enwaediad, ynte mewn dienwaed-

iad †. Nid mewn enwaediad, eithr mewn dienwaediad,"—Groeg llythyrenol. "Tra mewn stad o enwaediad, &c.," medd Barnes. Gadewir allan y "pan oedd," gan ddarllen, "ai mewn enwaediad?" gan ddau fibl Groeg tra hen, a'r cyfieithiadau Syriaeg, Vulgate, amryw hen rai Lladin ereill, ynghyd â biblau Cyril, Awstin, a Morgan.

Pa fodd *(pôs) in what way? by what means?* trwy ba foddion neu gynllun? "Ai pan ydoedd efe mewn stad o enwaediad, ynte mewn dienwaediad?" Gallasai yr apostol wrth-ddadlu yr hawl hon a hònai yr Iuddew, drwy ddwyn yn mlaen yr hyn a ddywedasai efe eisoes yn pen. 3, 1, &c.; sef, mai o'i ras yn unig y cyfranasai Duw gyfundrefn yr Enwaediad i'r genedl, ac na allai y peth, o ganlyniad, gynnwys dim mwy o werth yn nghyfrif Duw yn awr, nag a osodasai efe ynddo ar y dechreuad, o'i ewyllys da. Ond cynnysgaethodd hanes Abraham ef, modd bynag, â chyfleusdra i ddwyn ymresymiad cadarnach yn erbyn ei wrthwynebydd. Cyhoeddasid gan Dduw ei fod yn cyfiawnhau Abraham drwy y gyfundrefn o *Ffydd* a gofleidiasai efe yn ei gredin-iaeth, o leiaf bymtheg, os nad pump-ar-hugain, o flynyddau cyn son wrtho am yr enwaediad, Gen. 17, 23. Pan dderbyniodd y patriarch y cyfiawnhad, nid oedd efe, gan hyny, yn perthynu dim i'r *Theocracy*, neu wladol deyrnasiad Duw ar y genedl, fel eu Jehofa.

11 *Ac efe a gymmerth arwydd yr enwaediad, yn insel cyfiawnder y ffydd, yr hon oedd ganddo yn y dienwaediad: †fel y byddai efe yn dad pawb a gredent yn y dienwaediad; fel y cyfrifid cyfiawnder iddynt hwythau hefyd:

* "Ac yn arwydd efe a gymmerth enwaediad," yw darlleniad dau o'r biblau Groeg henaf, ynghyd â rhai ereill, a'r holl rai Syriaeg, a biblau amryw o'r hen dadau. "Enwaediad drwy insel cyfiawnder, &c.," yw darlleniad rhai hen fiblau Groeg. Gen. 17, 10. "Efe a gymmerth enwaediad yn nod o gadarnhad," medd Stuart. "Yn insel o'i stad o dderbyniad gyda Duw," medd Hodge. "Yr enwaediad yr hwn oedd yn arwydd," medd Tholuck. "Sel o'r dragwyddol wlad, ac iachawdwriaeth, fel y mae bedydd yn awr,"—Amryw o'r tadau, yn ol Grabe *Spicil. Patr. tan.* i, p. 332. "Sel o fywyd, megys bedydd yn awr,"—Y Sabeaid yn y dwyrain, yn ol Tholuck. † "Ac felly y daeth efe yn dad, &c.,"—Hebreig-ddull. "Fel y byddai efe yn esiampl,"—Barnes, Hodge. "Ac felly yr oedd mewn amcan iddo ddod yn dad,"—Amryw; tra dywed amryw ereill mai canlyniad anamcanedig oedd y peth.

Arwydd *(semeion), a sign of something past, a memorial, a monument:* arwydd o rywbeth a fu, coffâd, cof-golofn. Gwel Jos. 4, 6. Yma arferir ef am nôd, neu arwydd, wrth yr hwn yr adnabyddir sicrwydd y peth sydd mewn cyfeiriad. Mat. 26, 48,—felly yr oedd cusan yn *semeion* i'r milwyr, gan Judas fradwr. Gen. 9, 12. 13,—felly y mae y bwa yn y cwmwl yn *semeion* i bob peth byw o gyfammod Duw â Noa. Gen. 17, 11,—"A bydd yr enwaediad yn *semeion* cyfammod (ebe yr Arglwydd) rhyngof fi a chwithau." Luc 2, 12,—felly yr oedd cael baban newydd eni mewn preseb, yn *semeion* i'r bugeiliaid gan yr angel. 2 Cor. 12, 12,—felly yr oedd gwyrthiau Paul yn *semeion* i'r Corinthiaid o'i fod yn apostol Iesu Grist ei hun. 2 Thes. 3, 17,—felly yr oedd gwaith Paul yn ychwanegu yr anerchiad ar ddiwedd pob un o'i lythyrau, yn ei law-ysgrifen ei hun, yn *semeion* i'r eglwysi mai

oddiwrtho ef ei hun y deuent. Gwel ragor o'r un arferiad i'r gair yn 1 Sam. 14, 10; 2 Bren. 19, 29; a 20, 8.

INSEL *(spragis)*, *instrument for sealing*, offeryn at selio, megys yn Dad. 7, 2; Can. 8, 6; neu y sêl ei hun, megys ei gosodir ar lythyrau, llyfrau, &c. Arferir er diogelu a dirgelu yr hyn a selier, yn Dad. 5, 1, 2, 5, 9; a 6, 1, 3, 5, 7, 9, 19; a 8, 1. Arferir fel nôd o burdeb neu ddidwylledd y peth fo dani. Ystyriaf, fel y nodwyd yma, fod seliad y llwythau, yn pen. 7, yn arwyddocaol o ddiogeliad, tra mae selio ar y talcen, yn pen. 9, 4, yn arwyddo didwylledd cyhoeddus. Felly y cymmeraf y sêl yn 2 Tim. 2, 19; sef cymmeradwyaeth Duw o'n personau yn sêl ar y naill ochr (i'r arian bath) ein personau, ac ymadawiad bucheddol oddiwrth anghyfiawnder ar yr ochr arall. Dyna ffigiwr tlws am sêl o ddidwylledd crefydd. Y naill ochr o'n didwylledd ni, a'r llall o ddidwylledd Duw. Yr un ystyr, er yn ffigwrol, sydd i'r gair yn 1 Cor. 9, 2, lle gelwir y ffaith o fod y fath bechaduriaid â'r Corinthiaid yn Gristionogion, yn sêl o ddidwylledd apostoliaeth Paul. Felly yn ein testun, gosodwyd enwaediad yn nôd neu arwydd o rywbeth a fu, a'r rhywbeth hwnw oedd cyfiawnder y Ffydd. Yn arwydd nid oedd enwaediad o ddim, ond o fod Duw yn sicr gyfrif cyfiawnder y Ffydd i Abraham. Fel yr oedd y bwa yn y cwmwl yn galw i gof rwymedigaeth rasol Duw i beidio boddi y byd, felly yr oedd yr enwaediad yn nghorff Abraham yn galw i gof rwymedigaeth rasol Duw i beidio damnio Abraham; ac felly, gellid ychwanegu, y mae bedydd yn awr, ar gyrff pawb, yn galw i gof rwymedigaeth rasol Duw yn Nghrist, i gyfiawnhau y crediniol, pwy bynag a fyddo.

YN DAD *(pater)*; *cennedlwr naturiol*. Amlwg yw, nad dyna yr ystyr yn ein testun.

*Cyndad, henafiad*; y mae mor amlwg nad hyn yw yr ystyr, ychwaith.

Fel teitl o barch ar wyr henach na ni, megys, "Y tad Abraham," fel y dywedai y goludog yn uffern. Eglur yw nad dyna ychwaith ystyr y gair *tad* yn ein testun.

Fel yr hwn a ddechreuodd neu oedd y blaenaf oll yn y peth y gelwir ef yn dad iddo. "O'ch tad diafol yr ydych." "Mae efe yn gelwyddog, ac yn dad iddo," Ioan 8, 44. Ac felly yma, yr oedd Abraham yn rhagflaenydd—a derbyniodd yr enwaediad yn arwydd o'i fod yn rhagflaenydd, pawb o'r holl genedloedd a ddelent yn berthynasau i'r FFYDD, fel yntau. Yr oedd Paul yn yr ymresymiad hwn yn cau genau yr Iuddew, yn hollol. Yr oedd gosod enwaediad ei hun yn arwydd o gyssylltiad gwyr dienwaededig â chyfiawnder Duw Abraham, cyd byddont gredinwyr neu beidio, yn ddigon i chwitho holl deimladau Iuddew cnawdol yr oes hono. Cadarnhad i Abraham oedd yr enwaediad, o'i gyfiawnhad drwy y Ffydd. Cadarnhad hefyd i'r holl genedloedd ydoedd ei enwaediad ef o fod Duw yn cyfiawnhau y sawl a ymddiriedai ynddo, o ba genedl bynag. Gwnaeth Duw ef eilwaith yn dad i'w ddeiliaid dan y DDEDDF. Arwydd ydoedd eu henwaediad hwynt, o'u bod yn cymmeryd Duw Ffydd Abraham yn Dduw gwladol iddynt eu hunain a'u plant.

12 *Ac yn dad yr enwaediad, nid i'r rhai o'r enwaediad yn unig,

†ond i'r sawl hefyd a gerddont lwybrau ffydd Abraham ein tad ni, yr hon *oedd ganddo* yn y dienwaediad.

* "Yn esiampl, cynllun, *pattern*," medd Stuart, a Barnes. "Yn dad i'r enwaededig, y rhai ydynt nid yn unig yn enwaededig, ond, &c.," medd J. Williams. † "Ond i'r sawl o'r Cenedloedd hefyd, &c," medd Theodoret, Anselm, Castalio, Grotius, Koppe. "Ond i'r sawl, yn hytrach, a gerddant lwybrau, &c., o bob cenedl heb wahaniaeth," medd Chrysostom, Ambros, Erasmus, Calvin, Carpsov, Tholuck.

Amcana yr apostol yn awr, ddangos nad oedd y ffaith o fod Abraham wedi ei gyfiawnhau mewn stad o ddienwaediad yn cau yr Iuddew enwaededig allan o'i hawl, os cerddai efe y llwybrau a gerddodd Abraham yn ei stad o ddienwaediad, i gyrhaedd y cyfiawnhad dan sylw. Felly nid oedd gan y dienwaediad Abraham yn dad ychwaith, oherwydd yn unig, eu bod yn yr un stad o ddienwaediad ag oedd efe pan y credodd. Yr oedd Abraham yn dad yn ol y cnawd a chyfundrefn o berthynas wladol â Duw. Ei blant dan y berthynas hon oedd yr enwaededigion. Yr oedd efe yn dad neu ragflaenydd, yn ol y Ffydd hefyd. Ei blant dan y berthynas hon oedd y sawl a gredent fel yntau. Ei enwaediad ef a'i had a ystyrid hefyd yn arwydd o gyfiawnhad i'r crediniol. Ei enwaediad ef ei hun, am ei gael ganddo tra mewn stad o ddienwaediad, oedd arwydd y cyfiawnheid y cenedloedd crediniol; tra yr oedd eu henwaediad hwythau, am ei gael ganddynt tra mewn stad o Enwaediad cyfammodol â Duw, oedd arwydd y cyfiawnheid cynnifer o honynt hwythau ag a gredent.

*I'r sawl hefyd;* neu "i'r sawl yn hytrach." Gan fod y fannod ar lawr gan Paul o flaen y frawddeg hon, rhaid i ni ystyried ei fod yn cyfeirio ynddi at y cenedloedd crediniol.

13 *Canys nid drwy y ddeddf *y daeth* yr addewid i Abraham, neu i'w had, †y byddai efe yn etifedd y byd; eithr trwy gyfiawnder ffydd.

* "Canys nid drwy ddeddf, yr addewid i Abraham, nac i'w had, iddo fod yn etifeddwr y byd, eithr drwy gyfiawnder ffydd,"—Groeg llythyrenol. † "Y byddai efe yn etifeddwr byd," yn lle "y byd," yw darlleniad yr holl hen fiblau Groeg parchusaf; ac felly yr argreffir mwy gan Griesbach, a Scholz. "Y byddai ei had ysbrydol ef yn etifeddu holl diroedd daear," medd Barnes, Gal. 3, 9, 29; Dan. 7, 27; Tholuck, Stuart. "Tir Canaan yn unig," medd rhai. "Yr holl fyd, drwy chwaliad ei hiliogaeth naturiol ef ar hyd-ddo," medd ereill. "Y byddai efe yn etifedd pob dedwyddwch yn y byd," medd Hodge. Mat. 5, 5; Salm 25, 13; a 37, 11; Gal. 3, 16, Ecumenius. "Y byd neu ddaear newydd, Dad. 21, 2,"—Brent, C. Schmidt, Carpzov, Reiche.

Yn lle bod y *Theocracy*, fel y mynnai yr Iuddewon, wedi bod yn sylfaen i'r Ffydd a'r Ddeddf, arddengys Paul, mai arwyddion yn unig o'r Ffydd oeddynt oll, ac is-wasanaethol dros amser iddi.

Y DDEDDF, fel cyfundrefn, canys nid oedd anghen am egluro, nad drwy ufydd-dod i beth a gyhoeddasid gannoedd o flynyddau gwedi Abraham, y derbyniasai efe fendithion; eithr gallasai yr Iuddew ystyried fod y Ddeddf fel cyfundrefn genedlaethol yn sefydledig yn nghyfammod Abraham.

*Etifedd* y byd. Nid oes un addewid o'r fath hyn i'w chael yn yr Hen Destament. Cawn addewidion Abraham yn Gen. 12, 1—3 a 15, 1—6, a 17, 1—8; ond yn 15, 5, darllenir, y byddai had Abraham fel ser y nef o liosogrwydd; ac yn 17, 5, dywedir, "Yn dad llawer o genedloedd y'th wnaethum di." Mai at yr addewid hon y cyfeiria meddwl yr apostol sydd amlwg oddiwrth adn. 17, o'n pennod. Pan ddywed efe fod yr addewid yn cynnwys y byddai Abraham yn etifedd y byd, ei ystyr yw, y byddai had ysbrydol Abraham can eanged â'r byd, neu mai ynddo ef y bendithid holl genedloedd y ddaear. A'i gymmeryd yn yr ystyr hyn, arwydda ein testun, y byddai had ysbrydol Abraham led-led y byd. Felly Stuart, ac ereill.

Eithr oni ddywed Paul yn Gal. 17, 5, mai Crist a feddylid wrth *Had* Abraham yn yr addewid hon? Rhaid gan hyny mai addewid ydoedd hi yn gyntaf, i Abraham, fel gwobr am ei grefydd, sef gwobr o ras yn unig; ac yn ail i Grist, fel ei olynydd ef, i beri cyflawniad o'i addewid. Amlwg yw, na ddaethai nemawr o'r *holl fyd* a'r *holl genedloedd* i mewn i gyfundrefn y Ffydd, cyn Crist.

Ac yn awr, os efe oedd i'w prynu, ac i'w hennill, a'u casglu i fewn i'r Ffydd, addewid iddo ef yn ei chynnwysiad mawr ydoedd. Cymmerodd Had Abraham afael yn ei addewid ef, a dug yr holl genedloedd i mewn i'w chylch, nes y maent yn had iddo yntau hefyd mwyach. Fel hyn yr oedd geiriau prophwydoliaethau ac addewidion yr Hen Destament yn anhawdd iawn i'w deall yn eu manylder, nes y rhedai llygad dadguddiad dwyfol y Testament Newydd drostynt eilwaith, a'u hesbonio: yna maent yn eglur iawn; ac er fod yr esboniad apostolaidd yn edrych yn ddyeithr iawn yn ymyl esboniad cyntefig yr hen saint dan y prophwydi, mae, er hyny, yn ddigon eglur, nad yw yr apostolion yn croesi na dirdynu dim ar yr hen oraclau wrth eu deongli.

Yr oedd yn ddigon cysson yn Paul ddyfynu yr adnodau o Gen. 17 yma ac yn Gal. 3, 16, at wahanol amcanion, tra nad oedd ei ddeongliadau o honi yn croesi eu gilydd.

Cawn yma *etifedd* i ddangos nad pryniad, mai gras, ac nid dyled ydoedd.

14 *Canys os y rhai sydd o'r ddeddf *yw* yr etifeddion, gwnaed ffydd yn ofer, a'r addewid yn ddirym.

* "Canys os y rhai perthynol i'r Ddeddf, yr etifeddion, difuddiwydd y Ffydd, a dirymwyd yr addewid,"—Groeg llythyrenol. "Os y rhai a bwysant ar eu gweithredoedd," medd Tholuck, Theodoret, Hodge, Barnes.

"Os deiliaid cyfundrefn Moeseniaeth sydd i fod yn etifeddion y byd, aeth cyfundrefn y *Ffydd*, drwy yr hon y cafwyd yr addewid hon, yn ofer, ac aeth yr addewid am yr etifeddiaeth yn ddirym, canys amlwg yw, nad yw ein cenedl oresgynedig a dirym ni yn debyg o oresgyn y fath ymerodraeth ag sy'n teyrnasu arnynt, byth." Dengys hyn nad meddiant tiriogaethol o'r ddaear oedd yn ngolwg yr addewid, mwy nag yn ngolwg Paul wrth ei hesbonio, onide ni ddywedasai efe air fod colli yr addewid yn dirymu y *Ffydd*, canys nid oes diriogaeth gan ei haddewidion hi i'w deiliaid, oddieithr tiriogaeth y Ganaan newydd. Etto, ymresymasai

Paul, hefyd, yn erbyn yr ystyr diriogaethol, oherwydd mai hyny ydoedd tir sefydlog ei wrthwynebydd. Pe fel yr esboniai yr Iuddew yr oedd ystyr yr addewid Abrahamaidd, yr oedd Abraham ei hun heb erioed ei ddeall, ac o ganlyniad wedi pwyso ar dwyll, a chael y cwbl yn ddirym ac yn ofer hollol.

15 *Oblegid y mae y ddeddf yn peri digofaint; †canys lle nid oes deddf nid *oes* gamwedd.

* Rhuf. 3, 20; a 5, 13, 20; a 7, 8, 10, 11; 1 Cor. 15, 56; 2 Cor. 3, 7, 9; Gal. 3, 10, 19; 1 Ioan 3, 4. "Yn peri cosp," medd Belsham. "Mae tuedd y ddeddf i beri, &c.," medd Barnes. "Yn achlysur digofaint," medd Stuart. † "Eithr lle nid oes, &c.," yw darlleniad y tri bibl Groeg hcnaf, a rhai ereill, a'r Coptaeg, un Syriaeg, a biblau rhai o'r tadau. "Lle na bo moesol deimlad o un foesol reol, nid oes gamwedd," medd Stuart. "Lle nid oes deddf, nid oes gamwedd mor anfad," medd Calvin.

Yn awr, yn anad un amser, yr ydym wedi colli cwmni yr holl esbonwyr. Byddai Calvin a Tholuck gyda ni, ond aethom heb neb gydâ'r adnod hon. "Os plant y Ddeddf bia fendithion cyfundrefn Ffydd" ebe'r adnod o'r blaen, "yna aeth Ffydd yn ofer, a'r addewid yn ddirym: y Ddeddf yn wir! peidiwch a son fod y gyfundrefn hono yn cynnyrchu y fath addewidion a hon, canys digofaint (chwi a wyddoch) y mae y Ddeddf yn ei weithio yn erbyn ei throseddwyr, ac nid rhad gyfiawnder fel y gweithia y Ffydd: canys lle nad yw y *Ddeddf* fel cyfundrefn o grefydd, nid oes gamwedd yn aros yn lle cyfiawnhad." Cymharu camwedd a digofaint am dano dan y Ddeddf, â chrediniaeth ag addewid yr etifeddiaeth yn Nghrist dan y Ffydd, y mae efe. Y sawl a amheuo, darllened yr adnod nesaf.

Camwedd *(parabasis)* troseddiad o osodiadau pendant rhyw gyfammod, yr hyn a all fod yn bechod moesol *(amartia)*, neu beidio, yn ol y dygwyddo. Ceir y saith waith hyn yn y Testament Newydd. "Trwy droseddu y ddeddf fel cyfammod a ddianrhydeddi di Dduw?" Rhuf. 2, 23. "Hyd y nod arnynt hwy, y rhai ni phechasant yn ol cyffelybrwydd troseddiadau cyfammodol Adda," 5, 14. "Oherwydd troseddiadau cyfammod Enwaediad y rhoddwyd y Ddeddf yn ychwaneg," Gal. 3, 19.—"Nid Adda a dwyllwyd, eithr y wraig wedi ei thwyllo oedd gyntaf yn y troseddiad o'r cyfammod," 1 Tim. 2, 14,—"Os derbyniodd pob trosedd o'r gosodiadau cyfammodol, ac anufydd-dod (neu fynediad heibio i'r gorchymynion pendant) gyfiawn daledigaeth," Heb. 2, 2. "Oherwydd hyn Cyfryngwr cyfammod newydd yw Efe; megys yr oedd marwolaeth yn cyfansoddi gwaredigaeth y rhai a droseddent reolau y cyfammod cyntaf a nodais y derbyniai yr etholedigion (plant cyfundrefn Ffydd) addewid yr etifeddiaeth dragywyddol," Heb. 9, 15. Felly ein testun. "Canys lle na bo cyfundrefn deddf ni bydd troseddiadau cyfammodol yn aros i beri digofaint, fel y mae wedi bod drwy holl yspaid eich cyfundrefn chwi, Iuddewon. Nid yw o un gwahaniaeth pa faint fyddo pechodau credinwyr Cyfundrefn y Ffydd, nid oes ball byth yn ei haberth na'i maddeuant, na digofaint oddiar yr orsedd i un o'i deiliaid."

16 *Am hyny o ffydd *y mae,* fel *y byddai* yn ol gras: †fel y

byddai yr addewid yn sicr i'r holl had; nid yn unig i'r hwn sydd o'r ddeddf, ond hefyd i'r hwn sydd o ffydd Abraham, yr hwn yw ein tad ni oll.

* "Allan o Ffydd, gan hyny, fel y byddai sicr yr addewid i'r holl had, yn ol gras," —Groeg llythyrenol. "O ffydd Iesu," yw darlleniad un hen fibl Groeg, ac un Lladin. "Fel y byddai yn ol gras i fod yn sicr yr addewid, &c.," yw darlleniad rhai biblau Groeg, a'r Armenaeg. "Fel y byddai trwy ffafr," medd Belsham. "Trwy radioni," medd J. Williams. † "Fel y byddai yn gadarn," medd Barnes. "Sicr i'r holl gredinwyr," yw darlleniad un bibl Syriaeg.

Ac os cyfiawnheir moesol bechadur anfad, neu hyd y nod troseddwr o bendant a chyfyng osodiadau y cyfammodau gwladol a nodwyd, y tu hwnt i aberthau a golchiadau y cyfundraethau hyny ei gynnyrchu, rhaid y daw allan o ryw gyfundrefn arall; a "chan hyny" ebe yr apostol, "perthynol i FFYDD y mae yr addewid, fel y byddai yn ol gras i fod yn sicr i'r oll o'i had dan sylw, nid i'r rhai perthynol i gyfundrefn Deddf o'r had hwnw, yn unig, ond i'r holl rai, pwy bynag fyddont, a berthynont i'r gyfundrefn o Ffydd a goleddai Abraham, yr hwn yw ein rhagflaenydd ni, plant y Ffydd oll, o bob cenedl." Pe gofynasai ammod yr addewid ryw fuchedd ddysglaer, neu ddaliadau trymion, neu aberthau cymmesur, ni allasai pob credadyn nac Iuddew ychwaith gyrhaedd etifeddiaeth yr addewid; eithr gan mai yn ol rhad ras y mae, ac yr oedd, mae sicrwydd y cyrhaedda yr holl had yr etifeddiaeth, canys nid ydynt yn had, onis credant, ac os credant, yna hawl i'r etifeddiaeth, sef y fendith addawedig i holl genedloedd y ddaear yn yr Had, sef Crist. Pa faint yw ein dyled i rad ras!

17 (*Megys y mae yn ysgrifenedig, Mi a'th wnaethum yn dad llawer o genedloedd) †gerbron y neb y credodd efe iddo, *sef* Duw, ‡yr hwn sydd yn bywhau y meirw, ac sydd yn galw y pethau nid ydynt, fel pe byddent:

* "Megys yr ysgrifenwyd mai'n dad cenedloedd lawer y'th wnaethum di, gerbron y Duw am yr hwn y credodd efe,"—Groeg llythyrenol. "Mi a'th osodais, gyfansoddais, yn dad, &c.," medd Stuart. "Yn dad naturiol," medd Tholuck. "Yn dad i had ysbrydol," medd rhai. "Yn dad mewn ystyr ddeublyg," medd Stuart, Hodge, Barnes. "Benthyca yr adnod oddiwrth ei hamcan cyntefig a wnaeth Paul," medd Reiche. † "Yr hwn sydd yn dad i ni oll gerbron (yn ngwydd) yr hwn y credodd efe iddo," medd Belsham, Stuart, J. Williams, Walford. "Yr hwn yw ein tad ni oll yn nghyfrif Duw," medd Hodge. "Yn dad llawer o genedloedd y'th wnaethum, gerbron y Duw y credaist ynddo,"—Biblau Syriaeg, Arabaeg, ac un Luther; yn debyg hefyd Awstin, a Bengel. "Yn dad cenedloedd lawer, yr un modd ag y mae Duw fel Creawdwr, gerbron yr hwn y credodd efe," medd Theodoret, Chrysostom, Theophylact, Erasmus, Brentius. "Gerbron pwy y credodd Abraham? Gerbron Duw," medd Grotius, Herzog. "Gerbron, neu yn ol barn ac amcan Duw," medd Origen, Cocceius, Beausobre, De Wette, Tholuck. ‡ "Galw y pethau nid ydynt i fod at ei wasanaeth, yr un modd â'r pethau sydd eisoes mewn bodoliaeth," medd Stuart, Tholuck, a'r Vulgate. "Galw y pethau nid ydynt fel y delont i fod," medd Elsner, a Luther. "Galw i fodoliaeth y pethau nid ydynt, fel y delent i fod." Gwel ar y cyfieithad hwn Matthew. Gr. Gram. § 846; Herman, zu Niger, p. 807. "Yn galw pethau dibwys fel pe byddent o fawr ganlyniadau," medd Origen, Ambros, Beza.

C. Schmidt, Beausobre, Erasmus. "Yn galw y pethau drwg fel pe byddent yn bethau da, gan eu gwneyd felly," medd Athanasius. "Mae y pethau a addawa efe mor sicr, nes y gall efe eu hystyried fel yn bod ar y pryd yr addawo," medd Barnes.

Dyfynwyd allan o Gen. 17, 5, yn ol Groeg y Deg a Thriugain. "Mai tad cenedloedd lawer y'th gyfansoddais di," canys dyna ystyr cywiraf y gair.

*Gerbron y neb y credodd efe iddo.* Mae y darllenydd yn deall eisoes fod afrifed o ddeongliadau i'r froddeg hon yn mysg esbonwyr. Tebyg yw fod yr ymadrodd hwn yn gyfystyr â'r hwn a gawn yn adn. 2; "ond nid gerbron Duw," sef nad beth a feddai Abraham dan gyfundrefn Enwaediad gerbron dynion a Duw, ni feddai efe ddim i ymffrostio o hono yn y gyfundrefn hòno yr oedd yr oll o honi yn grefydd ysbrydol *gerbron Duw;* rhad ras oedd y cwbl a gafodd efe yno." Felly yma, "Mi a'th wnaethum yn dad llawer o genedloedd," a ysgrifenwyd gerbron yr hwn y *credodd* efe iddo, ac nid gerbron yr hwn y *gweithiodd* efe iddo; sef, ysgrifenwyd hyny gerbron Duw yn ddirgelaidd, gerbron gorsedd Trugareddfawr y *Ffydd*, ac nid gerbron trugareddfa Jehofa y *Ddeddf*, na Duw Hollalluog y gyfundrefn o *Enwaediad*, ond gerbron Duw y credu, Duw y *Ffydd*, Duw y cyfiawnhawr rhad, Duw y gras.

*Yn cyfodi y meirw, &c.* "Yr hwn sydd, yn y gyfundrefn y safai efe ynddi, pan dderbyniodd efe gred, ac y cyfranodd ei gyfiawnder i Abraham, yn cyfodi y meirw, &c." Gerbron Bywhawr (nid Adgyfodwr) mawr y meirw yr oedd Abraham yn credu. Galwai yr Iuddew y Cenedloedd yn gŵn, ac annuwiolion Israel yn gerig ac yn feirw. Un o'r meirw hyn oedd Abraham pan gyfiawnhawyd gan Dduw. Meirw oedd holl hâd cynnwysedig ei addewid ef o'r meini *hyn* y gallasai Duw gyfodi plant crediniol i Abraham yn ol pregeth Ioan Fedyddiwr. Eithr tebycach, efallai, mai at farweiddiad Abraham a'i wraig, gogyfer â bod yn dad a mam dynion, y cyfeirir. Meddwl am allu Duw yn bywhau y meirw, ac yn galw yn mlaen y pethau nid ydynt mewn bodolaeth, yr un modd â'r pethau y sydd, a wnaeth Abraham, pan gredodd efe addewid anhygoel Duw.

18 *Yr hwn yn erbyn gobaith a gredodd dan obaith, fel y byddai efe yn dad cenedloedd lawer; yn ol yr hyn a ddywedasid, Felly y bydd dy had di.†

* "Yr hwn y tuhwnt gobaith ar obaith a gredodd, i fod o hono yn dad, &c.,"—Groeg llythyrenol. "Yr hwn yn erbyn gobaith a gredodd mewn gobaith, nes y daeth efe yn dad, &c.," medd Belsham. "A gredodd gyda gobaith y deuai efe yn dad," medd Conquest. "Yn erbyn pob sail arferol i obaith, a gredodd yn yr hyn a addawyd iddo i enyn ei obaith," medd Barnes, Hodge. "Efe a gredodd mewn trefn i fod yn dad," medd rhai. "Efe a gredodd, ac felly efe a ddaeth," medd Luther, Michaelis, De Wette. "Yn erbyn gobaith dynol ar obaith yn Nuw," medd Chrysostom. "Yr hwn, yn erbyn pob sail ymddangosiadol i obaith, a gredodd, mewn gobaith y deuai, &c," medd Stuart. † "Felly y bydd dy had di fel ser y nefoedd, a thywod y mor," yw darlleniad dau hen fiblau *Groeg*, Vulgate y Pab Sixtus, biblau Morgan, Beda, &c.

*Yn erbyn gobaith—dan obaith.* "Yr hwn y tuhwnt, neu yn erbyn gobaith ar obaith a gredodd" yw y cywiraf. Wrth edrych o hono ar ddeddfau adnabyddus natur, yr oedd gobaith yn ei erbyn; ond wrth

ystyried gallu a ffyddlondeb Duw efe a obeithiodd, ac ar y gobaith hwnw efe a osododd ei grediniaeth. Sail gadarn, onide? "A gredodd i fod o hono yn dad, &c." yn ol Gen 15, 5. Cyn cyfammod yr Enwaediad yr oedd hyn.

19 *Ac efe yn ddiegwan o ffydd, nid ystyriodd ei gorff ei hun,† yr hwn oedd yr awrhon wedi marweiddio, ac efe ynghylch can mlwydd oed, na marweidd-dra bru Sara.

* "Mewn ffydd," yw darlleniad pedwar bibl Groeg hen iawn, y cyfieithiad Syriaidd, Vulgate y Pab Sixtus, &c. "A chan ei fod yn ddiegwan o ffydd nid ystyriodd," Belsham. "Yn mherthynas â ffydd,"—Tholuck, a Stuart. "Ni ddaliodd sylw ar ei gorff ei hun, gan mai un heb fod yn egwan yn mherthynas â'r ffydd ydoedd,"—Winer's *Gram. of New Test. Idioms*, § 59. Gen. 17, 17; a 18, 11; Heb. 11, 11, 12. † "Yr hwn oedd bellach yn farw gogyfer â ffrwythloni," medd Stuart. "Er ei fod yn ystyriol o bob peth, nid ar y rhwystrau yr oedd ei sylw wrth gredu,"—Hodge. "Nid oedd ei ystyriaeth yn wendid penderfyniad," medd Tholuck. "Yr hwn oedd eisoes wedi marw iddo," medd J. Williams.

*Diegwan;* sef cadarn; nid yn ei Ffydd, neu grediniaeth; ond *Y Ffydd.* Gall yr ystyr fod, "yn ddiegwan yn mherthynas i'r FFYDD:" neu drwy y FFYDD fel moddion neu achos i'w gryfhau; neu yn ddiegwan gyda'r FFYDD. Nid wyf fi yn medru dirnad pa fodd y gall y *Dative* mewn Grammadeg arddangos "diegwan o ffydd bersonol." *Dative of condition* yw, medd Stuart, "grymus mewn ffydd, neu mewn perthynas i ffydd;" ond nid yw yntau, mwy nac ereill, wedi talu un sylw i'r fannod Y, *the faith*, Y Ffydd: canys ni all y fannod wneyd nemawr synwyr gyda ffydd bersonol. Yr oedd Sarah yn bedwar ugain a deg mlwydd oed, ar y pryd hwn.

Dadleuir gan Ddeistiaid yn erbyn y llyfr, nad yw yr ymadrodd hwn am wendid corfforol Abraham yn cydsefyll â'r ffaith ddarfod iddo genedlu chwech o blant yn mhell ar ol hyn, o Ceturah. Ettyb rhai drwy gymhwyso y gwendid at Sarah yn unig. Ond y mae hyn yn groes i eiriau yr apostol, a Gen. 17, 17, a 18, 12. Er hyn i gyd, mae'r hanes yn wirionedd. Gan fod corff Abraham wedi cael ei adfywio gan wyrth, megys yn wir yr oedd corff Sarah hefyd, yn ol Heb. 11, 11, er mwyn cenedliad Isaac, gallasent fwynhau eu nerth adnewyddol dros flynyddau yn mlaen. Felly hefyd yr esbonir gan Whitby, Macknight, a Koppe. Am yr esbonwyr a ystyriant hanes plant Ceturah allan o'r amseriad priodol, nid oes dim i'w ddywedyd yn gymmeradwyol.

20 *Ac nid amheuodd efe addewid Duw drwy angrediniaeth; †eithr efe a nerthwyd yn y ffydd, ‡gan roddi gogoniant i Dduw.

* "Nid ammheuodd ynghylch addewid Duw oherwydd rhyw feddwl anghrediniol," medd Stuart. Rhuf. 14, 23. "Fel un o ffydd fach,"—Syriaeg. "Ni oddefodd i'w ammheuon dyfu yn anghrediniaeth o addewid Duw." medd Michaelis. "Yn mherthynas i addewid Duw,"—Tholuck. "Nid ymddadleuodd efe,"—J. Williams. "Nid ymddadleuodd yn erbyn yr addewid,"—Erasmus, Piscator, Toletus, Doddridge, Macknight. † "Ond efe a fu hyderus, a grymus gredodd," medd Stuart. ‡ "Hyny yw, oddiar gymhelliad i'w barchu,"—Koppe, Grotius, Bloomfield.

*Nid amheuodd; he did not doubt, hesitate;* ni rusodd efe: cymharer Rhuf. 14, 23; Iago 1, 6; a 2, 4; Matt. 21, 21; Marc 11, 23. "Eithr i addewid Duw nid amheuodd efe mewn angrhediniaeth." Gwelwn fel y gesyd Paul i lawr anhawsderau y grediniaeth, a pha fodd y buddugoliaethasai meddwl gwrol yr hen batriarch arnynt oll. Yr oedd yr hyn a addawsid iddo yn erbyn gobaith, medd efe. Dyma y rhwystr cyntaf, canys nid oedd un enghraifft o'i flaen o un Abraham blaenorol wedi derbyn mab fel hyn. Y rhai a godasant ar ei ol i gredu yn Nuw, a gawsant edrych arno ef. Ganddo yntau nid oedd neb i edrych arno ond Duw. Heblaw hyny, yr oedd ei gorff can belled â'i rym i fod yn dad, wedi marw, yr hyn oedd ail rwystr; a felly yr oedd corff Sarah ei wraig hefyd, yr hyn oedd yn drydydd rhwystr. Eithr efe ni phetrusodd, er na roisai Duw iddo un prawf, nac arwydd o wyrth. Cyhoeddasai ei enw iddo fel Duw Hollalluog, a rhoddes ei air iddo yn awr; ac er fod y peth yn groes i natur a chrefydd hyd hyny, ni phetrusodd Abraham.

*Gan roddi y gogoniant, &c.*, yr hyn yn ol y dull Hebreig o lafaru, oedd arddangos yn weithredol ein bod yn cyfaddef rhyw berffeithiau neillduol yn Nuw. Arferid wrth wneyd galwad am y gwir am ryw beth. Ioan 9, 24; Jos. 7, 19. Yr ystyr yw "profodd Abraham drwy ei weithredoedd nad oedd ynddo un amheuaeth o hollalluogrwydd Duw." Mae ymgadw heb holi yn feirniadol ar y fath achlysur yn ogoneddu Duw. Eithr dengys yr adnod nesaf pa beth a feddylir wrth yr ymadrodd.

21 *Ac yn gwbl sicr ganddo, am yr hyn a addawsai efe, †ei fod ef yn abl i'w wneuthur hefyd.

* "Ac yr oedd efe yn hollol berswadiedig mai galluog yw efe i gyflawni yr hyn a addewir,"—Groeg llythyrenol, Luc i, 1; Rhuf. 14, 5. "Efe a berswadiodd ei hun, Ni oddefa yr iaith ddarfod iddo gael ei berswadio gan arall,"—Matthaei Greek Gram. Bloomfield. "Efe a gafodd ei berswadio," medd Macknight, Erasmus, Estius. † Salm 115, 3; Luc i, 37, 45; Heb. 11, 19; Gen. 18, 14.

Yn gwbl sicr ganddo *(plerophoretheis), to be fully assured, persuaded;* bod wedi ei hollol berswadio. Gwel pen. 14, 15; Preg. 8, 11; 2 Tim. 4, 17. Rhoddes ogoniant i Dduw drwy ymddiried yn ei air.

22 *Ac am hyny y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder.

* "Ac am hyny y cyfrifwyd ei ffydd iddo yn gyfiawnder,"—Conquest, Hodge, Belsham. "Y cyfrifwyd ei grediniaeth,"—Stuart. "Ymddygwyd ato fel at gyfaill Duw, yr hyn oedd yr un peth â bod yn gyfiawn,"—Barnes.

Try yr apostol yn ei ol at y pwnc a adawsai efe yn adn. 3. "Oherwydd paham cyfrifwyd iddo i, neu tuag at, neu yn gyfiawnder." Nid oes dim gan yr apostol i'n hysbysu pa beth a gyfrifwyd yn yr adnod hon, nac yn y ddwy adnodau dilynol; ond gwelwn yr un gofal yn mhob un i adael y peth heb ei lenwi i fyny. Felly y cawn ef hefyd yn adn. 3. Eithr cawsom eisoes yn pen. 3, 24, mai grâs rhad Duw, ac yn adn. 28, mai y Ffydd, sydd yn cyfiawnhau; ac os grâs neu y Ffydd yw y gyfundrefn sydd yn cyflawni yr eisieu yn y gorchwyl,

hyhi yw yr hyn, neu y grâs a gyfrifir yn gyfiawnder; canys dywed 4, 3, 5, mai hi a gyfrifir am, neu yn gyfiawnder i'r annuwiol yn ei rydd-had. Eithr pe crediniaeth dyn a gyfrifid, ni allai fod yn ras Duw, oherwydd credodd Abraham i Dduw *cyn* cael cyfrifiad o gyfiawnder. Gwel 4, 3. Ac os cyfiawnhau yr *annuwiol* y mae Duw, crediniaeth yr hwn sy'n rhagflaenu y cyfiawnhad, ni ellir meddwl fod gweithred o grediniaeth gan bechadur caeth condemnedig yn ddigonol gyfiawnder iddo, nac yn gyfaddas i'w gyfrif iddo am, neu yn lle cyfiawnder, fel y dywed yr holl esbonwyr, ac fel eu gorfodir i ddweyd; y rhai a ystyr-iant *ffydd* yr epistol yn grediniaeth, yn lle *cyfundrefn* o rad râs yn unig. Os wrth *gyfiawnder* y meddylir rhyddhad; ac os yn y rhydd-had hwnw yr ystyrir marwolaeth Crist a thrugaredd faddeuol Duw, ar y naill law, ac ymddiriedìad edifeiriol yr euog ar y llaw arall, rhaid fod y cwbl o râs; ac os hyn oll yw y gyfundrefn a elwir FFYDD, rhaid ei bod yn dra chymhwys i'w galw yn gyfiawnder i bechadur. Mae rhyw gyfanwaith a pherffeithrwydd ynddi, cyfaddas i'w alw yn gyf-iawnder Duw, yn hytrach na chrediniaeth annuwiolyn brwnt yn unig, heb ddim yn nglyn â hi. Eithr ni chaiff y rhai a osodant râs a Christ yn nglyn â'r credu i fod yn gyfiawnder, le i'r fath ddeongliad, ar ol galw y gair *ffydd* yn yr epistol hwn yn *grediniaeth* yn unig; canys "*ei ffydd* ef, yr annuwiol—sef yr hwn a gyfiawnheir, a gyfrifir yn gyf-iawnder Duw iddo." Ac yn awr, gofaled y deonglydd am gynnwys digon yn y gair *ffydd*, i achub, a chyfiawnhau, ac i fod yn gyfiawnder bythol i'r annuwiol crediniol. Mae digon byth genyf fi, ond gan y sawl a wadant mai ffydd fel *cyfundrefn* yn unig a feddylir, y mae y prinder—y mae dim ond gwaith dyn, ïe, dyn *annuwiol*, os dyn an-nuwiol yw y dyn y mae Duw yn ei gyfiawnhau. Yna, os cyfundrefn a ystyrir wrth y gair *Ffydd*, rhaid mai cyfundraethau a feddylir wrth y geiriau *Enwaediad, Deddf, Cnawd &c.;* canys anmhosibl gwneyd synwyr o'r epistol wrth arfer y naill ben i'r glorian am weithred ber-sonol, a'r pen arall am gyfundrefn.

23 *Eithr nid ysgrifenwyd hyny er ei fwyn ef yn unig, ddarfod ei gyfrif iddo;

* "Ddarfod ei gyfrif iddo yn gyfiawnder," yw darlleniad rhai biblau Groeg tra hen, y Syriaeg, un beibl Arabaeg, Vulgate, a beiblau rhai o'r tadau. "Iddo y ffydd yn gyfiawnder," oedd darlleniad beibl Theodoret. Rhuf. 15, 4: 1 Cor. 10, 6, 11. "Nid ysgrifenwyd er mwyn coffâu ei rinwedd ef,"—Bloomfield.

Gallasai yr Iuddew wrth-ddadlu, mai ar dir hanesiol y ceid cyfrif-iad Ffydd i Abraham yn gyfiawnder, ac nid yn ammodau y cyfammod ag ef, a bod hyny yn ei gwneyd yn anmhosibl i gasglu dim oll oddi-wrtho fel cyfundrefn o gyfiawnhad i *ereill.* I gyfarfod â hyny, tystia Paul fod athrawiaeth fawr cyfiawnhad drwy y Ffydd yn sefyll dros yr holl oesoedd, ac o ganlyniad yn athrawiaeth i'r Cristion. Gallwn ninnau weled mai Moses a hanesiodd yr hyn a gawn am gyfiawnhad Abraham, ac nad un o fendithion *cyfammod* yr Enwaediad ydoedd. Yn awr, os oedd Enwaediad ei gyfammod yn gyfran o grefydd i Abraham, paham manylu yr holl gyfammod yn Gen. 17, a gadael

allan o hono brif bwnc crefydd yr hen batriarch, sef achubiaeth ei fywyd drwy rad drugaredd yr Arglwydd ?

Cyfaddefa y deongliad a elwir *Bereschit Rabba*, fod yr hyn a ysgrifenwyd i Abraham wedi ei ysgrifenu yn ogystal i'w blant ef; yr hyn a ddengys fod rhywbeth tebyg i athrawiaeth yr adnod hon gan y Rabbiniaid Iuddewig eu hunain.

24 *Ond er ein mwyn ninnau hefyd, i'r rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyfododd Iesu ein Harglwydd ni o feirw.

* Act. ii. 24: a 13, 30. "Gosodir ffydd Abraham yn yr adgyfodiad cyffredinol yn gyferbyniol i'n ffydd ni yn adgyfodiad Crist," medd Bengel a Cocceius. "Ei ffydd yn mywhad ei natur i genedlu plant yn ei henaint, a gyferbynir i'n ffydd ni yn mywhad Crist o'r bedd,"—Grotius. "Nyni, y rhai y'm yn credu yn yr un Duw ag y credodd Abraham ynddo, ond yr hwn a ymddengys i ni fel perffeithydd gwaith mawr ein hiachawdwriaeth,"—Tholuck.

"Eithr nid ysgrifenwyd er ei fwyn ef yn unig, mai 'Cyfrifwyd' ydoedd, eithr er ein mwyn ninnau hefyd; i'r rhai mwyach y cyfrifir, sef i'r rhai sydd yn ymddiried ar yr hwn a adgyfododd Iesu ein Harglwydd ni oddiwrth y meirw." Ond paham son am Iesu adgyfodedig, &c., mewn cyssylltiad â'n cyfiawnder ni, fel hyn? Ymddengys yn eglur, mai mewn cyferbyniad â'r Ffydd yn amser Abraham, yr arferir. Ymddiried ar Dduw fel bywhawr y meirw; megys eu cyrff anffrwythlon hwy eu deuoedd, er enghraifft—yr hyn sydd newydd redeg allan o bin yr apostol: ymddiried, meddaf, ar Dduw, fel yr oedd efe yn alluog i fywhau y meirw, a wnaeth Abraham, tra na thal i ni yn awr y cyfryw grediniaeth yn unig. Yr ydym *ni* yn ymddiried ar yr un Duw fel y mae efe yn Adgyfodydd ein Harglwydd, ac ar ein Harglwydd yn y cymmeriad o un wedi ei draddodi oherwydd ein pechodau *ni ein hunain*, ynghyd â chwedi cael ei adgyfodi er mwyn ein cyfiawnhad ni ein hunain: sef y ni "y rhai ydym yn credu." Rhyfyg mewn un dyn *anghrediniol* yw pwyso ar Dduw am gyfiawnhad ar un tir yn y byd. Mae cyfiawnhad i'r *annuwiol* i'w gael, ond i'r annuwiol sydd yn amcanu ei dderbyn drwy yr ymddiriediad hwn yn unig: nid i un annuwiol arall. Gan mai adgyfodiad Crist ydoedd y prawf mawr o foddlonrwydd Duw i'w waith, ac yn wir, o ddwyfoldeb ei neges i'r byd, ynghyd â chadernid ac uniondeb ei holl honiadau, mae credu ei fod wedi adgyfodi o'r bedd yn grediniaeth mai efe oedd Mab Duw, yr iawn dros ein pechodau ni, y Gwaredwr ac Arglwydd pawb; ei fod, mewn gair yn bob peth yr honodd ei fod, a chwedi cwblhau pob peth oedd yn ei amcan a'i neges i'w gwblhau. Yn Rhuf. 10, 9; Act. 1, 22; a 4, 33; 1 Cor. 15, ynghyd â manau ereill, ceir adgyfodiad Crist mewn son fel pen-conglfaen yr efengyl, fel y ffaith fawr i'w phrofi, ac yn cynnwys y lleill oll yn ei gosgordd.

25 *Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, †ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni.

* Esay 53, 5, 6: Rhuf. 3, 25; 5, 8; 8, 32; 2 Cor. 5, 21; Gal. 1, 4; 1 Pedr 2, 24;

a 3, 18; Heb. 9, 28. "Yr hwn a draddodwyd i farwolaeth," medd Tholuck. "Yr hwn a ddanfonwyd i ddileu yr oruchwyliaeth dan yr hon y condemnid dynion fel pechaduriaid,"—Belsham. "Er ein llesâd, drwy farw yn esiampl i ni ymadael â'n pechodau," medd Crellius, Socinus, Priestley. "Gan ein pechodau,"—J. Taylor, Reiche. "Yn bech-aberth o achos ein pechodau," medd Magee, Pye Smith, Truman, Gilbert, Charles. † 1 Cor. 15, 17; 1 Pedr 1, 21.

Gwel ar yr adn. flaenorol.

TRADDODWYD *(paradothe) to give over, to deliver over;* rhoi, cyflwyno drosodd, i feddiant neu awdurdod rhywun. Arferir (1) am bersonau yn cael eu traddodi i awdurdod ereill; megys i'r swyddogion gwladol i gael eu barnu, condemnio, &c. "Rhag un amser i'th wrthwynebu dy draddodi at y barnwr a'r barnwr at y swyddog, Matt. 5, 25. Hwn yw gair yr Efangylwr am draddodi Crist i Pilat. Amlwg yw, na thraddododd Duw mo Grist i un barnwr na swyddog gwladol. Buasai hyny yr un peth â dywedyd ei fod yn droseddwr cyfraith y wlad. "Pa beth a roddwch, a mi â'i traddodaf ef i chwi," ebe Judas fradwr, Matt. 26, 15. Hònodd y bradwr hawl fel un o'i gyfeillion, i'w droi drosodd i'r barnwyr fel drwgweithredwr, er iddo fethu eilwaith a'i gyhuddo o ddim, na hyd y nod ei draddodi yn ol y dull arferol. gerbron y frawdle. Dyma ystyr etto i'r gair ag sy'n annherthynasol a'r hyn a wnaeth Duw tuag at Grist. Nid dros ein pechodau ni y traddododd Judas Ef, ond er mwyn meddiannu tair punt neu bedair o arian. "Mab y dyn" ebe'r Iesu ei hun," a draddodir i ddwylaw dynion," Matt. 17, 22, yr hyn sy'n cyfeirio at y cam a gafodd efe oddiwrth Judas ac ereill. Ni thraddododd Duw mo hono i ddwylaw anwir, anghyfiawn, a chreulon. Pa fodd y gwyddai *dynion* yr hyn oedd yn anghenrheidiol i Grist ddyoddef oddiwrth y byd ysbrydol a'r llywodraeth ddwyfol, fel iawn ac aberth dros bechod? "A'r modd y traddododd yr archoffeiriaid a'n llywodraethwyr ni ef i farn marwolaeth," meddai y dyscyblion, yn Luc 24, 20; lle mae y gair dan yr ystyr o draddodi i gondemniad angeu. "Canys yr ydys yn ein traddodi ni, yn aml i farwolaeth," ebe Paul yn 2 Cor. 4, 11; lle mae i'r gair *traddodi* yr un ystyr etto. Nid oes un ystyr arall i'r gair ond hwn, ag a ellir gymhwyso at Grist yn ein testun; sef traddodi i farwolaeth gondemniol: nid i farwolaeth ddamweiniol, na llofruddiol, yn unig, ond i farwolaeth gondemniol—marwolaeth dan ddedryd. Nid oes amlygiad yn y testun, dan ddedryd pa lys, na pha farnwr; ond yn unig mai ei *draddodi* gafodd; ac nad marw mewn un modd arall, o ran ei berthynas â'n pechodau ni. Gwir mai ei draddodi a gafodd efe, o ran perthynas ei farwolaeth â chreulondeb a brad dynion, ac y mae mor wir, mai marw yn draddodedig gondemniedig a threfnus gan lys, a barn gyfiawn, dan yr amgylchiadau, a wnaeth efe yn ei berthynas â'n pechodau ni. Cawn yr un athrawiaeth hefyd gydâ'r gair *traddodi* yn Rhuf. 8, 32; Gal. 2, 20; Eph. 5, 2, 25; lle cawn fod Duw wedi traddodi Crist fel yr oedd efe ei unig Fab, drosom ni oll, a hyny yn ddiarbed; yr hyn a ddengys, nad traddodiad i fod yn ddysgawdwr, a feddylir; canys pa beth fuasai yn *ddiarbed* yn hyny? Rhaid, gan hyny, fod esboniad Faustus Socinus yn anghymwys. Belsham hefyd a red ar ei ol ef, gan ddywedyd; "Traddodwyd Crist dros ein pechodau ni, nid i ddwyn eu cosp, nac i ddyhuddo digofaint Duw, ond i ddiddymu yr oruchwyliaeth, drwy yr hon y condemnid dynion fel pechaduriaid; ac i ddwyn i mewn,

oruchwyliaeth newydd a rhagorach, drwy yr hon eu cyfiawnheid, ac yr ystyrid hwynt fel cyfiawnion." Pe dyna yr holl ystyr o'n testun, byddai ystyr yr adnod arall fel hyn: "yr hwn nid arbedodd y dyn da hwnw, ond a'i gosododd i ddiddymu yr hen oruchwyliaeth, drwy ei bregethau, &c." Byddai yr un rheswm mewn dweyd nad arbedodd Duw Moses, canys anfonodd y dyn da hwnw i godi goruchwyliaeth newydd. Pa reswm all fod mewn galw y fath swydd oruchel yn gosp, canys cospi yw ymddwyn yn ddiarbed at ryw un? Cawn hefyd yn Gal. 2, 20, ddarfod i Grist draddodi ei hun dros Paul, o gariad ato. Yn mha ystyr y gallai fod gwaith Crist yn ymosod at ddileu yr hen oruchwyliaeth, yn draddodiad o hono ei hun i un orsedd na barnwr, nac angeu daearol? Dywed efe ei hun mai yn ol gorchymyn a gawsai efe gan ei Dad, yr oedd efe yn rhoi ei einioes i lawr, neu yn traddodi ei hun i afael yr orsedd, a chondemniad angeu. Yn awr, os gorsedd Pilat oedd hon, yr oedd efe yn hunan-leiddiad, canys nid oedd un dyben da o ddyrchafu cyfiawnder yn cael ei ateb drwy hyny, heb ei ystyried ef fel iawn i Dduw. Darllenir hefyd yn Eph. 5, 2, fod Crist wedi *traddodi* ei *hun*, a thraddodi ei hun i *Dduw*, a thraddodi ei hun *drosom ni*, a thraddodi ei hun yn *offrwm* ac yn *aberth* drosom ni, a'r oll *i Dduw drosom ni.* A dywed adn. 25ain o'r un benod iddo *draddodi* ei hun dros *ei eglwys* fel pe traddodai gwr ei hun dros ei wraig, a thraddodi ei hun fel y gallai, ac fel y gwnelai, ei *santeiddio* hi, &c.. Gwelwn gan hyny, ddarfod i Grist draddodi ei hun i Dduw drosom ni, fel yr oedd Duw yn farnwr a llywodraethwr, yn ein condemnio ar bob tir tu yma i foddlonrwydd i'w orsedd mewn iawn. Gwelwn hefyd ei fod wedi yr hunan-draddodiad gwirfoddol hwn yn llaw Duw, ac at ei ewyllys; ac yna mai hollol uniawn oedd yn ei Dad roddi y gorchymyn y soniai efe yn Ioan 10ed am dano, i osod ei einioes i lawr fel y gwnaeth, a mai uniawn oedd ynddo ei draddodi ef felly i farwolaeth dan gondemniad gorsedd llywodraeth oruchel Duw ei hun.

Dros ein, &c., *(dia ta, &c.,) on account of, because of,* oherwydd, o achos ein camweddau ni. Arddengys y rhagddodiad hon yr achos cynhyrfiol neu gymhelliadol o'r traddodi dan sylw. Ni allai yr apostol gyfeirio at un ystyr arall o'r geiriau. Pe dywedasai efe,—"Ein creulonderau ni oedd yr achos o'i farwolaeth ef," pa "ni" allasai mewn golwg? Nid efe ei hun, canys nid oedd efe yn meddu un law yn nghroeshoeliad Crist fel yr oedd Crist yn ferthyr. A byddai gosod Paul i arferyd y gair *ni* heb gynnwys ei hunan yn y gair, yn ddull newydd o ddeongli iaith. Nid *ni Iuddewon* allasai efe feddwl ychwaith, canys traddodiasid ef i ddwylaw y cenedloedd, a bu y naill a'r llall yn gydgyfrannog o'r llofruddiaeth. Ni ellir glanhau Pilat oddiwrth y llofruddiaeth, canys efe a adawodd ei orsedd cyn gosod barn arno ef. Ei draddodi i'w groeshoelio, ar ol ei gyhoeddi yn ddifai, a wnaeth yr adyn llwfr ac annuwiol hwnw. Nid *nyni apostolion*, na *nyni y saint*, allasai fod mewn golwg, pe cyfeirio at ei ferthyrdod ef y buasai, canys nid hwynthwy oedd yn euog o'r gyflafan. Rhaid, gan hyny, mai y deongliad a osodwyd ar y dechreu sydd gymhwys yn unig i'r geiriau hyn. Cymmaint â hyna gogyfer â'r Sosiniaid a'u hesboniadau. Am y ddadl sydd rhwng yr Arminiaid a'r Calfiniaid eilwaith, yn nghylch y *ni*, nid yw y testyn yn penderfynu, ddim pellach nag mai yr un rhai yw y rhai y traddodwyd Crist dros eu pechodau, a'r rhai yr adgyfododd

efe er mwyn eu cyfiawnhad. Os na adgyfododd efe er mwyn cyfiawnhau yr anghredadyn, ni allwn ninnau bregethu cyfiawnhad iddo ef, ac os cyfiawnheir pob annuwiol a gredo, annogwn ninnau hwynt i gredu; a galwer hwynt i edrych ar y traddodi a'r adgyfodi pwysig a phrynedigol hyn, oll o achos eu camweddau a'u cyfiawnhad hwynt yn bersonol ac arbenigol, *os ydynt yn credu;* onide, os dewis peidio y maent, am iddynt ochelyd rhag ymddiried am un cyfiawnhad, ond yn hytrach condemniad dau-ddyblig, oddiwrth y drefn oruchel, rasol, ac anfeidrol drugarog hon! Cyfeirio mae y *ni* at "y rhai ydym yn credu" sydd yn yr adnod flaenorol. Yr ydwyf am i'r efengyl fod mor rydd â dwfr y ffynnonau, goleuni yr haul, ac anadl yr awyrgylch; ond nid wyf am bregethu cyfiawnhad mor rydd ag i wahodd dyn i ymddiried arno ar dir anghrediniaeth! Felly yr ydym oll, onide? Paham, ynte, yr awn i ddadlu a'n gilydd ar y pwnc.

*I'n cyfiawnhau ni.* Gwel yn y *Traethawd* ar *Gyfiawnhad* ar y diwedd.

## CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. IV.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) PA beth, gan hyny, a ddywedwn ni i Abraham ein tad ni ei ennill yn ol y cnawd? (2) Canys os cyfiawnhawyd Abraham allan o [gyfundrefn] GWEITHREDOEDD, y mae iddo ymffrost; ond nid gerbron Duw, er hyny. (3) Canys pa beth a ddywed yr ysgrythyr? "Credu Duw a wnaeth Abraham, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder." (4) Eithr, i'r sawl fo'n gweithio ni chyfrifir y gwobr yn ol gras, ond yn ol dyled. (5) Etto, i'r sawl na weithio ddim, ond credu yn yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol, cyfrifir ei Ffydd ef yn gyfiawnder. (6) Megys y mae Dafydd hefyd yn desgrifio dedwyddwch y dyn, i'r hwn y cyfrifa Duw gyfiawnder heb [gyfundrefn] GWEITHREDOEDD: (7) "Dedwydd y'nt hwy, y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pechodau. (8) Dedwydd ddyn, i'r hwn nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod."

(9) Y dedwyddwch hwn ynte, ai ar yr enwaediad, ynte hefyd ar y dienwaediad (y mae), canys yr ydym yn dywedyd ddarfod cyfrif i Abraham y FFYDD yn gyfiawnder? (10) Pa fodd gan hyny y cyfrifwyd hi—tra'r oedd efe yn perthynu i'r ENWAEDIAD ynte i'r DIENWAEDIAD? Nid yn yr ENWAEDIAD, ond yn y DIENWAEDIAD. (11) Ac arwydd yr enwaediad a dderbyniodd efe yn insel y cyfiawnder FFYDD, sef yr hwn oedd ganddo yn y DIENWAEDIAD, i fod o hono ef yn dad pawb o gredinwyr y DIENWAEDIAD, fel [yr arddangosid] y cyfrifid y cyfiawnder iddynt hwythau hefyd. (12) ac yn dad i'r enwaediad; nid i'r rhai a fyddont o ENWAEDIAD yn unig, ond a gerddont hefyd lwybrau FFYDD Abraham ein tad pan yn berthynol i'r DIENWAEDIAD; (13) Canys nid ydoedd yr addewid, y byddai efe yn etifedd y byd, i Abraham nac i'w had, drwy Ddeddf, eithr drwy gyfiawnder Ffydd. (14) Canys os y rhai perthynol i Ddeddf yw yr etifeddion, cifuddiwyd y Ffydd, a dirymwyd yr addewid. (15) Canys digofaint a weithir allan gan y Ddeddf; canys nid oes gamwedd [i enyn y cyfryw ddigofaint tymhorol] lle na byddo Deddf.

(16) Allan o'r Ffydd, gan hyny, y mae, fel y byddai yn ol gras, i'r addewid fod yn sicr i'r had, nid i'r rhai sydd o'r Ddeddf yn unig, eithr i'r rhai sydd o Ffydd Abraham yr hwn [fel y cyfryw] yw ein tad ni oll, (17) Megys y mae yn ysgrifenedig, "Mi a'th wnaethum yn dad llawer o genedloedd," gerbron Duw, yr hwn a gredodd efe; yr hwn sydd yn bywhau y meirw, ac yn galw y pethau nid ydynt fel pe byddent. (18) Yr hwn tuhwnt gobaith ar obaith a gredodd, i fod o hono yn dad cenedloedd lawer, yn ol yr hyn a ddywedasid, "Felly y bydd dy had di." (19) A chan nad egwan oedd efe yn y Ffydd, nid ystyriodd na'i gorff ei hun, yr hwn oedd bellach yn farw (gan ei fod

dros gan mlwydd oed), na marweidd-dra bru Sarah. (20) Eithr i addewid Duw nid ammheuodd efe mewn anghrediniaeth, ond efe a ymgadarnhaodd yn y Ffydd, gan roddi gogoniant i Dduw, (21) a bod yn holiol sicr am yr hyn a addawai efe, ei fod yn abl hefyd i'w gyflawni. (22) O ba herwydd hefyd y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. (23) Eithr nid ysgrifenwyd er ei fwyn ef yn unig, mai cyfrif a wnaed iddo; (24) ond er ein mwyn ninnau hefyd, i'r rhai y cyfrifir—i gredinwyr yn yr Hwn a gyfododd Iesu ein Harglwydd ni oddiwrth y meirw, (25) yr hwn a draddodwyd o achos ein pechodau ni, ac a gyfodwyd er mwyn ein cyfiawnhad ni.

---

## PENNOD V.

### Rran II. Pen. v—viii.

*Rhagorfreintiau credinwyr yn Nuw, neu berthynaswyr cyfundrefn y Ffydd, gyday annogaethau naturiol oddiwrthynt.*

### § 1. Bendithion cyssylltiedig yn Nghyfundrefn y Ffydd wrth ei chyfiawnhad. Pen. v, 1—11.

Ystyria'r apostol fod heddwch â Duw yn brif fendith y cyfiawnhad (adn. 1), ac yn sicr o agoryd y ffordd i dywalltiad o gariad Duw i'r galon gymmodedig (adn. 5); allan o'r hwn y cyfyd gobaith am ogoniant gyda Duw (adn. 5, 2), a dyoddefgarwch dan orthrymder drosto (adn. 3); ar ol yr hyn y cyfeiria at farwolaeth Crist drosom fel ei elynion, fel sail i'n gobaith o'n hachubiaeth drwy ei fywyd ef, fel ei gyfeillion (adn. 8—11.

AM hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau *trwy ffydd, †y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

* "Allan o Ffydd," yw y Groeg llythyrenol. "Trwy ffydd fel moddion," medd Bloomfield. Esay 32, 17; Ioan 16, 33; Rhuf. 3, 28, 30. † Eph. 2, 14; Col. i, 20. "Gallwn gael heddwch â Duw," yw darlleniad un o'r ddau gopi Groeg henaf, heblaw tri arall, o'r bron can hened, heb son am ugeiniau o gopïau diweddarach. Yr un darlleniad sydd hefyd yn yr hen gyfieithiadau Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg, Vulgate, yr hen rai Lladin boreuach na'r Vulgate, ynghyd â biblau amryw o hen dadau Groeg a Rhufain. Felly darllenai Awstin a Morgan. Felly y mae darlleniad Bloomfield, Scholz, a thestamentau Groeg ereill. Ond o'r ochr arall, y mae yr awdurdodau, debygid, cyn drymed eilwaith; ac o ochr yr hen ddarlleniad mae Stuart, a'r esbonwyr yn gyffredin, tra mae Tholuck megys yn methu a mantoli rhwng y ddau ddarlleniad. Gwir fod rhediad yr ymresymiad apostolaidd dros yr hen ddarlleniad, tra mae awdurdod yr hen feiblau yn ymranu yn lled deg rhwng y ddau. "Mae genym heddwch cydwybod,"—Tholuck, Beza, Calvin. "Mae genym heddwch â Duw drwy beidio rhyfela mewn pechod yn ei erbyn ef,"—Origen, Chrysostom, Theoph., Theodoret. "Mae genym gyfeillgarwch a serch Duw tuag atom,"—Walford, Bloomfield. "Cynnwysa yr ymadrodd y tri ystyr hyn," medd Barnes. Cynnwysa y gyntaf a'r trydydd yn unig, yn ol Hodge. "Mae gan y cenedloedd yr heddwch goruchwyliaethol," —Locke, Taylor.

Trwy ffydd, *(ek pisteos)*. Mae amrywiol ffyrdd i arddangos *trwy* ryw beth, yn yr iaith Roeg, eithr nid oes dau o honynt yr un ystyr. Y gair bach a gawn yma am dano a gyssylltir â'r stad neu gyflwr *allan o* ba un y tardda rhywbeth arall; neu ynte â'r achos effeithiol o ryw beth. *Allan o* gyfundrefn y Ffydd, gan hyny, y tardda cyfiawnhad pechadur, ac nid allan o gyfundraethau deddfau natur na dadguddiad. Mae i'r

deddfau eu cyfiawnhad. Gelwid miloedd o oes i oes yn gyfiawnion dan a thrwy Foeseniaeth. Cyrhaeddent gyfiawnder y ddeddf naill ai trwy beidio â'i throseddu, neu drwy ddwyn aberth am eu trosedd. Eithr nid oedd yr ufydd-dod hwnw ddim ond peth gwladol a hawdd, na'i haberthau ddim ond pethau ysgeifn cymhesur iddo. Aberth Crist, yr hwn yw unig Oen Duw y Ffydd, sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod.

Y mae genym *(echomen)*. Gwelir yn y gwahanol ddarlleniadau a nodwyd fod gair arall yn hawlio lle yr ymadrodd cadarnhaol hwn, sef, "gallwn gael heddwch" â Duw. Yn ol y darlleniad olaf, caffem yn ein testun ddynion wedi eu cyfiawnhau, a'u cyfiawnhau hefyd drwy y ffydd, heb ddod i heddwch â Duw er hyny. Os ystyriwn y cyfiawnhad hwn yn rhyddhad personol, rhaid fod ynddo faddeuant pechod. Ac os yw y maddeuant hwn heb ffafr Duw, na chariad ato, yna mae yn beth anmhosibl, heblaw ei fod yn groes i'r ysgrythyrau. Rhaid, gan hyny, na all fod yn rhyddhad personol drwy faddeuant. Ystyrid yr holl fyd yn garcharorion anobeithiol o'r tu cefn i gyfundrefn y Ffydd; eithr dygodd hi iddynt fath o ryddhad, ïe, rhyddhad hollol o garchar anobaith. Maent mwyach yn rhyddion ar dir gobaith yr efengyl, i ymwneyd â maddeuant a rhyddhad personol oddiwrth gondemniad a llywodraeth eu pechodau. Condemniasid hwynt, oni buasai Grist, am eu pechodau blaenorol, eithr dug efe iddynt ryddhad oddiwrthynt ar yr ammod o gofleidio trefn newydd y ffydd. Os caeth eu ceir mwy, am wrthod y drefn hon y bydd hyny. Fel yna y byddai raid esbonio y darlleniad o "gallwn gael heddwch â Duw."

Eithr dros yr hen ddarlleniad y mae yr awdurdod fewnol gryfaf sef ymadroddion ereill yr apostol. Yr un "nyni" yw y rhai a gyfiawnhawyd, a feddant ddyfodfa i'r gras o heddwch â Duw, a safant yndd o yn ddiysgog, ac a orfoleddant mewn erlidiau am eu crefydd. Nid yr *holl* garcharorion gobeithiol, gan hyny, yw y rhai hyn, eithr gwyr hollol ryddion bersonol. Hefyd, pe "gallwn gael yr heddwch" fuasy y cywir ddarlleniad, dysgwyliasem yn yr ymadrodd nesaf, "Drwy yr hwn y cawsom—nage, *gallwn* gael, dyfodfa drwy ffydd i'r gras hwn: yn yr hwn yr ydym—nage, y *gallwn* sefyll," &c. Yr hen ddarlleniad, gan hyny, yw yr un cywir, yn yr hwn y cawn fod i'r sawl a gyfiawnheir drwy gyfundrefn y ffydd, heddwch drwy Grist â Duw.

*Trwy ein Harglwydd, &c.* Nid ydyw ein testyn yn manylu trwy ba un ai ei bregethau, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, ynte ei eiriolaeth, ynte ei Ysbryd yn ei law, y mae hyn i ni; a chan hyny nis gallwn ni *yma* ychwanegu dim, er y gellir uwchben testynau ereill.

2 *Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa †trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ‡ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw.

* Ioan 10, 9; a 14, 6; Eph; 2, 18; a 3, 12; Heb. 10, 19. "Dyfodfa at y Tad,"—Bloomfield. "Y cawsom ragarweiniad,"—A. Campbell, Doddridge. Gesyd Tholuck, Ecumenins, Lamb., Bos., a Michaelis, attalnod ar ol y gair "dyfodfa." † "Trwy ymddiried yn y gras,"—Tholuck. "Cawsom ddyfodfa i'r gras,"—Stuart.

Gadawir "trwy ffydd" allan o rai hen fiblau. "Yn yr hon ffydd yr ydym yn sefyll," —Grotius. ‡ "Gogoniant Mab Duw," medd rhai hen fiblau Lladin, heblaw y Vulgate. "Y gogoniant sy'n deilliaw oddiwrth Dduw,"—Tholuck, Stuart, &c.

Cawsom *(eschecamen)*, *to have, to have in the hand, to possess;* sef, cael, cael yn y llaw, meddiannu. Hefyd, ceir iddo ystyr rymusach, megys, *to have firmly*, meddiannu yn gadarn. Trwy Grist y cafodd y rhai cyfiawnhaol drwy y Ffydd ddyfodfa, sef y cawsant yn sicr, hollol, a digoll, ddyfodfa i'r ddawn neu rad rodd o faddeuant.

Dyfodfa *(prosagoge)*, *a leading or bringing to, accession.* Teirgwaith y cawn ef yn ein Testament. "Y mae i Iuddewon a Chenedloedd ddyfodfa at y Tad drwy Grist, oll yn ysbryd neu deimladau y Testament Newydd," Eph. ii, 18. Yn Nghrist y mae hefyd ddyfodfa hefyd i'r naill a'r llall os deuant drwy drefn fawr y Ffydd, Eph. 3, 12. Sylwer fod y berwyddiad sydd yma yn yr amseriad presennol, yr hyn a ddengys fod i'r credadyn yn barhaus ddyfodfa at y gras o faddeuant, heblaw y ddyfodfa gyntaf ag a gafodd yn y cyfiawnhad.

Sefyll *(istemi)*, *to stand, stand fast, continue, persist;* sef sefyll, sefyll yn gadarn, parhau, mynu sefyll. Gwelwn fod y personau dan sylw fel hyn gyda pherthynas â maddeuant. Dichon mai meddwl yr apostol oedd yn y *Ddyfodfa*—mynu sefyll yn y ddyfodfa at orsedd maddeuant. [Gwel ar Iawn, pen. 3, 25.] Pe felly, at *Dyfodfa* y cyfeiriai "yn yr hwn." O'r ochr arall, ni ellir profi, debygwyf, nad cyfeirio y mae efe at sefyll yn y *Gras*—parhau ar dir neu gyflwr diogel maddeuant. Eithr tebycach yw, yn ol athrawiaeth y Beibl, mai cyfeirio y mae efe at fynnu parhau, neu gadarn sefyll ar yr arferiad o dderbyn y gras o faddeuant; canys felly yn unig, ac nid drwy gyfeirio at ddiogelwch y cyflwr ar dir yr hen faddeuant, heb "sefyll yn gadarn" am faddeuant parhaus—felly yn unig, meddaf, y gellir "gorfoleddu uwchben gobaith o ogoniant Duw." Nid oes yma un sail gorfoledd gyda golwg ar ogoniant yn y diwedd, ar un tir, ond ar y Ddyfodfa am faddeuant. Can gynted ag y cilia troed y sawl a gafodd faddeuant oddiar safle y Ddyfodfa hon—can gynted ag y gallo efe, er yn pechu, fyw heb sefyll ar ddrws maddeuant, derfydd ei obaith am y nef yn nghanol amnheuon—diffydd canwyll ei hyder yn nghanol gwyntoedd cuddiadau gwyneb Duw, ac eithaf ei elynion. Cynnwysa y drychfeddwl arweiniad fel a roddir i bawb dyeithr fyddo yn nesâu at fawrhydi breninol. Crist yw y person sydd yn cyflawni y swydd o Arweinydd i'r pechadur truan ac ofnus. O! fel y cydia yn ei law, y gwena groesaw yn ei wyneb, ac y dylifa geiriau hyder fel y mel dros ei wefusau santaidd, i feddwl isel y truan fo yn ymdreiglo at ei Dad, yn y llwch a'r lludw, a'r annheilyngdod.

3 Ac nid felly yn unig, *eithr yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau; †gan wybod fod gorthrymder yn peri dyoddefgarwch;

4 ‡A dyoddefgarwch brofiad; a phrofiad obaith.

* Mat. 5, 11, 12; Act. 5, 41; 2 Cor. 12, 10; Phil. 2, 17; Iago 1, 2, 12; 1 Pedr 3, 14. † Iago 1, 3. ‡ Iago 1, 12.

Cwyno a grwgnach y byddai deiliaid Moeseniaeth dan bob erlidigaeth fach, tra y clywir y *plant* yn gorfoleddu dan y gorthrymderau trymaf. Mewn gweddi am fellditbion ar eu gorthrymwyr y clywir y gweision truain, Asaph a Dafydd, yn ddibaid; eithr mewn gorfoledd a gweddi am fendithion i'r cyfryw y clywir Pedr a Phaul, o ganol carcharau, fflangellau, a llabyddiadau. "I ba beth y soniwch am yr *hen* ddyfodfa?" meddai Paul: "deuwch i sefyll ar yr un *newydd*. Er nad oedd lle ar eich hen ddyfodfa chwi i neb sefyll am faddeuant o ddim ond rhyw bendant gamweddau, wele nyni yn sefyll yma am faddeuant o'r *holl* bechodau. Heblaw hyny, dyfod a myned—ymlusgo yn ofnus yn mlaen, a chilio eilwaith yn fuan ac ofnus yn ol, yr oeddych chwi, tra gwelir ni yn sefyll gerbron Duw. Can gynted ag y safech chwi i gyflwyno eich aberth, yr oedd yn bryd i chwi droi yn ol i chwilio am ryw aberth gwed'yn; ond nyni ydym yn cael sefyll gan adgyflwyno yr un aberth o hyd. Yr ydym ni fel hyn yn gorfoleddu yn Nuw, tra y buasid dan eich cyfundrefn chwi o Ddeddf ac Enwaediad, yn galaru; ïe, yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymder dros ein cyfundrefn."

DIODDEFGARWCH *(upomene), a remaining behind, abode;* arosiad yn ol, preswyliad. Oddiar ba ystyr y cyfododd yr un, *patience, perseverance, constancy;* sef, amynedd, dyfalbarhad, a dyoddefgarwch mewn ffyddlondeb. Ei ystyr yn yr epistolau yw yr agwedd hòno ar y teimlad fo'n goddef drygau gyda meddwl tawel. Ni allai y rhinwedd brin hon ddod i weithrediad oni bai gorthrymder. Gwelwn fel y mae Crist wedi meiddio gosod ei gyfundrefn mor agos at eithafion galluoedd Duw a dynion. Goreu pawb fydd ei pherffeithrwydd a'i gogoniant. Ni allasai Duw addaw un gyfundrefn flaenorol o'i eiddo, heb addaw mewn llais eglur i fod yn darian rhwng ei deiliaid a'u gelynion. Ac hyd yn nod dan y gyfran barotoawl o gyfundrefn y *Ffydd yn Ngwaed Crist* [Gwel ar pen. 3, 25, *Gwaed Crist*], cyn i'r "nerth o'r uchelder" gael ei gyfranu, "Nac arwain ni i brofedigaeth," oedd y weddi; eithr pa apostol a glybuwyd yn gweddio rhag erlid ar ei grefydd ar ol y pentecost? Dyoddefgarwch yw y rhinwedd mwy.

PROFIAD *(docime), proof, trial;* prawf. Hefyd, *approved integrity;* cywirdeb profedig a chymmeradwy. 2 Cor. 2, 2; a 9, 13. Cyfeirir at waith y mettel yn dyoddef y tân, nes myned drwy hollol brawf.

5 *A gobaith ni chywilyddia, †tam fod cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonau ni, trwy yr Ysbryd Glân yr hwn a roddwyd i ni.

* "Y gobaith hwn,"—Bloomfield, A. Campbell. "Ni thwylla, ni sioma,"—Bloomfield, Barnes, Stuart. "Yn dwyn cywilydd," medd J. Williams, Belsham, "Cariad Duw atom ni, ac nid yr eiddom ni ato ef,"—Hodge, Origen, Chrysostom, Ambros, Luther, Melancthon, Tholuck. † "Yr ystyr yw, gwybodaeth am gariad Duw oddiar ystyriaeth," medd Calovius, Grotius. "Ymwybyddiad yn y galon,"—Tholuck.

CYWILYDDIA *(kataischuno), to dishonour, to disgrace;* gwarthruddo. Hefyd, dwyn i gywilydd, a siomi rhywun. Gwelwn fod cariad Duw yn dywalltedig, neu yn llonaid y galon, yn achos o ddiwedd da i obaith y Cristion; ac nad oes un ffordd arall i fwynhau gobaith da—y go-

baith a baid a throi yn siom a *disgrace* pan ddarfyddom â phob moddion o ras, a phan f'om yn sefyll mewn mwyaf o'i eisieu.

*Cariad Duw.* Gall hwn fod, o ran yr iaith, yn naill ai cariad gan, neu gariad at Dduw. Mawr y dadlu a fu dros y naill a'r llall. Nid yw yn hawdd dirnad pa obaith a all ein cariad *ni at* Dduw gadw ynom, tra gwyddom mor annherfaith ydyw ar y goreu; ac heblaw hyny, tra nad ar un cyfryw deimlad o'n heiddo ni y mae cadernid ein cyflwr yn ymddibynu. Tebycach yw ystyriaeth ddiammheuol, dawel, a difraw, o gariad Duw atom, o fagu gobaith ynom am fyd gwell, heblaw fod Duw ei hun wedi ein cynnysgaethu â lliaws o dystiolaethau o ddiysgogrwydd ei benderfyniad cadwedigol atom. Ystyr yr ymadrodd yw, fod yr Ysbryd Glân yn peri i'r dyn feddwl—ïe, meddwl yn ddiysgog—cael ei lenwi â "thywalltiad" o'r dyb—meddwl felly, meddaf, fod Duw yn ei garu dan ei holl "orthrymder," fel y gwel efe y prawf egluraf yn yr hyn a geir yn yr adnodau dilynol. Ceir yr un gair am dywalltiad o'r Ysbryd Glân yn ei ddoniau, yn Act. 2, 17, 18, 33. Eglur mai doniau gwyrthiol, ac nid cariad Duw, nac un gras cadwedigol arall, a dywalltwyd yno, oherwydd dywed adn. 33, eu bod "yn gweled ac yn clywed" y tywalltiad. Cafodd y Cenedloedd eilwaith yr unrhyw dywalltiad, yn ol Act. 10, 45. Cyfeiria Tit. 3, 6, at yr un tywalltiadau. Dyna fedydd yr Ysbryd Glân, am yr hwn y prophwydai Ioan Fedyddiwr. Heblaw y ddau yna, sef y cyntaf i'r Iuddewon, a'r cyntaf i'r Cenedloedd, nid wyf yn cofio un son am na bedydd na thywalltiad (yr un peth) o'r Ysbryd Glân. Ei roddi i, ac yn y saint, yw pob son arall a geir ar y pwnc.

6 *Canys Crist, pan oeddym ni etto yn weiniaid, †mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol.

* "Yn bechaduriaid," oedd yma yn meibl Ambrosiaster. "Os Crist yn wir, pan &c.," yw darlleniad un o'r copïau Groeg henaf, yr Arabaeg, a'r Coptaeg. "Canys os Crist," oedd yn meiblau Awstin, ac ereill o'i gyfoeswyr. "Eithr os Crist," yw yr hen Syriaeg. "A thros ben hyn, Crist, pan, &c.," medd Œder, Koppe. "Heblaw hyny, Crist," medd J. Williams. "Etto yn druenus, annheilwng,"---Calvin, C. Schmid, Wahl; "a drwg," medd Hodge, Wetstein, R. Cox. "Etto wedi ein gadael heibio gan alluoedd dwyfol fywyd," medd Tholuck, Beza, Grotius. "A ni etto yn gwympedig," medd Michaelis. "A ni etto heb nerth gyda golwg ar y gorchwyl dan sylw, sef dwyn i ben ein cyfiawnhad ein hunain," medd Barnes. "Canys er ein bod yn weiniaid," medd Belsham. "Yn analluog i'n gwaredu ein hunain." medd Haldane.
† Rhuf. 5, 8; a 4, 25. "Mewn pryd arfaethedig," medd Haldane, Bloomfield, A. Campbell, J. W., Hodge, Stuart. "Yn y pryd goreu," medd Hilarius, Theodoret, Sedulius, Grotius, Albertius, Hammond, Doddridge. "Y ddau ystyr," medd Barnes. "Yn lle yr annuwiol," medd Raphel, Bloomfield, Doddridge, Whitby, Stuart, &c., &c. "Ar y pryd yr oeddym ni yn annuwiol bu Crist farw drosom," medd Morgan, Erasmus, Castalio, Calvin. "Er ein llesâd fel esiampl,"—Reiche.

Gweiniaid *(asthenai)*. Arferir am wendid afiach y corff, ac yn allegawl am y meddwl, yn yr ystyr o ddyn digalon nen ofnus, megys yn 2 Cor. 10, 10; am ddynion petrusol, ammheus, yn 1 Cor. 8, 7, 10; ac am rai truenus, yn 1 Cor. 4, 13. Yma ei ystyr yw gwendid a digalondid i gael allan neb a fuasai farw drosom.

Mewn pryd *(kata kairon) at the set time;* ar yr amser gosodedig.

Cawn yr un ymadrodd hefyd yn Ioan 5, 4,—"Angel oedd ar amserau gosodedig yn disgyn i'r llyn." Act. 19, 23,—"A bu ar yr amser gosodedig hwnw, drallod, &c." Rhuf. 9, 9,—"Ar yr amser gosodedig y deuaf." Felly, bu Crist farw dros yr annuwiol ar yr amser apwyntiedig, gosodedig, arfaethedig. Gosodedig gan bwy? yw y gofyniad nesaf a ymgyfyd. Amlwg nad oedd neb i appwyntio y peth ond yr Iuddewon, neu Pilat, nen ei Dad. Nas arfaethodd ei elynion ddim yn nghylch ei farwolaeth, ond y ffaith, sydd hysbys. Yr *amser* nid oedd benderfynedig ganddynt. Rhaid, gan hyny, mai arfaethiad Duw sydd mewn golwg yn y testun.

7 *Oblegid braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn; †oblegid dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd.

* "Dros un anghyfiawn," yw darlleniad yr hen Syriaeg a'r Arabaeg. "Dros un diniwed," medd rhai. "Dros un cyfiawn yn ngolwg y cyffredin, ac yn ngolwg cyfraith ei wlad," medd Stuart, Gataker, Walford, Hodge. "Dros un gonest," medd Tholuck. "Er mwyn mwynhau pethau yn gyfiawn," medd rhai. † Dros un llawn ewyllys da, ac ymddygiad tirion," medd Godwin, Estius, De Dieu, Wetstein, Hammond, Whitby, Koppe, Carpzov, Doddridge, Vatablus, Hodge, Barnes, Stuart. "Wrth y gair *cyfiawn*, a *da*, ystyrir yr un peth," medd Chrysostom, Ecumenius, Casaubon, Piscator, Socinus, Paræus, Gataker, a Beza. "Dros y da, gan gyfeirio at berson neillduol,"---Crist, fe allai, medd Bloomfield, a Stuart. "Dros ei gymwynaswr ei hun," yw y Vulgate, a'r Hispaenaeg.

CYFIAWN—DA *(dicaios—agathos)*. Y *cyfiawn* yw yr hwn a wna yr hyn fo uniawn, a chyfiawn, a theg; a'r *da* yw yr hwn a wna lesâd i un am ddim; cymmwynaswr. Cymharer Tittman de Synon. New Test., p. 20, 22.

*Fe feiddiai un.* Diau ddarfod i ambell un yn dra anaml garu i'r fath raddau â hyn. Clybu pawb yn mron am hanes Damon a Pythias. Condemniasid Damon i farwolaeth gan Dionysius, gormesdeyrn Sicily, a chafodd genad i fyned adref i drefnu ei amgylchiadau, ar yr addewid o ddychwelyd ar yr awr osodedig at y dienyddle. Gwystlodd Pythias ei hun i fyned dan y gosp, os na ddychwelai Damon mewn pryd, yn ol ei addewid. Damon a ddychwelodd yn ol ar y mynyd gosodedig, pan yr oedd y ddedfryd ar gael ei gollwng ar fywyd ei gyfaill, ac a safodd yn mlaen yn ei le ef; a tharawwyd y gormeswr â'r fath syndod uwchben ffyddlondeb y ddau gyfaill i'w gilydd, nes y gollyngodd ei garcharor yn rhydd, gan ddeisyf y fraint o fod yn gyfaill iddynt, i wneyd y gyfeillach yn dri o hyny allan. Saif yr amgylchiad hwn (fel y dywed Barnes) o'r bron heb ei ail. Cofiwn mai dros gyfaill yr ymwystlai Pythias, tra yr ymwystlai Crist dros ei elynion, dros fradwyr ei lywodraeth.

8 Eithr *y mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom; oblegid, †a nyni etto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni.

* "Ei gariad ynom ni," yw yr hen feiblau Lladin. Ioan 15, 13; 1 Pedr 3, 18; 1 Ioan 3, 16; a 4, 9, 10. "Yn arddangos yn eglur ei gariad," medd Hodge, Belsham, Bloomfield. "Cymmeradwyo," medd Doddridge. † "Farw er ein llesâd ni," medd Socinus, Ammon. "Marw yn ein lle ni," medd Bloomfield, Hodge, Barnes, Stuart.

Canmol *(sunistemi), to introduce, to present to one's acquaintance and favourable notice;* cyflwyno i sylw parchus un. Hefyd, gosod allan ger bron, gosod yn amlwg. Gesyd Duw ei gariad tuag at yr annuwiol yn mysg gwrthddrychau amlygaf ac enwocaf y greadigaeth.

9 *Mwy ynte o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau †trwy ei waed ef, y'n hachubir ‡rhag digofaint trwyddo ef.

* Gadewir *ynte* allan o amryw hen gopïau, a chyfieithiadau. † Rhuf. 3, 25; Eph. 2, 13; Heb. 9, 14; I Ioan 1, 7. ‡ Rhuf. 1, 18; 1 Thes. 1, 10. "Rhag cospedigaeth," medd Bloomfield. "Trwyddo ef, sef y gwaed," medd Wetstein.

*Mwy o lawer.* Y gorchwyl annhebycaf o'r ddau oedd ein cyfiawnhad. Mwy tebyg o lawer yw y'n hachubir ar ol ein cyfiawnhau, nag ydoedd y'n cyfiawnheid ar y cyntaf. Peth annhebygol iawn, ynte, yw colledigaeth y rhai cyfiawnhaol. Os oedd y Ceidwad tra yn ymdrybaeddu "yn ei waed" yn alluog i ennill ein cyfiawnhad, mwy tebyg o lawer fydd iddo tra "yn fyw" allu ein cadw rhag cosp ein pechodau.

10 Canys *os pan oeddym yn elynion, †y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef; mwy o lawer wedi ein heddychu, ‡y'n hachubir trwy ei fywyd ef.

* Rhuf. 8, 31. "Yn gas gan Dduw," medd Bloomfield; "ac yn gas o hono," medd Hodge, a Barnes. "Ni wyddis pa un o'r ddwy elyniaeth a feddylir," medd Tholuck. † 2 Cor. 5, 18, 19; Eph. 2, 16; Col. 1, 20, 21. "Y'n dygwyd i ffafr Duw," medd Hodge. "Y dygwyd holl ddynolryw i fod yn achubadwy," medd Bloomfield. Ioan 5, 26; a 14, 19; 2 Cor. 4, 10, 11.

Heddychu *(katallasso), to change towards, as one person towards another, to reconcile to any one;* sef, cyfnewid tuag at, megys y naill berson tuag at y llall; dod yn gymmodus at ryw un. Gair gwahanol, *diallasso*, a arferir pan fyddo y ddwy-blaid yn cyfnewid yn eu teimladau. Gwel Tittman de Synon, p. 101. Teirgwaith arall y cawn y gair yn ein llyfr; "Cymmodi y byd ag ef ei hun,"—"Neu gymmoder hi â'i gwr,"—"Cymmoder chwi â Duw." 2 Cor. 5, 18, 19, 20; 1 Cor. 7, 11. Lle y sonir fod Duw yn cymmodi y byd ag ef ei hun, ymgyfammodi. neu gyfnewid yn ei deimladau tuag ato, a feddylir; tra cyfeiria yr ymadrodd, "Cymmoder chwi â Duw," at gyfnewidiad yn nheimladau y pechadur yn unig. Rhaid, gan hyny, fod Duw eisoes heb un elyniaeth atom ni ag a all ein hattal yn mlaen drwy Grist. Tra yr arosom ar bob tir arall, nid yw ein testun yn arddangos Duw yn ddiddig wrthym. Cymmodwyd; hyny yw, cyhoeddwyd cymmod i'r sawl a'i derbynio, ac yn rhad—heddychwyd y byd oll i'r graddau ac yn yr ystyr yna, â Duw, pan fu farw Crist; ond nid mewn un ystyr, nac ar un tir arall. Etto, tebycach yw fod cyfeiriad ein testun at gymmodiad personol yn y maddeuant; canys yr un personau yw cymmodedigion rhan gyntaf, a chadwedigion rhan olaf, y testun. Gwelwn nad y cymmod yw ein cadwedigaeth: y sicrwydd o'n cadwedigaeth yw. Trwy "farwolaeth ei Fab ef" y'n heddychir â Duw, fel yr achos cynhyrfiol; ac

mai trwy ei fywyd ef ar ein rhan fry, ein hachubir, fel yr achos effeithiol.

11 Ac nid hyny yn unig, *eithr gorfoleddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yr awrhon y derbyniasom y cymmod.

* Rhuf. 2, 17; a 3, 29, 30; Gal. 4, 4. "Ymffrostio yr ydym," medd Belsham.

*Gorfoledda* y saint gan y fraint o gael goddef gorthrymderau dros eu Ceidwad (adn. 3). Gorfoleddant hefyd mewn gobaith am gwmni a gogoniant eu Ceidwad yn y nef (adn. 2). Ond yn benaf oll, gorfoleddant yn eu perthynas â Duw drwy eu Harglwydd Iesu Grist.

"*Yr awrhon* y derbyniasom ni y cymmod," ebe efe; ond yr oedd y cymmod i'w gael i ni cyn hyny. Cymmododd Crist y byd â Duw pan fu farw, er mai yn awr y derbyniodd Paul y cymmod hwnw yn bersonol. *Trwy Grist* y derbyniodd Duw, ac y derbyniwn ninnau hefyd, yr un cymmod.

---

§ 2. Cyfiawnder Crist, sef Cyfiawnder y Ffydd, yn tra-rhagori ar y Ddeddf, etto, gyda chyfeiriad at farwolaeth dymhorol.

Ystyriai yr Iuddew ofergoelus fod pob da a feddai y byd yn deilliaw allan o fwg a thân Sina, mewn cyssylltiad â chyfrifiad o gyfiawnder ei dad, Abraham, yr hwn, yn ol ei dyb ystyfnig ei hun a fwynhäai efe drwy enwaediad personol.

Rhediad ymresymiad yr Apostol sydd fel y canlyn:—

1. Gan ein bod wedi ein cyfiawnhau drwy waed Crist, (adn. 9.)

2. Gan ein bod wedi ein heddychu â Duw drwy farwolaeth Crist fel yr oedd efe yn Fab iddo, (adn. 10.)

3. Gan ein bod felly mor sicr o gael ein gwaredu rhag y Digofaint drwy Crist, (adn. 9), sef drwy ei fywyd ef, (adn. 10,)—yr ydym yn gorfoleddu yn Nuw, &c., (adn. 11.)

Hefyd, yr ydym yn gorfoleddu yn Nuw, a'i drefn o Ffydd a chyfiawnder drwy Grist; yr hyn a arddengys fod genym ynddo destun gorfoledd. Am hyny, megys y mae ynddo, nid yn unig grâs i ni, y cyfiawnion, ond grâs hefyd i bob dyn, gogyfer â'r golled a ymddengys yn tarddu drwy yr Adda cyntaf, a'i gamwedd cyntaf ef. Ac fel hyn, meddai yr apostol, y mae.

1. Mae marwolaeth, rywfodd, yn weledig deyrnasu ar bob dyn.

2. Gan mai goruchwyliaeth groes i natur ydyw, rhaid fod rhyw ddrwg wedi ei pheri.

3. Gan fod pob un, bydded efe weithredol bechadur neu beidio, yn marw, rhaid nad am ein pechodau ein hunain y mae.

4. Trwy un dyn y daeth y farwolaeth hon i mewn i'r byd, a thrwy bechod yn unig o'i eiddo ef, hefyd, (adn. 12).

5. Trwy *un* weithred hefyd o'i eiddo ef—un camwedd neu drosedd o orchymyn pendant yn unig, ac nid un trosedd moesol ynddo ei hun, (adn. 15, 16).

6. Nid dygwyddiad, ond condemniad barn yw y farwolaeth gyffredinol hon, (adn. 18).
7. Trwy gael eu gosod i fodoli yn sefyllfa pechaduriaid y daeth y llaweroedd dan sylw yn ddarostyngedig i'r farwolaeth hon. Eu "gwneuthur" a gawsant yn bechaduriaid o'r natur hyn; ac nid myned i'r sefyllfa yn wirfoddol, (adn. 19.)
8. Rhaid, gan hyny, ddarfod cyfrif pechod cyntaf y cyfryw ddyn cyntaf i bawb; yr hyn nid yw mewn ffaith yn ddim mwy na'u gosod dan ei benyd gyhoeddedig, sef marwolaeth.
9. Eithr ni chyfrifer cosp pechod y naill ar y llall, pryd nad oes deddf i'w gyfrif felly. Annhrefn fyddai hyny, (adn. 13.)
10. Nid peth yn cyfodi oddiar annhrefn o un math, yw amlhâd pechod un dyn fel hyn i fod yn eiddo i bawb yn ei gosp, canys deddf newydd a ymwthiodd i mewn i Eden, drwy Iesu Grist ein Harglwydd, i arbed y troseddwr gweithredol, er mwyn rhagor-amlhad ei ras mewn poblogiad byd â dynion o hono; a chan y mynai y grâs hwnw ei arbed ef, rhaid oedd amlhau y camwedd dan sylw o ran ei gosp, marwolaeth, ar bob dyn; tra, pe nas ymwthiasai y ddeddf newydd hon (deddf ysbryd y bywyd) i mewn, heb ei amlhau y gadewsid y camwedd o ran ei gosp, canys dienyddiasid y dyn cyntaf yn y dydd y troseddodd, yn ol dedfryd y cyfammod dwyfol ag ef, (adn. 20.)
11. Y ffordd yr amlhawyd y pechod hwn yn eiddo i bawb, oedd drwy gyfluniad deddf i osod pawb i bechu yn gyfrifol yn yr hyn yw y farwolaeth hon; sef, i sefyll dan gosp a elwir felly; ac felly yr aeth y farwolaeth hon ar bob dyn, (adn. 12). "Yn yr hwn y pechodd pawb" yn yr ystyr difrifol hwn, nid yw namyn yr un peth yn hollol ag a geir yn yr ymadrodd, "yn Adda mae pawb yn meirw."
12. Ni ddeil y dyb mai allan o'r ddeddf sy'n ymweled â phechodau y tadau ar y plant, y mae babanod yn meirw, canys yr oedd hyd y ddeddf, neu o Adda hyd Moses, y pechod hwn sef marwolaeth yn *cyffredinol* deyrnasu.

Yr oedd yr Adda cyntaf yn rhyw ffurf o'r ail Adda.

1. Yr oedd ei gamwedd, neu droseddiad ef o ddeddf bendant, ac ufydddod Crist i ddeddf bendant arall, yn dylanwadu ar yr un personau—ar y llawer—ar bawb, (adn. 15, 18, 19.)
2. Yr oedd y farwolaeth gorfforol a dreiddiodd i mewn *(dielthein)* drwyddo ef, a'r ddawn neu rodd o ryddhad bywyd a ddaeth i mewn drwy Grist Iesu, yn perthynu i'r un gwrthrychau—i bawb, (adn. 18.)
3. Y mae y tir, neu yr ystyriaeth, yn mha un y gosodir y llaweroedd i sefyll yn bechaduriaid drwy ei anufudd-dod ef, yn hollol yr un *(kathistemi)* tir neu ystyriaeth, â'r hwn yn mha un y gosodir y llaweroedd i sefyll yn gyfiawnion drwy ufudd-dod Crist, (adn. 19.)
4. Heblaw fod y farwolaeth, a'r grâs neu ddawn dan sylw, yn gymmwysiadol at yr un gwrthrychau; mae hefyd gyfaddasrwydd yn natur yr olaf i lwyr ddileu colledion y blaenaf. Os oes Condemniad yn y naill, mae Rhyddhad hollol odditano (cyfiawnhad) yn y llall, (adn. 18.)

Etto, nid megys y mae trwy yr Adda cyntaf y mae trwy yr ail Adda, (adn. 16.)

1. Oddiwrth *un* camwedd yn unig—camwedd Adda, y gallasai pawb ar dir cyfiawnder ofyn rhyddhad, neu gyfiawnhad bywyd allan o gar-

charau byd anweledig a bedd (adn. 18), a hyny oherwydd ddarfod eu carcharu felly heb eu gosod ar brawf; tra mae y CHARISMA neu ddawn, yn cynnwys ynddo ryddhad neu gyfiawnhad oddiwrth *lawer* o gamweddau, (adn. 16.)

2. Tra mai marwolaeth gorfforol yn unig yw y golled i'r llaweroedd drwy yr Adda cyntaf; mae gras Duw drwy Grist wedi tra-amlhau i'r un llaweroedd, nes y maent oll yn derbyn llawer mwy o fanteïsion, drwy y Ddeddf a ymwthiodd i mewn yn llaw Crist Iesu, (adn. 20), nac a gynhwysir yn y farwolaeth a osodwyd [Heb. 9, 27] iddynt drwy eu disgyniad o arbededig droseddwr cyfammod bywyd ac angeu corfforol yn Eden. (adn. 16.)

3. Tra nas gallesid ar dir cyfiawnder, ond dysgwyl rhyddhad neu gyfiawnhad bywyd yn unig; cynnwysa y Ddeddf newydd o râs hawl i hyd yn nod teyrnasu mewn bywyd ar y teyrn, angeu, a deyrnasasai gyhyd arnynt hwy, i bawb sydd yn dewis derbyn *(lambano)* lliosogrwydd o ras, ac o ddawn neu rodd y cyfiawnder drwy Grist, (adn. 17.) Mae cael gogoniant y nef yn tra-rhagori ar gael adgyfodiad o'r bedd yn unig.

4. Yn Eden, y lle yr amlhawyd cosp pechod Adda yn gosp neu farwolaeth i bawb, drwy fod Crist yn dwyn Deddf newydd i mewn i beri eu bodolaeth, drwy arbediad eu rhieni; ïe, yn y lle a'r pryd truenus hyny, rhagor amlhaodd y grâs; o ran lliosogrwydd rhywogaeth a graddau, os nad hefyd o ran gwrthrychau. Gwell, gan hyny, yw i bob dyn gael bodolaeth na pheidio, can belled ag yr â Deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu. Ond os amgen—os gwell fuasai i ryw un pe nas ganesid ef, ei ymlyniad wrth Ddeddf pechod a marwolaeth fydd y trwm achos o hyny.

5. Os parodd arbediad grasol y Ddeddf newydd drwy Grist, i bechod Adda yn ei farwolaeth, deyrnasu ar gymmaint o ddynion, yn lle ar Adda ac Efa yn unig; yr oedd amcan ymwthiad grâs i mewn, am gael teyrnasu, drwy anrhegu bywyd tragwyddol mewn dedwyddwch iddynt oll, (adn. 21, "Teyrnasai," nid "teyrnasodd.") Mae y Ddeddf newydd o osod ymddiriediad bywydau pawb ar Adda yr ail, ac nid ar y cyntaf, yn ras i bawb. Gwell yw i *fabanod* gael eu symmudo i ogoniant fel y maent yn cael, drwy Grist, na chael byw i sefyll eu prawf ar yr hen dir cyntaf. Gwell yw i *dduwiolion* eu bod yn sefyll eu prawf ar dir efengyl nac ar dir natur; a gwell ydyw hefyd i'r *annuwiol* yntau, o gymmaint a bod trefn y Ffydd yn darparu iddo gymmaint o ras, fel i ereill, yn gymhorth i fucheddu yn rhinweddol, gogyfer a'i alluogi i sefyll ei dir yn y farn. Trown yn ol, bellach, i feirniadu ar ymadroddion yr apostol er mwyn profi ynddynt seiliau i'r gosodiadau blaenorol.

12 *Am hyny, megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; †ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, ‡yn gymmaint â phechu o bawb.

* "Am hyny," nid yw yn yr hen feibl Syriaeg. "Trwy un dyn fel yr achos, ac nid fel yr achlysur," medd Stuart, Hodge. "Fel achlysur," medd Barnes. "Trwy un dyn y daeth y naws neu anian bechadurus i'r byd," medd Bretschneider, Macknight, Tholuck. "Nage; ond drwyddo y dechreuwyd gweithredu pechod," medd Stuart.

"Ffysg dynion y byd," medd Stuart, Barnes. "Yr ymwthiodd, ymosododd pechod ar y byd," medd Stuart. "Am hyny, sef y mae yn naturiol oddiwrth yr hyn a ddywedwyd," medd Tholuck, Hodge. "Yn mhellach, megys trwy, &c.," medd Barnes. † "A marwolaeth y corff yn unig," medd Bloomfield, Schoettgen, Flatt, Schott, Reiche. "A marwolaeth naturiol y corff, ac ysbrydol yr enaid," medd rhai. "Marwolaeth o ddifodiad hollol," medd rhai. "Marwolaeth naturiol, ysbrydol, a thragwyddol," medd Macknight, Hodge, Charles, Tholuck, "Pob trueni amserol a thragwyddol," medd Koppe, Schleusner, Barnes, Walford, Stuart. "Felly y cerddodd marwolaeth trwodd i bob dyn," medd rhai. "Y treiddiodd hi trwodd," medd Luther. "Felly y disgynodd hi ar bob dyn," medd Doddridge, De Wette. "Felly y trosglwyddwyd marwolaeth o genedlaeth i genedlaeth," medd Bloomfield, Clement Romanus, Koppe. "Marwolaeth yma yw trueni ysbrydol," medd Morgan. "Felly, megys y bu farw Adda am ei bechod ei hun, y mae yn marw bob dyn,"—Amryw. ‡ "Yn yr hwn pechodd pawb," yw'r Vulgate, Awstin, Beza, Calixtus, C. Schmidt, Calovins, Quenstedt, Raphel, Origen, Jerom, Ambros, Awstin, Edwards, Anselm, Odoardus, Davidson. "Oherwydd pechu o bawb," medd Phavorinus, Thomas Magister, Theodoret, Photius, Morgan, Erasmus, Luther, Calvin, Peter Martyr, y beiblau Cymraeg a Saesonaeg, Gerhard, Piscator, Paraeus, Buddaeus, Wetstein, Carpzov, Koppe, Flatt, Schott, Vatablus, Steudel, Tholuck, Rückert, Reiche, Barnes. "Trwy yr hwn pechodd pawb," medd Grotius. "Oherwydd yr hwn, &c.," medd Elsner. "Yn ol esiampl yr hwn, &c.," medd Photius, Ecumenius, Bretschneider. "I'r hyn y pechodd pawb," medd Doddridge, Taylor. "Gyda'r hwn," medd Cocceius. "Gwedi yr hwn," medd rhai. "I'r hon (farwolaeth) fel canlyniad, pechodd pawb," Homberg, Venema, Schmid, Glockler. "Yn gymmaint a bod pawb yn cael ymddwyn tuag atynt fel pe byddent bechaduriaid," medd Storr, Hodge, Turner. "Ac felly y dygwyd oddiamgylch fod pawb yn pechu," medd Stnart. "Trwy yr hwn, yn mha un y pechodd pawb," medd Walford. "Yn yr hwn goddefa pawb benyd pechod," Chrysostom, Theophylact. "Megys y daeth pechod i'r byd trwy un dyn, yn yr hwn pechodd pawb, a marwolaeth drwy bechod; felly y daeth marwolaeth ar bob dyn," A. Campbell, J. Williams. "Yn gymmaint a myned o bawb yn llygredig,',---Rhai.

*Am hyny.* Am ba beth? *ymhellach,* megys, &c., heb gyfeirio at ddim blaenorol, oedd esboniad Schleusner a Wahl; tra dywed Tholuck, Reiche, a Glockler, mai o *ganlyniad* yw yr ystyr, er nad ynt yn ein hysbysu canlyniad o ba beth ydyw. Nid wyf fi yn gallu canfod un anhawsder i ddeongli:—"Oherwydd fod cyfiawnder, neu haeddiant ufudd-dod Crist yn nhrefn y Ffydd, yn gyfryw ag a nodwyd i ni, y Saint, rhaid fod ynddo hefyd y manteision a nodaf etto, i bob dyn."

MEGYS *(ősper)*; sef megys y mae fel ar fel yma, felly hefyd y mae fel ar fel acw. Ond i ba le yr awn am orpheniad yr ymresymiad? Mae esbonwyr wedi dadlu llawer ar hyn. "Am hyny; sef 'derbyniasom y cymmod;' am hyny; yr un modd â hyny y daeth marwolaeth i'r byd trwy Adda," medd Cocceius, Elsner, Koppe, Cramer, Rosenmuller, a Stolz. Gwelai Le Clerc, Wolf, a Homberg orpheniad yr ymresymiad drwy gyfnewid yr "ac felly yr aeth," yn yr adnod, gan ddarllen:—"Megys trwy un dyn y daeth pechod, &c., felly hefyd yr aeth marwolaeth, &c.," gan droi "ac felly," o chwith yn "felly ac." Calvin, a Gomer, Tholuck, Schmid, ac ereill a'i gwnant fel hyn:—"Megys trwy un dyn, &c., &c., yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddyfod," allan o ddiwedd adn. 15. Eithr tebycach yw barn Stuart ac ereill, y rhai a'i gorphenant yn adn. 18:—"Am hyny, megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, &c. Felly gan hyny, megys trwy gamwedd un, &c." Eithr gwell na barnau pawb yw arferiad ieithyddol ein hapostol

ei hun, mewn manau ereill; megys adn. 19, 21, a 6, 4, 19; a 11, 30; 1 Cor. 11, 12; a 15, 22; a 16, 1; 2 Cor. 1, 7; Gal. 4, 29; Eph. 5, 24; lle gorphena efe yn gysson â'r gair *felly (outôs)*, neu y cyffelyb, ar ol dechreu â'r gair *megys (ôsper)*. Arferai Matthew, Luc, Ioan, ac Iago yr un priod-ddull. Arferir y gair sydd yma am *megys* hefyd, heb yr unrhyw air *felly (autôs)* ar orpheniad yr ymadrodd, er mai yn anaml gan Paul. Stuart. ynghyd â llawer ereill a fynant mai yn adn. 18 y gorphenir yr ymadrodd:—"Am hyny, megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd; felly gan hyny, megys trwy gamwedd un, &c." Dïau fod Paul yn aml yn neidio at egluriadau o ran gyntaf ei ymadrodd, cyn dwyn y rhan olaf i mewn; etto nid ydyw yn ymddangos fod yr hyn a geir yn adn. 18 yn ddim ond ad-lefariad o'r hyn a ddywedasai efe o'r blaen, mewn dull arall. Gan hyny, gwell genyf fi yw meddwl fod Paul yn fwy rheolaidd ysgrifenydd nac y neidiai efe gymmaint a hyna cyn gorphen ei ymadrodd. Nid yw yr enghreifftiau ereill a ddygir yn mlaen, megys Pen. 2, 6—16, &c., ond cyfodi oddiar gam-ddealliad o'r ymadroddion dan sylw. Y cyssylltiad goreu, debygwyf sydd fel hyn:—"MEGYS trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, hefyd, FELLY yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymmaint a phechu o bawb."

TRWY *un dyn y daeth (dia, with the Gen)*. Pa un ai trwyddo fel trwy ben cyfammodwr, fel llygriad neu naws yn y natur, fel esampl, ynte pa fodd? I hyn rhaid ateb, nad yw y gair bach "trwy" yn cyflwyno un atebiad. Gall fod ei ystyr yn, trwyddo fel moddion, neu fel gweithredydd; fel achos neu fel achlysur.

Y DAETH *pechod (eiselthein) to enter in, or into.* Nid dyfod at, ond dod i mewn yn drwyadl i ryw le. Nid oes raid i ni fyned yn mhellach na dywedyd mai trwy i ryw "un dyn" droseddu ar y dechreu, y daeth pechod i mewn i'r byd hwn.

BYD *(kosmos)*. Arferir am y byd fel lle, ynghyd ag am y byd fel preswylwyr. Pe yma yn yr ystyr olaf, i fysg dynion y byd a feddylid; tra pe yn yr ystyr flaenaf, caniateid i ni ddywedyd, mai trwy un dyn y daeth pechod i mewn i'r lle hwn, byd, i gythreuliaid, yn gystal a dynion, pwy bynag font yn y *lle*. Eithr pa ddeongliad bynag a roddir i'r gair, eglur yw nad drwy Satan y daeth pechod i mewn i Eden. Pwy bynag, gan hyny, oedd y sarff hono sydd yn yr hanes, nid oedd hi yn greadur cyfrifol, onide buasai yn bechadur; canys dywedodd gelwydd cyn i ddyn bechu dim. Trwyddi hi, a nid trwy un dyn, y daeth pechod i mewn i'n byd ni, o ran lle, yn gystal ag i'n mysg fel pobl, os ystyrir hi yn greadur cyfrifol. Eithr, gan nad oedd hi yn gyfryw, nid oedd y geiriau celwyddog yn ei genau yn bechod. Cofiwn fod Adda yn llywodraethu ar bob creadur daearol, yr hyn nis gallasai oni bai ei fod yn gallu peri iddynt ddeall ei ewyllys, i'r hyn yr oedd ofynol iddo allu deall eu hiaith. Buasai yn gam dirfawr ag ef, i osod y cyfryw lywodraeth arno heb ei gynnysgaethu â'r cyfryw gymhwysder. "Trwy un dyn y daeth y pechod i mewn i'r byd," yw yr ymadrodd; canys cawn y fannod o flaen y pechod, i'n cyfeirio at ryw bechod neillduol. "Nis gallai amcanu i'r ymadrodd hwn gael ei ddeall yn ei fanyldra, (medd Dr. Stuart) canys dysgir ni ganddo ef ei

hun, mai 'y *wraig*, wedi ei thwyllo, oedd yn gyntaf yn y camwedd, I Tim. 2, 14.'" Mewn atebiad, nid oes genyf ond cyfaddef mai anhawdd iawn yw peidio cymmeryd ymadroddion gwirionedd "yn eu manyldra." Gellid tybied wrth yr hanes yn Genesis, nad oedd un gwaharddiad i neb ond Adda i fwyta o'r pren. "Y gelli," nid "y gellwch fwyta" (2, 16); "na fwyta," nid "na fwytewch o hono (adn. 17);" "yn y dydd y bwytâi," nid "bwytewch o hono;" "gan farw y byddi," nid y "byddwch farw." Hefyd, nid yw Duw yn edliw i'r wraig nac i'r sarff, ond i'r gwr yn unig, gyflawniad o un pechod. Yn wyneb hyn oll, ynghyd â'r hyn a ddywed ein testun, ymddengys nad oedd y wraig yn pechu drwy dori gorchymyn pendant Duw i'w gwr; canys gwyddom nad oedd bwyta o'r pren yn bechod moesol, neu bechod ynddo ei hun. Dros ystyried y wraig, o'r ochr arall, yn gyfranog o'r camwedd, cawn y sarff yn gofyn :—"Ai diau ddywedyd o Dduw, Ni chewch chwi fwyta, &c," gan osod y ddau o fewn y gwaharddiad. Yr un modd y gesyd atebiad y wraig iddi. A phe gallem ystyried y sarff yn gelwyddog, a'r wraig yn anneallus, pa beth wnelem o Paul? canys tystia yntau fod y wraig hefyd "yn y camwedd." Nid oes un ffordd, debygid, i ddod allan o'r anhawsdra, ond drwy ystyried fod Duw a Phaul yn llafaru am Adda fel pen y wraig.

A MARWOLAETH *(ho thanatos)*. Pa farwolaeth yw hon; ai difodiad, ynte marwolaeth gorfforol, ynte ysbrydol, ynte tragwyddol mewn poenau, ynte y tair olaf ynghyd? Gosodaf yma yn unig ryw gwpl o resymau dros y deongliad a ddewisir yn y gwaith, gan adael yr ymresymiadau, gan mwyaf, ynghyd ag eiddo gwrthwynebwyr y pwnc, hyd y TRAETHAWD ar FARWOLAETH, ar y diwedd. Wrth ystyried fod y bygythiad yn Eden yn disgyn ar ereill, rhaid fod y ddeddf a ddaeth i mewn drwy Grist Iesu (adn. 20) i arbed y pechaduriaid er mwyn i ras gael poblogi byd drwyddynt, yn unig achosydd o hyny; oherwydd, yn un peth, ystyr y gair hwn, *marwolaeth*. *Nid marwolaeth yr annuwiol* ydoedd yr hon a fygythid, oherwydd y mae yn dysgyn ar bawb. Pa beth, a yw pawb yn myned i boenau am fwyta o Adda ffrwyth gwaharddedig pren? Ie; a yw babanod—canys y maent hwythau o fewn cylch y *pawb*, yn disgyn dan farwolaeth dragwyddol? Diau nad oes neb a feiddia haeru y fath athrawiaeth echryslawn. Rhaid, gan hyny, na all y farwolaeth hon fod yn dragwyddol ar yr ystyriaeth o fod bygythiad cyfammod Eden yn disgyn ar holl hiliogaeth y dynol gyfammodwr. *Nid marwolaeth y duwiol*, ychwaith, a fygythid, canys pe felly, dyma fuasai ei sylwedd :—"Na chyffwrdd, O ddyn, â ffrwyth y pren dan sylw, oblegid yn y dydd y bwytei o hono, disgyna dy gorff i'r ddaear yn farw fel yr ydoedd ar y cyntaf, a'th enaid a ddygir yn ofalus allan o baradwys ddaearol i'r lan i'r baradwys nefol, ac allan o brawf, ac amheuon, ac ofnau cwympo, i sefyllfa yn yr hon na bydd ofn, na llafur i'th flino byth." Gwel pob un na buasai hyn yn ddim ond gosod gwobr benaf ufudd-dod o'i flaen yn dâl am anufudd-dod. Rhaid, gan hyny, nad marwolaeth fel eiddo y duwiol, ychwaith, a fygythid. *Nid marwolaeth gorfforol* a fygythid, ychwaith; canys, os oedd ysbryd yn y dyn ar y pryd, buasai heb hawl i esgyn i'r nef na disgyn i uffern, ar ol ei ymadawiad â'r corff, oherwydd profasom hyna

eisoes. Yn awr, os na ellir caniatau damnedigaeth babanod, na bod nef yn wobr anufudd-dod, na bod ysbryd dyn yn y sefyllfa ryfedd o fod heb na gwobr na chosp, ar ol darfod ei brawf, a'i ddarfod mewn troseddiad amlwg o ammodau y prawf hwnw; rhaid ynte, mai rhyw farwolaeth arall a fygythid. Marwolaeth arall i gyrhaedd y corff, nid yw fy nirnadaeth yn gallu taro wrthi, heblaw difodiad. *Difodiad hollol ar gorff ac enaid*, ynte, ydoedd yr hyn a fygythid yn y geiriau trymion,—" gan farw ti a fyddi farw!"

Ymholiad tra anghenrheidiol, bellach yw:—" Os difodiad oedd y farwolaeth a fygythid, pa fodd y daeth hi yn amgen na difodiad arnom ni: canys dywed Paul mai 'yn Adda mae pawb yn meirw,' a mai 'drwy bechod un dyn y daeth i mewn y farwolaeth ar bob dyn,' yr hyn a brawf mai oddiwrth Adda y daeth ein marwolaeth gorfforol ni, yn yr hon nid oes difodiad, ond oediad bywyd." I hyn atebir, nad oes fodd cyssoni y pethau hyn ar yr ystyriaeth o fod Adda yn bencyfammodwr, a phawb oll ynddo mewn rhyw ystyr, ar y dydd y pechodd efe. Nage, nid allan o'i gyfammod ef y deillia y fath farwolaeth fanteisiol ag a ddisgyna ar ddynoliaeth. Er hyny, drwyddo, neu ynddo ef, mewn ystyr arall, y mae pawb yn meirw. Pa fodd y cyssonir pethau mor groes â hyn i'w gilydd? Nid pethau croes i'w gilydd ydynt. Gwnaed dyn ar y cyntaf, o ran ei gorff fel anifail arall. Yr un tân â losgai, a'r un dwfr â foddai, a'r un cledd â drywanai y ddau. Nid yw o un pwys gwybod, a gwybod nis gallwn, pa un a'i difodiad anifeilaidd, ynte y farwolaeth bresennol, fuasai tynged y corff dynol, pe buasai farw cyn y cyfammod. Trefn yn cynnwys ynddi adgyfodiad iddo, nid oedd, o leiaf, yn ddatguddiedig. Cawn yna, pan oedd dyn yn ei gyflwr cyntefig, ddarfod i Dduw dosturio cymmaint wrtho, ag i ymostwng i ymddyddan ag ef, a'i osod ar brawf i ennill goruchafiaeth ar angeu. Dyna y wobr; canys un wobr arall nid oedd fodd i fod mewn cyferbyniad i'r gosp o farwolaeth ddiatreg. Daeth Adda i afael y farwolaeth, yn y dydd y bwyttaodd. Arbedwyd ef, drwy Grist a'i ddeddf newydd, yr hon a "ymwthiodd i mewn i'r lle yr amlhaodd pechod" (adn. 20). O hyny allan, daeth hwn yn Adda yr ail, oherwydd mai efe yw ein tad effeithiol ni oll; canys amlwg yw, na fuasai anedig un enawd oll, oni bai yr arbediad grasol hwnw. Cynnwysai y penyd ddifodiad hollol i Adda; a disgyniad ei blant, pe buasent i'w cael, i lawr i gyflwr cyntaf dynoliaeth, o farw o ran eu cyrff fel y nodwyd, yr un modd â phob anifail arall. Felly, mewn ffaith yr ydym yn meirw, o hyny hyd yn awr. Yr un ddamwain yw angau dyn a'i anifail. Dyma yr unig ffordd (am a wn) i gyssoni beibl â ffaith. Buasai yn gam i ddifodi plant Adda am bechod eu tad. Ni chawsant hyny. Cawsant eu gadael yn unig ar y tir eu crewyd ynddo. Ond nid oedd neb o honynt, mewn ffaith i'w cael; eithr dyna y tir yr oedd raid eu disgyn iddo, pe trefnid modd i'w dwyn i fodoliaeth. Trefnwyd y cyfryw foddion, a thyna lle y maent i'w cael. Mae pawb mwy, o ran ymddiried, yn marw dan gyfundrefn yr ail Adda. Etto, pe safasai yr Adda cyntaf, buasent oll uwchlaw marwolaeth, oddieithr iddynt fwyta o'r pren eu hunain. Ymddengys fod y cyffyrddiad cyntaf a'r pren yn golledіad *(forfeiture)* o'r hawl i geisio ennill bywyd oesol

mwy. Felly, nid oedd pawb yn Adda mwy nag y buasai Adda ynddynt hwythau, o ran dim a gawn yn y dadguddiad dwyfol. Gan Awstin a'i ddyscyblion yn unig y cawn eu bod yn Adda fel pen-cyfammodwr. Ceir eglurhad yn y sylwadau canlynol nad oedd modd i Awstiniaeth fod yn gywir. Y modd y trowyd difodiad penydiol Eden yn adgyfodiad a bywyd bythol yw, trwy ras Iesu Grist ein Harglwydd yn cyfryngu yn nghanol y farwolaeth, i'w throi yn fantais yn lle colled. Felly, gwell yw i ni fod genym ail Adda i beri ein bodolaeth, na phe gadawsid pethau fel yr oeddynt gyda'r cyntaf: felly buasem heb ein geni byth.

Trwy bechod *(dia tes omartias)*; trwy y pechod, sef y pechod neillduol dan sylw, ac nid unrhyw bechod arall. Trwy y pechod daeth i mewn pa beth? Hollol lygriad dynoliaeth. Nage; canys "marwolaeth yw yr hyn a ddaeth i mewn trwy y pechod hwnw," ebe Paul. Diehon fod yr adnodau dilynol yn profi dyfodiad llygredd pechadurus i'n rhan; eithr yr hyn a elwir "marwolaeth" yn unig sydd *yma* wedi dod felly. "Ond cynnwysir y llygredd moesol hwnw yn y farwolaeth," medd rhai. Na wneir, os yw yr hyn a brofasom eisoes dan y gair "marwolaeth" yn gywir. "Trwyddo," yn mha fodd, nid yw y testun yn ein hysbysu. Gwyliwn rhag dychymmygu un *modd* i'r trosglwyddiad hwn, a osoda esgus dros bechod gweithredol neb.

Ac felly *(kai outôs)*. Yma y gorphenir yr ymadrodd a ddechreuir gyda'r adnod:—"Megys trwy un dyn y pechod i mewn i'r byd ddaeth, felly hefyd trwy y pechod y farwolaeth ar bob dyn a ddaeth."

Yr aeth *marwolaeth (dielthein)*, *to come or go through*, *to pass through*; dyfod neu fyned trwodd. Dyfod trwodd, drwy osodiad, ïe, gosodiad cyflawn o ras, a wnaeth marwolaeth, i'r byd hwn; sef y farwolaeth neillduol bresennol, ac nid un fath berthynol i gyflwr cyntefig dyn, cyn cyfammod Eden.

Ar bob dyn *(eis)*; fel canlyniad i bob dyn yw yr ystyr.

Yn gymmaint *a phechu o bawb (eph' hô)*. Ni bu nemawr frawddeg fach erioed wedi peri cymmaint dadlu yn nghylch ei hystyr a hon. Nad yw yr esboniad cyffredin yn gywir, sydd eglur, oddieithr fod pawb yn marw yn gymmaint a phechu o bawb yn weithredol i haeddu hyny. Na phechodd babanod felly, sydd amlwg. Fod Paul yn dywedyd mai drwy gamwedd Adda, ac nid yr eiddynt eu hunain, sydd yr un mor amlwg. Nid cyfeirio y mae ein testun, gan hyny, at bechod gweithredol. Pa bechod arall y sydd. Dim ond pechod cyfrifol.

Dywedyd:—"Ar ol yr hwn y pechodd pawb," neu "Trwy esiampl yr hwn y pechodd pawb," na dim arddangosiadol o bechod gweithredol o un rhyw, ni chyfatebai i'r ymadrodd blaenorol yn well na'r un cyffredin a nodwyd, er fod y ffaith hanesiol yn goddef y cyfryw esboniadau yn esmwyth.

Dylai y sawl hefyd a dynant lygredd gwreiddiol allan o'r ymadrodd hwn, gofio nad yw yr hyn a gyfrifir i ddyn yn cyfnewid gronyn ar ei naws foesol, ond ar ei gymmeriad yn unig. Pe amgen, pa beth a debygem am Grist, canys "gwnaethpwyd ef yn bechod drosom ni?" Gobeithiaf nad oes neb yn ystyried fod dynolryw, drwy gael eu gosod i sefyll yn bechaduriaid cyfrifol, yn derbyn dim o chwaeth, na hadau,

na llygredd y cyfryw bechod o'u mewn, mwy nag yr oedd Crist drwy y gwneuthuriad o hono yntau yn bechod. Gwneyd un yn bechod trwy gyfrifiad, nid yw amgen na gosod arno gosp y cyfryw bechod; felly hefyd, pechu yn gyfrifedig nid yw amgen na derbyn cosp y pechod hyny eilwaith. Marwolaeth gorfforol yw yr unig gosp, neu ganlyniad, neu golled oddiwrth gamwedd Adda, oddieithr i ni feddwl fod esiampl ddrwg ei bechod wedi peri rhyw golled.

13 *Canys hyd y ddeddf yr oedd pechod yn y byd: †eithr ni chyfrifir pechod pryd nad oes deddf.

* "Hyd amser dodiad y ddeddf," medd Turner, Bloomfield, Ammon, Slade, &c. "Cyn y ddeddf," medd Conquest. "Tros holl dymmor y ddeddf,"—Origen, Koppe, Chrysostom, Erasmus. "Gan na ellir cyfrif pechod pryd na bo deddf, rhaid ynte, gan ddarfod ei gyfrif, y fod deddf i'w chael, sef deddf natur," medd Crellius, Doddridge, Wetstein, Rossenmuller, Barnes. † "Ni chyfrifir pechod hyd ddwyn y pechadur dan benyd am dano," medd Bloomfield, Barnes. "Nid yw dyn yn teimlo drwg ganlyniadau ei bechod fel cosp, pryd na bo efe yn gwybod mai pechod ydyw," medd Usterius, "Cyfeirir yma at fabanod, i'r rhai nid oedd deddf," medd Origen, Awstin, Thomas Aquimas, Melancthon, Beza; tra dadleua Calvin yn eu herbyn, gan gynnwys yn yr ymadrodd *bawb* o Adda hyd Moses. Felly Tholuck. "Nid yw y pechod yn blino y galon pryd, &c.," medd Luther, Heumann, Camerarius. "Ni allesid cospi pechod ag angau naturiol, heb yn gyntaf fygwth hyny mewn deddf," medd Reiche. "Ni chyfrifir pechod felly yn mysg dynion. Nid oes yma olwg ar gyfrifiad o eiddo Duw," medd Bretschneider, Calvin, Luther, Stuart. "Ni thelir sylw gan ddynion pryd, &c.," medd Heumann, Camerarius, Photius, Koppe, Schoettgen, Glcokler.

HYD Y DDEDDF *(achri)*, *continuedly until;* yn barhaus hyd y pryd a'r pryd. Ond pa ddeddf yw hon? Nid deddf Eden, sef deddf y pren, canys nid ydym yn cael un hanes am bechod cyn hyny. Nid deddf natur, canys yr oedd hi yn y byd can gynted â dyn ei hunan. Rhaid, ynte mai deddf Moses a feddylir. Ond, paham son am hyn yn awr? Gwyddai yr apostol fod yr Iuddewon yn ymffrostio o'r ddeddf, a'u bod yn cyssylltu pob peth o eiddo Duw â hi. Tybient mai llaw Duw oedd yn peri marwolaeth, ac mai wrth reol eu deddf hwy y gweithredai efe. Nid oeddynt yn tybied, fel ag y tybiwn ni yn awr, mai deddf iddynt hwy yn unig ydoedd hi, eithr elent ar hyd a lled y byd i broselytio pawb a allent ati. Felly "ymweled a phechodau y tadau ar y plant," yr oedd Duw pan symmudai ymaith fabanod. Dyna eu tyb hwy. "Nage," ebe Paul yn ein testun, "canys mae y pechod hwnw sy'n haeddu marwolaeth yn y byd, hyd, neu o ddechreuad y byd hyd ddodiad y ddeddf; ac ni allai y ddeddf beri marwolaeth i fabanod cyn ei bodolaeth." Pa esboniad arall a allwn ni dybied i'r ymadrodd? Pa achos arall sydd am son fod pechod yn y byd cyn dodiad y ddeddf? Ymddengys pob cyssylltiad arall o'r ymadrodd gyda'r rhai blaenorol yn fath o naid oddiwrth rediad esmwyth yr ymresymiad. Ni oddefa'r adnod hyny, oherwydd dechreua gyda *canys*, i ddangos y rhaid fod cyssylltiad rhyngddi â'r ymadrodd blaenorol.

NI CHYFRIFIR *(ouc ellogeitai)*. Dadleua Stuart, Barnes, Taylor, a Belsham, lawer yn erbyn athrawiaeth y cyfrifiad, gan fethu, meddant, a chael y gair *logizomai*, cyfrif, am gyfrifiad o eiddo y naill i'r llall, tra

nad ydym ni yn dywedyd fod dim yn y gair hwnw, heblaw yr ystyr o gyfrif yn unig: mai yn yr ymadroddion cylchynol y ceir eiddo pwy a gyfrifir, ac i bwy y cyfrifir hefyd. Eithr yma, nid *logizomai* yw y gair, ond *ellogeô*, ystyr yr hwn yn y geiriaduron yw, *to reckon in, to put to one's account;* sef gosod yn nghyfrif un. Ceir yn unig yn Philemon 18, lle y dywed Paul wrtho,—"Os gwnaeth Philemon gam â thi, neu os yw yn dy ddyled, *cyfrif* hyny arnaf fi; a myfi a'i talaf." Yma cawn osod dyled y naill yn erbyn y llall, a hwnw yn ystyried ei hun yn nghyfiwr dyledwr ar ol hyny. Eithr paham ychwanegu yr ymadrodd hwn? a ellir meddwl nad oedd Duw yn cyfrif pechodau dynion yn eu herbyn, cyn dodiad y ddeddf? Hyn a'u gwnaethai yn rhydd oddiwrth gosp, ac a wnaethai eu holl laddiadau, lladradau, &c., yn ddiddrwg yn ngolwg Duw. Eithr darllener pen. i, 30—32, a cheir gweled yn amgen. "Ni chyfrifir pechod gan ddynion pryd nad oes deddf," yw un deongliad arall tra pharchus. Ond a yw efe yn wirionedd, pe byddai gyfaddas i ymresymiad yr apostol? Onid yw Paul ei hun yn dywedyd, hyd yn nod am y pagan, fod eu cydwybodau yn eu cyhuddo (2, 15) o bechodau. Beth! a oedd eu cydwybodau yn eu beio yn ddiachos! Diau nad cyfeirio at eu bod heb gyfrif pechod yn eu herbyn eu hunain, a'u gilydd, oherwydd nad oedd ganddynt ddeddf ddatguddiedig, y mae ein testun, gan hyny. Byddai meddwl nad oedd deiliaid datguddiad hwythau, yn cyfrif pechod yn bechod pan ei cyflawnid, yn hollol ynfydrwydd. Pa beth, ynte, yw ystyr yr ymadrodd hwn? Nid oes le mwyach i un esboniad ond :—

"Megys trwy un dyn y daeth y pechod i mewn i'r byd :—"

"Megys trwy y pechod hwnw y daeth i mewn y farwolaeth dan sylw;—"

"Felly hefyd (sef trwyddo ef, a'i bechod ef,) yr ymdreiddiodd i mewn yr un farwolaeth ar bob dyn ;—"

"Y 'felly hefyd' hwn ydoedd drwy ystyried, neu osod y pawb i sefyll yn bechaduriaid neu droseddwyr cyfrifol, yr hyn yw eu gosod yn agored i benyd y pechod, sef marwolaeth gorfforol."

Nid yw Duw na dynion yn cyfrif pechod y naill, fel hyn, ar y llall, heb osod i lawr yn gyntaf ddeddf neu reol i'w gyfrif ef felly. Nid deddf Moses yw hono, canys teyrnasodd y farwolaeth o Adda hyd Moses, yr hyn a brawf fod deddf yn cyfrif pechod rhywun ar fabanod, er enghraifft, cyn hono a gyfrifai bechodau y tadau ar y plant.

Ar ol dywedyd o'r apostol fod pawb yn dwyn cosp camwedd un, yr oedd yn rhesymol iddo frysio ychwanegu, nad damwain yw y peth; ond fod gan y Duw da ddeddf neu gyfundrefn, sef deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu (8, 2), y ddeddf a ddaeth i mewn i Eden (adn. 20), yn yr hon y cyfrifid pechod Adda yn eiddo, neu etifeddiaeth i bawb, ac yn ol yr hon y dywedasai efe fod pawb yn marw, "yn gymmaint â phechu o bawb," sef yn y dull cyfrifol a ystyrid yn ol y ddeddf cyfrifiad a ddaethai i mewn.

14 Eithr teyrnasodd marwolaeth o Adda hyd Moses, ïe, *arnynt hwy y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda, †yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddyfod.

* "Arnynt hwy, y rhai a bechasant, &c.," yw darlleniad rhai copïau Groeg. Felly y darllenid yn meiblau Groeg a Lladin Rufinus yn y bummed ganrif. Felly biblau Ambros yn y 4edd ganrif; Cyril, Tertullian. Cyprian, &c., oddeutu yr un amser, a hyd yn nod yn foreuach. Eithr y mae awdurdod llawer trymach dros y darlleniad derbyniedig. "Yn gyffelyb i gamwedd Adda,"—Stuart, Barnes. "Cyfeirir at holl hil Adda,"—Reiche. "Cyfeirir yn unig at fabanod," medd Origen, Awstin, Melancthon, Beza, President Edwards. "Ni phechasant yn weithredol, ond yn gyfrifol,"—Rhai. "Yn ol dull camwedd Adda," medd A. Campbell, J. Williams. "Cyfeirir at bawb o Adda hyd Moses yn unig,"—Barnes, Calvin, Hodge. "Pawb mewn oed,"—Turretin. † "Cysgodai Adda Grist, fel cynddrychiolwr—Adda ei bawb, a Christ ei bawb yntau,"—Haldane, Walford debygid. "Arddengys yr ymadrodd yn unig fod rhyngddynt rhyw debygolrwydd,"—Bloomfield, Barnes. "Lluniesid Adda yn gysgod o Grist,"—Stuart. "Tebygent i'w gilydd drwy fod iddynt ddynion mewn cyssylltiad â hwynt mewn modd neillduol,"—Hodge. "Yr hwn sy gysgod o'r hwn oedd i ddyfod,"—A. Campbell, J. Williams. "Yr hwn oedd gysgod o'r amser dyfodol," medd Bengel, Homberg. "Cysgod o ddygwyddiadau dyfodol,"—Erasmus, Chr. Schmid.

CYFFELYBIAETH, &c., *(omoiôma,) something made like, likeness, similitude, resemblance;* sef rhywbeth a wneler fel peth arall, tebygolrwydd. Yma etto, ceir llawer dull o esbonio. Gosodir yma arferiad y gair Groeg, fel y deallo y darllenydd ei ystyr, yr hyn fydd yn gymhwysach na dywedyd fy meddwl fy hunan heb ei brofi. "Ac a wnaed mewn *cyffelybiaeth* dynion" (Phil. ii, 7). "A *dull* y locustiaid oedd *fel* meirch parod i ryfel" (Dat. 9, 7). "Newidiasant ogoniant yr anllygredig Duw yn *llun* dyn llygredig, &c.," (Rhuf. 1, 23). "Danfonodd Duw ei Fab yn *nghyffelybiaeth* cnawd pechadurus" (Rhuf. 8, 3). Gwelwn, bellach, mai cyffelyb, mewn rhyw ystyr, yn unig, oedd priodol arwyddocâd y gair, yn ol arferiad yr oes apostolaidd o hono. At bwy y cyfeirir, ynte, yn yr ymadrodd? Os at fabanod, fel yr esbonia amryw, yna yr ystyr fyddai,—"Ie, arnynt hwy, y rhai ni chyflawnasant bechod gweithredol, fel y cyflawnodd Adda." Eithr, ar ol manwl ystyriaeth, yr wyf yn gorfod troi oddiwrth y dyb hon, ar ol ei hir goleddu. Mae pob dyn o oedran a synwyr wedi pechu yn weithredol mewn rhyw fodd neu gilydd. Paham cyfeirio at Adda fel pechadur gweithredol, yn fwy na neb? "Yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," a raid fod yn rhyw beth mwy neillduol na'i fod yn bechod gweithredol yn unig. Rhyw gyffelybiaeth perthynol yn unig i Adda a deiliaid deddf Moses, a'i deongli yn ol dull yr oes hono, raid fod y cyffelybrwydd hwn. Chwiliwn am dano. Ond rhaid cadw at rediad yr ymresymiad ar yr un pryd. Gwyr y sawl sy'n hyddysg yn y Beibl mai dwywaith yn unig, sef mewn dwy ddeddf, y cylymodd Duw farwolaeth naturiol wrth bechod. Y rhai'n oedd deddf Adda a deddf Moses. Nid oes neb yn marw yn gorfforol am ei bechod, dan yr efengyl. Nid oedd neb o Adda hyd Moses ychwaith yn marw am ei bechod gweithredol ei hun. Y rhai cyntaf a allent bechu yn gyffelyb i gamwedd Adda, oedd y dynion, wrth ba rai y llefarai Duw,—"Fel yr estynych dy ddyddiau ar y ddaear;" "Yr wyf yn rhoddi o'th flaen heddyw ein-

foes a daioni, ac angau a drygioni." Deut. 30, 15. Mai at farwolaeth gorfforol y cyfeirid sydd eglur oddiwrth adn. 18,—"Os try dy galon ymaith, fel na wrandawech, &c., yr wyf yn mynegu i chwi heddyw, y dyfethir chwi yn ddiau, ac nad estynwch ddyddiau yn y tir," &c. Yr oedd pob Israeliad, gan hyny, yn pechu yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda. Camwedd yw troseddiad o orchymyn pendant. Y mae yn ofynol, cyn bod esboniad o'r geiriau hyn yn gymhwys, ei fod yn cyd-daro â rhediad y pwnc dan sylw. Camwedd Adda oedd yn yr adnod flaenorol, felly hon hefyd. Cawsom gyffelybrwydd rhwng y rhai a fod-olent *ar ol* y ddeddf ag Adda. *Hyd* y ddeddf, nid oedd gyffelybrwydd rhyngddo â'r rhai a fuant feirw, yr hyn oedd pawb. Gan fod yr apostol yn cyfeirio at deyrnasiad marwolaeth, ac yn ei ddosparthu yn rhai cyn, ac yn rhai ar ol, Moses, yr oedd efe yn gallu cyfarfod â gwrthresymiad yr Iuddew, sef mai drwy fod pawb dan ei ddeddf ef, o farw am eu pechod, y teyrnasai marwolaeth arnynt. Nage, meddai yntau; canys bu farw o Adda hyd Moses, bawb, y rhai ni throseddasant un ddeddf bendant yn cylymu marwolaeth corff wrth y trosedd, fel yr oedd y ddeddf a droseddodd Adda. Eithr, cyfyd gwrthddadl yn meddwl y darllenydd:—"Os am eu pechodau eu hunain y byddai farw deiliaid cyfammod Sina, pa gyssondeb sydd mewn son eu bod yn meirw am gamwedd Adda?" Yr atebiad yw, eu bod yn marw *yn gynt* o ran amser, am eu pechodau eu hunain; tra mae y ffaith o farwolaeth, hyd yn nod i'r goreu o honynt, yn disgyn oddiwrth Adda. Byddent feirw "mewn oedran teg," ond odid, trwy Adda, os cadwent Moses yn ofalus; eithr, os troseddent ef, disgynai ei farwolaeth ef arnynt yn gynnar, yr hon a elwid yn farn a barnau, yn aml drwy ysgrythyrau hanesiol y genedl. Nad drwy Moses, ond Adda, y disgynai marwolaeth gorfforol, oedd pwnc ymresymiad yr apostol yn yr adnodau hyn.

Ffurf yr un oedd, &c., *(tupos, &c.,) figure, form.* Hefyd, *prototype, pattern;* patrwn, cynllun, ffigiwr. Arferir am *ol* yr hoelion yn nwylaw Crist; am *ddelw* duw dyeithr; am *ffurf* athrawiaeth, neu unrhyw ddysgeidiaeth, yn gystal ag am esiampl i'w dilyn. Ioan 20, 25; Act. 7, 43; Rhuf. 6, 17; Act. 7, 44; Phil. 3, 17. Yn mha ystyr yr oedd Adda yn ffurf neu ffigiwr o Grist? Hawdd fyddai dynodi aml debygoldeb rhyngddynt, eithr nid hyny fyddai cael allan y *ffigiwr* oedd yn ngolwg ein hysgrifenydd. Nid wyf fi yn gwybod am well arweinydd at y ffigiwr dan sylw, na'r ymadroddion dilynol i'r testun. Am y tebygolrwydd rhwng Adda a Christ, yn ol y bennod hon, gwel tudal. 112. Cawn gan yr esbonwyr fod y cyffelybrwydd gan mwyaf i'w gael mewn anghyffelybrwydd! Mae cryn lawer o ragor rhwng esboniwr fo yn parhaus ddatgan yr holl wirionedd ar bob ymadrodd a phwnc, â'r esboniwr a draetho yn unig yr hyn fyddo o'i flaen ar lawr.

Yr un oedd ar ddyfod *(tou mellontos).* Yr hwn oedd ar ddyfod yn fuan, ac nid yr hwn oedd ar ddyfod yn mhen rhyw dymhor hirfaith. Dyna arferiad y gair, fel y ceir gweled wrth gyfeirio i Mat. 3, 7; a 12, 32; 1 Tim. 4, 8; Heb. 9, 11; a 13, 14; Rhuf. 8, 38; 1 Cor. 3, 22; Luc 13, 9; 1 Tim. 6, 19. Dyna, am wyf yn gofio, yr holl arferiad o hono yn yr un rhan o ymadrodd ag yn ein testun. Pa

un ai, "Yr hwn oedd ar ddyfod i wisgo cnawd," ynte, "Yr hwn oedd ar ddyfod drwy ei ras arbedawl i Eden, yn y cymmeriad o ail Adda," sydd aneglur. Mae yr hen arferiad o goleddu yr esboniad cyntaf o'r ddau, yn ei gwneyd yn anhawdd i neb gynnyg y llall; etto, y mae efe yn teilyngu ystyriaeth, o gymmaint ag mai efe sy'n cyduno oreu, os nad yn unig, ag iaith yr apostol. Buasai yn lled anmhriodol yn ol meddwl Groegwr, glywed neb yn son am ryw *ho mellôn*, "yr hwn sydd *ar* ddyfod," tra nad oedd efe yn dyfod am dros bedair mil o flynyddau, eilwaith.

15 *Eithr nid megys y camwedd, felly y mae y dawn hefyd. †Canys os trwy gamwedd un y bu feirw llawer; ‡mwy o lawer yr amlhaodd gras Duw, a'r dawn trwy ras yr un dyn Iesu Grist, §i laweroedd.

* Cymmerir y frawddeg hon fel holiad, gan Homberg, Schoettgen, Rossenmuller. † "Trwyddo fel dedfryd cyfammod toredig,"—Walford, Edwards, Charles, Calvin. "Llawer—nid yw pob un wedi efelychu Adda,"—Morgan, Socinus. "Nid yw y "trwy" yn manylu pa fodd y treigla y farwolaeth hon o Adda,"—Barnes. "Trwy y camwedd hwn fel achos,"—Hodge. "Llawer—pawb ond Iesu Grist, Enoch, ac Elias," medd Bloomfield. ‡ "Mae 'llawer' y dawn yr un nifer â 'llawer' y camwedd,"—Barnes. "Trwy y gras yn mha un y saif Crist gyda'r Tad,"—Rhai. "Y gras a arddengys Crist tuag atom ni,"—Ereill. § "Tuag at y llaweroedd," medd Stuart.

CAMWEDD *(paraptoma)*, *a falling aside or away, a lapse, error, fault;* cwympiad ymaith, bai, camwedd. Ei ystyr yn yr ysgrythyrau yn gyffredin, yw troseddiad o orchymyn pendant, yr hyn ni fuasai yn bechod ynddo ei hun. Darllener Mat. 6, 14, 15; Marc 11, 25, 26; Mat. 18, 35; Rhuf. 11, 11, 12; Gal. 6, 1; Salm 19, 13; Dan. 6, 22; adn. 16, 20; 2 Cor. 5, 19; Eph. 1, 7; a 2, 1, 5; Col. 2, 13. Nid oedd bai Adda yn ddrwg moesol, ond pendant, a'r unig iawn am dano (pe addas yr ymadrodd) yw marwolaeth gorfforol pawb. Pe buasai marwolaeth Crist yn iawn drosto, gallai pawb a weddient rhag ei benyd gael dianc uwchlaw marwolaeth. I ddrygau moesol, dros ba rai ni feddai Moses un aberth, y mae gwaed Crist yn perthynu.

DAWN *(charisma)*. Gwel ar pen. 1, 11. Ei nodau ydynt;—Trarhagoriaeth, o ran helaethrwydd ei ras, ar helaethrwydd colled y camwedd cyntaf (adn. 15): yn yr hyn y cynnwysir cyfiawnhad, neu ryddhad oddiwrth gamweddau gweithredol (adn. 16). Perthynol i'r hyn a elwir *Gras*, a *Dawn yn ngras yr un dyn Iesu Grist*, a *Dawn y cyfiawnder, ac Ufydd-dod Crist*, os oes gwahaniaeth hefyd rhyngddynt â'r peth dan sylw, y cawn bob bendith arall.

LLAWER *(oi polloi)*, *the many*, y llaweroedd. Cawn yn adn. 19 ddarfod gwneuthur rhyw laweroedd yn bechaduriaid drwy gamwedd un, yn yr un modd ag y gwneir y llaweroedd yn gyfiawnion drwy ufydd-dod rhyw un arall; ac yma, mai trwy gamwedd yr un dyn ag a gafwyd, yn ol adn. 12, wedi dwyn pechod i'r byd, a marwolaeth arno ei hun a phawb arall drwy hyny—mai drwy gamwedd y dyn hwnw y bu y personau dan sylw—y llaweroedd, feirw. Ceir y gair *polloi* fel hyn yn y rhif lliosog, a'r fannod o'i flaen, hefyd yn pen. 12, 5; 1 Cor.

10, 17, 33; Mat. 24, 12; 2 Cor. 2, 17; lle yr arferir am y llawer saint perthynol i'r oes apostolaidd, am y llaweroedd cymmunwyr yn yr un amser, am wrandawwyr pregethau Paul, am wrthgilwyr y tymhor cyn dinystr Jerusalem. ac am y pregethwyr a wnaent fasgnach o air Duw yn amser ysgrifeniad yr ail lythyr at y Corinthiaid. Nid *pawb* a *phob dyn*, gan hyny, yw ystyr y gair hwn; ond *y llawer* yn unig. Paham, etto, yr arfera yr apostol y gair *llawer* yn lle y gair *pawb*, tra y buasai yr olaf yn addasach i arddangos pa sawl un sydd yn marw drwy Adda? Oherwydd nad arddangos hyny oedd ei amcan, ond dangos fod y llaweroedd, i ba rai yr amlhaodd y gras dan sylw o eiddo Duw, oll yn meirw yn gorfforol drwy Adda. Cofiwn, nad dywedyd y gwir—canys tyb dyn am ffaith yw ei wirionedd ef—nad dywedyd y gwir, ac amcanu at hyny, yw ein gwaith yn awr, ond ceisio dywedyd fel y mae ar lawr yn ein testun. Hyny yn unig yw gwaith esboniwr. Gwaith y duwinydd yw y llall.

*Gras Duw, a'r Dawn trwy ras, &c.* Pa wahaniaeth all fod rhwng "gras Duw," a'r "dawn trwy ras Iesu Grist?" Yr un peth ydynt, medd yr esbonwyr: ond pwy erioed a ddarllenodd mewn ymresymiad fel hyn, "Y peth hyn, *a'r* peth hyn," os yr un peth oedd y ddau? Am y DAWN *(dorea)*, gwel ar pen. 3, 24. Eglur ydyw, mai ystyr y gair yw *rhodd*, ac yma "rhodd drwy ewyllys da Iesu Grist." Gair arall, *dorema*, a arferir am y dawn neu *rodd* cyntaf yn adn. 16, a *charisma* am y *dawn* a arferir ddiweddaf yn yr adnod. *Dawn* yw pob un o'r geiriau, gan ein cyfieithwyr. Ond yn adn. 17, arferir yr un gair ag yn ein testun am y dawn *(dorea)*, sef y rhodd o gyfiawnhad. Ymddengys bellach, mai y rhai a gyfiawnheir drwy "y rhodd o gyfiawnhad allan o ras Crist," yw y llaweroedd hyn. Etto, gall fod ystyr arall i'r ymadrodd, os wrth y "gras Duw" yr ystyrir yr efengyl, neu iachawdwriaeth os mynir, canys arferir yn gyffredin yn y naill ystyr fel y llall. Hefyd y gair bach *eis*, i, sef "*i* y llaweroedd;" arwyddocad yr hwn yw—*i, tuag at, ar*, a arddengys dueddiad y peth;—fod tueddiad y rhodd o gyfiawnhad drwy ras Crist, tuag at, ac i y llaweroedd. Athrawiaeth ein testun, gan hyny, yw:—Fod y cyfiawnhad o Grist, a'r gras o Dduw, yn cynnwys mwy o lawer nac adfywhad i'r corff oddiwrth effaith camwedd Adda—fod gras Duw yn yr efengyl yn cyfodi dyn, yn uwch o lawer na'i adosod yn fyw lle cawsid ef oni buasai Adda. Gallai y *llawer* yn y goleu hyn fod yn cynnwys *pawb;* etto, nid pawb yw ystyr y gair. Cawn yma "ras Duw," a "gras yr un dyn Iesu Grist," yr hyn a ddengys nad yw dynoliaeth Crist yn gyfran o'r Duwdod, ac nad yw ei hewyllys da annibynol hi;—canys yr oedd, ac y mae hithau yn greadur cyfrifol, ac o ganlyniad, yn annibynol a rhydd—nad yw ei rhinweddau hi, meddaf, yn anwahaniaethol oddiwrth ras neillduol y Duwdod, er agosed yr undeb rhyngddynt. Mae dywedyd "*y dyn* Crist Iesu yw y cyfryngwr rhwng Duw a dynion," a "Mae gras yr *un dyn* Iesu Grist yn cynnwys y rhodd o gyfiawnhad," yn ymadroddion ysgrythyrol. Cofier nad yw y cyfiawnhad, na gras Duw, yn ol ein testun, i'w ddeongli yn fwy pell oddiwrth y llaweroedd na'i fod yn eiddo cynnygiedig iddynt. Ni oddef y gair a arferir am yr *i* y llaweroedd, i ni ddeongli yn amgen.

16 *Ac nid megys y bu trwy un a bechodd y mae y dawn †canys y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad; ‡eithr y dawn sydd o gamweddau lawer i gyfiawnhad.

* "Ac nid fel y condemniad drwy un a bechodd," medd Stuart. Hodge, Davidson. Ystyrir y frawddeg gyntaf o'r adnod yn holiad, gan Heumann. "Ac nid megys y bu drwy un camwedd y mae y dawn," yw darlleniad pedwar o'r croen-feiblau henaf, yn nghyd â rhai diweddarach, heblaw yr hen Syriaeg, Arabaeg, yr hen Vulgate, beiblau Theodoret, Awstin, Rufinus, Morgan, ac Ambros. Felly y darllena Testament Griesbach. "Ac nid fel y mae y canlyniadau neillduol drwy yr un a bechodd,"—Michaelis, Wolf. "Ac nid fel y mae yr un camwedd i'r hwn a bechodd," medd Barnes. † "Yr euogrwydd a ddaeth i'r byd drwy un pechod, ac a genedlodd gondemniad," medd Carpzov. "Y ddedfryd a ddaeth o un camwedd hyd gondemniad cyffredinol," Barnes. "Y farn a ddaeth o un dyn, &c.," yw y beibl Ethiopaeg, De Dieu. ‡ "I gyfiawnhad bywyd," yw darlleniad un hen gopi Groeg, y cyfieithad Ethiopaeg, ac un hen gyfieithad Lladin. "Y dawn sydd â'i duedd o gamweddau lawer i gyfiawnhad." Bloomfield. "Allan o un camwedd---allan o lawer o gamweddau." yw y Groeg llythyrenol. "*Cyfiawnhad* yw y weithred o gyfiawnhau," medd Tholuck. "O gamweddau llawer o ddynion," medd Süskind, Flatt.

*Y farn (to crima)*, arferir am y farn ddiweddaf, ynghyd ag am bènderfyniad barnol, tor-ymryson, dedfryd, *sentence*, *award*, *decision*. Yr ystyr, gan hyny, yw, "y ddedfryd a ddug gondemniad, am y camwedd cyntaf yn erbyn y rheol." Sylwer, nad yw ein testun yn dywedyd fod y ddedryd yn condemnio neb ond y troseddwr, er y gallai adnodau ereill hysbysu hyny.

I GONDEMNIAD *(eis catacrima)*, hyd gollfarniad. "Gan farw y byddi farw os bwytei," oedd y ddedryd. "Gan farw y byddi farw, canys bwyteaist," oedd y gollfarn, neu gondemniad. Gelwir y dedryd, neu o leiaf ei chynnwysiad, marwolaeth, yn osodiad *(apokeimai)*, sef cadw mewn stor i rywun, yn Heb. 9, 27; ond nid yn gollfarniad. Gallesid tybied fod y gollfarn yn berthynol i Adda, y troseddwr, yn unig, tra cynnwysid ein marwolaeth ni o fewn ei stôr gan Adda yr ail. Mae gwahaniaeth rhwng bwrw peth ar ddyn fel condemniad, a'i gadw iddo fel gosodiad. Buasai y condemniad, oni buasai yr arbediad, yn gosp dra cholledus, yn golli bywyd yn y dydd y bwytâwyd, tra y mae ein marwolaeth ni (os dewiswn y drefn) yn fantais i gyd. Ond gwel adn. 18.

*O gamweddau lawer, &c.*; "*allan o* gamweddau lawer;" megys hefyd y dywedasai efe, "*allan* o un camwedd i gondemniad."

CYFIAWNHAD *(dicaiôma)*; yr hyn sy'n gyferbyniol i gondemniad; rhyddhad oddiwrth y gollfarn dan sylw. Ystyrir, os oedd *un* camwedd yn dwyn y gollfarn neu garchariad dynodedig, fod y dawn yn rhyddhau allan o hono, ynghyd ag allan o ba gondemniadau bynag a ddeillio oddiwrth gamweddau lawer, hyd ryddhad hollol a thrwyadl.

17 *Canys os trwy gamwedd un y teyrnasoedd marwolaeth trwy un; †mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn lliosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist.

* "Os oherwydd un dyn y teyrnasodd y farwolaeth,"—Un beibl Arabaeg, "Trwy un," ni cheir yn yr hen Syriaeg, Coptaeg, nac un Arabaeg Erpenius. "Oherwydd yr un,"—Conquest. † "Derbyn gorddigonedd o ras," medd Taylor, Locke. "Ac o ddawn cyfiawnhad," medd J. Williams, A. Campbell, Belsham. "O ddawn cyfiawnder greddfol," neu "santeiddiad,"—Tholuck. "Rhyddhad odditan gondemniad,"—Stuart.

*Un*, neu yn hytrach "yr un," sef y dyn dan sylw.

*Marwolaeth;* neu yn hytrach "y farwolaeth," a nid pob math, nac unrhyw fath, ond yr hon a nodwyd yn unig.

*Trwy un;* trwy yr un.

*Mwy o lawer;* yr un gair ag a arferwyd yn adnod 16.

LLIOSOGRWYDD, *(perisseia)*, mwy na digon. Pa reswm all fod yn hyny? derbyn mwy na digon o ras, a mwy na digon o ddawn cyfiawnder? onid yw mwy na digon yn wastraff? Yr ystyr yw mwy na digon i orchuddio colled y camwedd dan sylw. Rhaid i bob un a fyno deyrnasu mewn bywyd, dderbyn mwy na digon o ras i'w gyfodi o'r bedd, a mwy o ryddhad neu rodd cyfiawnder, nac a ryddha ei gorff odditan gloion y byd anweledig; rhaid iddo dderbyn rhyddhad oddiwrth ei gamweddau ei hun, ac nid camwedd Adda yn unig. Mae yr olaf yn sicr iddo, canys cyflawnwyd yr ammodau a'i hennillai gan yr ail Adda, ond erys ammodau y blaenaf i'w cyflawni ganddo ef ei hun. Rhaid *derbyn* etto mewn amser, lawer o ras cyfiawnhâol, i'r dyben o *deyrnasu* mewn bywyd, er y ceir meddiannu bywyd adgyfodawl heb ofalu dim am y cyfryw dderbyn.

18 Felly gan hyny, *megys trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad: †felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd.

* "Megys trwy gamwedd un i bob dyn hyd gondemniad; felly hefyd trwy gyfiawnder un i bob dyn hyd ryddhad bywyd," yw y Groeg llythyrenol. "Trwy un camwedd—trwy un cyfiawnder, &c.," medd Walford, Locke, Clericus. † "Ar bob dyn hyd bardwn tros ei fywyd," medd Bloomfield. "Cyfiawnhad cyssylltiedig â bywyd tragwyddol,"—Hodge, Tholuck, Calvin, Stuart. "Daeth barn ar bob dyn cyssylltiedig â'r camwedd cyntaf, a'r dawn ar bob dyn cyssylltiedig â'r cyfiawnhad bywyd," medd Hodge. "Y daeth y dawn ar y dechreuad yn gyfaddas i bob dyn,"—Barnes. "Gwnaed y dawn yn gyffredin i bawb, oherwydd ei fod yn cael ei gynnyg i bawb, ac nid oherwydd ei fod mewn ffaith yn cael ei gymhwyso at bawb. Canys er dyoddef o Grist dros bechodau yr holl fyd, ac er ei fod yn cael ei gynnyg i bawb yn ddiwahaniaeth, *(indifferenter)*, nid yw pawb, er hyny, yn ei gofleidio,"—Calvin ar y lle. "Cyfrifwyd ar Grist holl bechodau y rhai a roddwyd iddo—Dyoddefodd Crist y gospedigaeth ddyledus am y pechodau hyny a gyfrifwyd arno ["dros bechodau yr holl fyd," Calvin]—Yr oedd Crist fel offeiriad yn lle ei bobl, a than gyfrifiad o'u pechodau, trwy ei holl ufydd-dod gweithredol a dyoddefol: rhoddodd aberth, offrwm, ac iawn perffaith, dros *ei eglwys* ["dros bechodau yr holl fyd." 1 Ioan 2, 1; Calvin ar ein testyn]---Yr oedd yn rhaid i'r Cyfryngwr farw dros y rhai yr oedd efe yn eu cynddrychioli---Prynodd ei eglwys, gwnaeth gyfiawnder tragwyddol *iddi* ["gwnaed y dawn hwn yn gyffredin i bawb,"---Calvin]; ac agorodd ffynnon i'w llwyr lanhau,"---Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calvin-*aidd*. "Trwy un weithred o ufydd-dod, y daeth y ddedfryd ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd,"---J. Williams, A. Campbell, Walford. "Mae yr hyn a ddeillia i ni o Adda yn ganlyniad naturiol o gosp, ac y mae y peth ei hun yn fath o gosp yn yr ystyr hwn,---fod y barnwr yn rhagweled y canlyniad hyn, ac er hyny yn arfaethu y gosp,"---Reinhardt's *Dogmatike*, S. 653.

AM HYNY *(ara oun) therefore then, so then, wherefore;* gan hyny ynte, o ba herwydd. Ceir y dull hwn o ymadroddi yn aml yn Paul, megys yn pen. 7, 3, 25; a 8. 12; a 9, 16, 18; a 14, 12, 19, o'r epistol hwn. Cyfeiria'r apostol at yr hyn a ragddywedasai efe. "Am fod pethau fel ar fel, yn ol a nodais eisoes, mewn perthynas i'r ddau Adda, mae y peth mewn gair-byr yn eglur fel hyn." Yna chwanega, gan ddywedyd:—"Megys trwy y camwedd a ddynodwyd o eiddo un ar bob dyn hyd gondemniad, felly hefyd trwy gyfiawnder un i bob dyn hyd ryddhad bywyd." Ond, pa beth yw y "cyfiawnhad bywyd" hwn? Ai rhyddhad maddeuol, ynte rhyddhad yr adgyfodiad? Gwyddis mai yr un gair a arferir am ryddhad ag am gyfiawnhad. Mai rhyddhad bywyd o'r bedd ac o fyd anweledig, a feddylir, sydd eglur: canys pe rhyddhad maddeuol, pa fodd y dywedir ei fod ar bawb? Nid yw pawb yn cael maddeuant a chyfiawnhad cyflwr. Mae dedryd wedi ei sicrhau mewn cyfraith o gondemniad ar bob dyn am gamwedd Adda, ac y mae yr un modd *(outô kai)*, pa fodd bynag yw hyny, ryddhad bywyd i'r un "pob dyn," o'r ochr arall. Os drwy ddedryd y mae y naill, "felly hefyd" y llall; os drwy weithred un dyn y naill. "felly hefyd" y llall; os yw pob dyn yn cael condemniad drwy y naill, "felly hefyd" y cânt gyfiawnhad drwy y llall. Pa ryddhad, heblaw rhyddhad bywyd, all fod yn etifeddiaeth "yr un modd" i bawb? Trwy alw pob cyfiawnhad yn un maddeuol, aeth yr esbonwyr i gyd i ddyryswch uwchben yr adnodau hyn. "*Tuag at* bawb os mynant. y mae y cyfiawnhad hwn," medd rhai, gan geisio dadyrnddrysu felly. Eithr dywed Paul mai "yr un modd" y perthyna efe i bawb ag y perthyna camwedd Adda iddynt. "Adda ei bawb ei hun, a Christ ei bawb yntau," medd ereill. Ond, ni ddywedodd yr apostol felly. Ymadrodd arall gawsid ganddo pe meddyliasai efe felly. Nid yw y PAWB *(pas)* yn y cyfryw gystrawiad â hyn, sef o flaen enw cadarn, megys "dyn," ac yn y rhif lliosog heb un fannod o'i flaen, fel y dywed y Geiriaduron;—"*before a Substantive, without the article,*" a arwyddocâ rifedi anmhenderfynol. Hyny yw fod y gair *pās*, pawb, pan felly, yn cynnwys pawb oll yn ddiwahaniaeth. Pa fodd, gan hyny, y gallwn ddywedyd mai "pawb Crist" a feddylir? Pa beth bynag a feddyliom am "bawb Crist" a "phawb Adda," nid yma, ac nid allan o gystrawiad fel y sydd yma, y dichon ddeilliaw.

*Felly hefyd, &c;* sef:—"felly hefyd, drwy gyfiawnder un, i bob dyn hyd gyfiawnhad bywyd."

CYFIAWNHAD *(dicaiosis)*. Ni cheir y gair hwn, oddieithr hefyd yn pen. 4, 25. "Adgyfodwyd er mwyn ein *cyfiawnhad* ni." Y prif-air *(verb)* gydwreiddiol yw *dicaioô*, ystyr yr hyn yw—*to disolve, to acquit, to clear*, sef rhyddhau odditan gondemniad. Pan arferir y gair am gyfiawnhad, heb un gair yn gyssylltiedig i arwyddo gwahanol ystyr, Cyfiawnhad maddeuol ydyw yn gyffredin; eithr yma, cyfiawnhad bywyd; sef y rhyddhad syn dwyn corff ac ysbryd i ail-fyw gyda'u gilydd. Er fod yr ysbryd yn ddiau yn fyw yn awr, tra mae yn farw y corff, yn ystad y meirw yr ystyrir hwynt. Mae gadael y stad hono yn *fywyd*, a'r rhyddhad a baro fynediad i'r cyfryw stad, yn rhyddhad bywyd.

19 *Oblegid trwy anufydd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid, †felly trwy ufydd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn.

* "Y dyfarnwyd pawb yn bechaduriaid,"---Conquest. "Yr un ystyr sydd i'r adnod hon â'r un flaenorol,"---Theophylact, Ecumenius, Semler, Ruckert, Tholuck. "Mae 'gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid,' yr un ystyr ag 'yn gymmaint a phechu o bawb,' yn adn. 12,"---Stuart. "Yr achos o fod dynion yn dod yn bechaduriaid gwirioneddol, ac nid cyfrifol, oedd anufydd-dod Adda,"---Stuart, Barnes. Gwadir athrawiaeth cyfrifiad o bethau y naill i'r llall, gan y ddau esboniwr hyn. Felly Wetstein. "Am eu bod yn Adda, fel un gwaed, pan y pechodd,"---Edwards o America. "Yr arddangoswyd fod llawer yn bechaduriaid,"---Reiche. "Y cyhoeddwyd llawer yn bechaduriaid,"---Koppe, C. Flatt. "Yr ymddygwyd at y llawer fel at bechaduriaid,"---Grotius, Limborch, Whitby, Storr, Suskind, Flatt, Chrysostom, Hodge, Rosenmuller. "Condemnir pob un yma am ei fod yn bechadur,"---Calvin. "Bwyta o'r ffrwyth gwaharddedig a ddug i mewn i'r cyfansoddiad dynol fath o anmhariad, yr hwn sy'n gynnwysedig, gan mwyaf, mewn gormod tuedd i ymollwng gyda'r chwantau cnawdol,"—Flatt. Storr, De Maree, Heilman, Jacobi. "Mewn perthynas i ddrwg moesol, gallwn ddywedyd,—'Yr hyn nis cyflawnwyd genym ni ein hunain, ni ellir ond prin ei alw yn eiddom ni,"—Kant *Phil. Annot.* p. 8. "Y duedd fewnol, yr hon sydd anwirfoddol i ni ynom, ac yn peri i ufydd-dod i'r ddeddf fod yn anhawdd i ni, ni chyfrifir yn ein herbyn fel pechod; ond yr euogrwydd a osodir yn ein herbyn a gynnwysir yn hyn; sef nad y'm yn tori dros ben y rhwystrau sydd yn cyfodi allan o'r duedd hono,"---Flatt. "Yr y'm yn dysgu fod ar ol cwymp Adda, bob dyn a enir yn naturiol yn cael ei eni mewn pechod; hyny yw, ei eni gyda thueddiadau drwg, ac heb ofn Duw, &c.,"---Gwel Dr. Lochman's *Hist. of the Lutherian Church.* "Y llygredigaeth hwn ag sydd yn ein natur, er ei fod yma heb ein cenad, ac yn gweithio felly, a gyfrifir yn ein herbyn fel pechod, er hyny, yn llys (*chancery*) y nef. Oherwydd paham, er na chwanegid un pechod, fe allai, ato, byddem agored i ddwyfol gospedigaeth o achos y llygredigaeth hwn yn unig,"---Mosheim *Elementa Theol. Dogm.* i, p. 548. "Nid yw yn bosibl fod afiechyd na dim o'r fath yn ffurfio un rhan o gosp pechod," Abicht, Eckermann. "Maent yn gyfran o ddedfryd camwedd Adda,"---Storr. "O herwydd unoliaeth y natur ddynol, trosglwyddir pechod Adda a'i ganlyniadau i waered i bawb."---Tholuck. "Gan mai yr un gair 'llawer' a arferir am y naill ochr fel y llall, amlwg yw y bydd pob dyn yn y diwedd yn mwynhau o fendithion yr efengyl," Chancy, Belsham. † "Gwneir llawer yn gyfiawn os dewisant dderbyn y cyfiawnder,"---Bloomfield, Slade, Hodge. "Yn gyfiawn egwyddorol,"---Tholuck. "Yn gyfiawn farnol,"---Stuart. "Yn rhyddion odditan farwolaeth y bedd,"---Walford.

Oblegid *(gar)* neu *canys.* Dysgwylid yma ryw reswm dros y crynodeb o'r adnodau blaenorol a gawsid yn adn. 18, canys ar y cyfryw achlysuron yn unig yr arferir *oblegid.* Pynciau adn. 18, a'u rhesymoldeb yn ol adn. 19, a ddeallir fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Trwy gamwedd o eiddo yr un dyn dan sylw, y dysgynodd y ddedryd ar bob dyn i'r condemniad bywyd, neu farwolaeth gorfforol a ddynodwyd eisoes. | Cael eu gwneuthur, neu osod i sefyll yn swyddfâu briodol pechaduriaid a wnaeth y llawer hyn, yn ol y ddeddf y ddynodwyd yn adn. 13, a gyfrifir y camwedd iddynt lle bo deddf briodol i gyfrif felly. |

| | |
|---|---|
| Yr un modd etto, drwy gyfiawnder Un y daeth dedryd o ryddhad bywyd corfforol i bob dyn. | Cael eu gosod i sefyll yn lle priodol cyfiawnion, neu ryddion oddiwrth gondemniad, drwy ufudd-dod Un, a wnaeth y llawer hyn, ac nid ufyddhau i allu cyfiawnhau eu hunain. |

*Trwy;* cofier, ein bod yn cael ein hysbysu yma o'r diwedd, pa fodd y daeth y "llawer" i farw am gamwedd un dyn, yn gystal â'r modd y gwneir "y llawer" yn gyfiawnion am ufydd-dod un; sef drwy gael eu *gwneuthur* felly, a nid drwy eu rhinwedd na'u bai eu hunain fel achosion. Ond pa beth yw ystyr y fath *wneuthur* a hwn?

GWNAETHPWYD *(kathistemi) to set, to constitute; gosod, trefnu, ordeinio.* Wele ei arferiad:—"yr hwn a *osododd* ei arglwydd ar ei deulu," Matt. 24, 45. "Ar ei holl dda y *gesyd* efe ef," adn. 47. "Mi a'th *osodaf* ar lawer, 25, 21, 23. Pwy a'm *gosododd* i yn farnwr?" Luc 12, 14. "Y rhai a *osodom* ar hyn o orchwyl," Act. 6, 3. "Efe a'i *gosododd* ef yn llywodraethwr ar holl wlad yr Aifft," 7, 10. "Pwy a'th *osododd* di yn llywodraethwr?" adn. 27, 35. "Ac y *gosodit* henuriaid yn mhob dinas," Tit. 1, 5. "Ac a'i *gosodaist* ef ar weithredoedd dy ddwylaw," Heb. 2, 7. "Pob archoffeiriad a *osodir* i offrymu," 8, 3. Gwelir, heb ymhelaethu, nad *gwneyd* un peth yn beth arall ydyw, ond *gosod dyn mewn sefyllfa newydd.* Ni all yr ystyr, gan hyny, fod fel y dywed yr esbonwyr yn gyffredin; megys gwneyd pawb yn reddfol neu nawseiddiol bechaduriaid; neu eu gwneyd yn awdwyr neu wneuthurwyr pechod drwy berthynas gorfforol ag Adda, neu drwy ei esampl, neu rywfodd gweithredol na nawseiddiol, canys ni byddai hyny namyn gosod y testun i arddangos fod cyfnewidiad nodwedd personol dan sylw, pan na addef y gair hwn "gwnaethpwyd" y fath beth. Gwelir uchod oddiwrth ei arferiad, mai ei ystyr yw gosod dyn mewn swydd neu sefyllfa newydd, yr hyn am wrthrychau ein testun, yw eu gosod mewn sefyllfa pechaduriaid drwy anufydd-dod y naill, ac eilwaith yn sefyllfa cyfiawnion, neu ryddion, drwy ufydd-dod y llall.

Felly, yn ol adn. 13, a 20, deddf i gyfrif camwedd Adda i bawb a barodd y gosodiad, neu gondemniad ar bawb i farw. Ac yn ol ein testun, cael eu gosod yn sefyllfa pechaduriaid;—nid pechaduriaid yn gyffredin ychwaith, ond troseddwyr o ddeddf Eden yn unig—*Eu gosod yn sefyllfa* y cyfryw bechadur, Adda, yr hyn a barodd eu hystyried yn gyfryw bechaduriaid, a gawsant. Felly, nid oes un ddedryd arnynt yn ol y ddeddf hon, ond un y camwedd cyntaf. Hòno nid yw ond datodiad dynoliaeth yn unig Pe yn rhagor na hyny—pe yn gondemniad cyflyrol, truain fyddai y babanod; canys genid, a chleddid hwynt yn elynion Duw dan eu hanwybodaeth! Nid ein Duw ni; nid yr hwn a afonodd ei Fab o'r nef; nid yr Hwn ychwaith a allodd farw o'i fodd, rhag damnio pechaduriaid mawrion, yw y rhai a ddamniant fabanod bach, y rhai ni throseddasant erioed orchymyn. Ped ystyriem y gymhariaeth o "felly hefyd" yma yn cyfeirio at y "pechaduriaid" a'r "cyfiawnion," gorfyddid ni i esbonio mai rhyddion oddiwrth

farwolaeth, neu gyfrifiad camwedd Adda, a feddylid. Neu, o'r ochr arall, gorfyddid yr hen esbonwyr i ddywedyd fod pawb yn cael eu cyfansoddi, a'u parotoi, a'u gwneyd yn mhob ystyr yn brentisiaid greddfol, aeddfed, a gordueddol at wneyd eu hunain yn bechaduriaid gweithredol; ïe, fod Duw, drwy gamwedd Adda bell, wedi eu gwneyd yn gyfryw heb eu cenad, ac yna eu damnio eilwaith am eu bod felly: canys beth llai na damnio dyn yw ei lenwi o hadau pob pechod, a'i adael yn analluog i dyfu dim ond hwynt hwy? Yna, pan aeddfedont, ei losgi ef a hwythau yn un ysgub o ysgall a mieri anffodus yn dragywydd! Na ato Duw y fath athrawiaeth!

Rhaid, gan hyny, fod y gydmariaeth yn gynnwysedig yn y gwneuthur i sefyll ar dir pechaduriaid a chyfiawnion; y llaweroedd yn yr ystyr yma drwy Adda, ac yn yr ystyr yna drwy Grist.

Cyfiawn *(dicaioi)*; rhyddion yn yr ystyrion a nodwyd; sef oddiwrth farwolaeth dedryd Eden, yr hon a ddaeth drwy gamwedd un, yn gystal ag oddiwrth gondemniad camweddau lawer, (adn. 16), yr hyn a ddaeth drwy eu gwaith gwirfoddol eu hunain. Dywedyd y mae Paul yma; nid mai y llaweroedd hyny yn unig yw y llaweroedd ereill yn unig; ond mai yr un peth yw y "gwnaethpwyd" yn y naill ochr a'r "gwnaethpwyd" yn y llall. Am "y llaweroedd" hyn; cadwodd Paul at ddull oedd yn caniatau iddo "laweroedd" mwy a "llaweroedd" llai; canys "y llaweroedd," a arferodd efe. Gosododd, meddaf, y fannod *y* o flaen y gair, fel pe dywedasai—"y llaweroedd hyn, a'r llaweroedd hyn *etto*?" Pe mynasai efe i ni yr un modd ddeall y gair *pawb* yn adn. 18, am "y pawb hyn a'r pawb hyn *etto*," efe a ddodasai y fannod o flaen y gair. Geiriau yr apostol yn unig, fel y gwelir, sydd yn fy arwain i gerdded fel hyn; ac, ymddengys, heblaw hyny, yn eithaf rhesymol.

20 *Eithr y ddeddf a ddaeth i mewn fel yr amlhâai y camwedd: †eithr lle yr amlhaodd y pechod y rhagor-amlhâodd gras:

* "Fel i ddangos y graddau i'r hyn yr oedd camwedd wedi amlhau,"---Conquest, Tholuck, Flatt Walford, Davidson, Wells, Hammond. "Deddf Moses a feddylir," Stuart, Walford, &c. "A ddaeth i mewn yn ddiarwybod,"---Belsham, Vulgate. "I mewn fel ychwanegiad,"---Beza, Stuart, Luther. "Canlyniad ydoedd amlhad camwedd i ddygiad y ddeddf i mewn," medd Chrysostom, Reiche, Glockler, Barnes, Stuart, Walford, Bloomfield. "Esboniad yw yr adnod hon ar y 13eg," medd Calvin, "Y lle *(place)* yr amlhaodd, &c.," yw y beibl Saesonaeg. "Y lle, *(time)* pryd yr amlhaodd, &c.,"---Hardy, Theophylact, Rosenmuller, Koppe. "Y lle a'r pryd,"' Bloomfield. † Luc 7, 47; 1 Tim. 1, 14.

Pa fodd yn y byd y daethpwyd i ben â'r gorchwyl o gyfrif yn ol adn. 18, a chael y "trwy gamwedd un," yn ol adn. 15, 17, 18, a "gwneuthur" dynion diniweid fel hyn yn gyfrifol bechaduriaid? Yr atebiad sydd barod, ebe'r apostol:—"Deddf a ddaeth i mewn, fel yr amlhâai hi y camwedd hwnw yn y dull cyfrifedig hwnw, iddynt hwy." Pa fodd, hefyd, y paid hyny a bod yn gam mawr â'r cyfryw laweroedd?—"Fel hyn," ebe Paul yn union, "lle yr amlhâodd y pechod yna, rhagor amlhâodd gras yr un ddeddf iddynt oll."

Y Ddeddf *(nomos)*. Megys y palla y cyfieithiad Cymreig osod y

fannod lle bo'n addas, felly yma gosododd hi lle nad oedd ei heisieu; ie, lle gwna ddrwg, a chroesiad ar amcan yr awdwr apostolaidd. "Deddf," ebe efe; ac nid "y ddeddf." Mor ofalus fu rhag meddwl o neb mai y ddeddf gyffredin, sef deddf Moses, a feddyliai.

DDAETH I MEWN *(pareiselthein) to go or come near to any thing, to enter in unto or with any thing; that is, so as to be present along with or by the side of it;* sef dyfod neu fyned i mewn a chyda rhyw un neu rywbeth, fel ag i aros wrth ei ochr ef eilwaith. Ceir y gair hefyd yn Gal. 2, 4, lle dywed Paul ddarfod i'r gau-frodyr *ddyfod i mewn yn ddirgel.* Yn awr, gan mai dyna ei holl arferiad yn Paul, rhaid i ni ei gymmeryd felly. Gan na ddaeth deddf Moses i mewn yn ddystaw, dirgel, a diwybod *(privily, by stealth)*, nid ati hi y cyfeirir. Nid yw deddf Natur ychwaith felly, canys dywed pen. 1, 19, fod yr hyn a ellir ei wybod am Dduw yn y ddeddf hono, yn eglur. Deddf arall, ynte, nid oes, heblaw y ddeddf a geir ar ddiwedd adn. 13, sef deddf y cyfrif pechod y naill, a chyfiawnder y llall, yn eiddo i laweroedd; a'r oll o ras Duw trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

FEL YR AMLHAI *(hina pleonasē).* Yn ngwyneb yr hyn a ddywed rhai esbonwyr uchel-ddysg, mai "dangos fod camweddau dynion yn aml;" a'r hyn a ddywed ereill, mai "at amlhad camwedd drwy fod dynion yn pechu mwy am ymddangos o'r ddeddf yn eu herbyn," yw yr ystyr, dylid cymmeryd ychydig bwyll yma i amddiffyn geiriad yr apostol.

Diau fod y gair Groeg hwn *fel*, yn *fel* o ganlyniad yn gystal ag yn *fel* o amcan. Gwel *Tittman's Greek Synonymes* ar y gair *ina.* Goddefed y darllenydd uniaith i mi fod ychydig yn feirniadol, onide ar y tywod yr ystyrir y deongliad a gyflwynir yma, gan y dysgedig. "Pan arddangosir rhywbeth fel yn bosibl yn unig, arferai y Groegiaid y modd Galluadwy *(Subjunctive)*, pan gyfeiriai y posiblrwydd at wrthrych y prifair *(verb)*; megys yn Luc 19, 48; Marc 6, 36; Matt. 8, 20; Act. 4, 21; Rhuf. 8, 26; Matt. 10, 19. "Gwel Hermann *ad Vigerus*, p. 850; Winer's *New Test. Gram. Eng. Ed.* p. 112, 113. Y gwrthrych yma yw *y camwedd*, yr hwn oedd yn debygol o, ac i'r hwn yr oedd yn bosibl amlhau. Gwelwn nad prif amcan dyfodiad y ddeddf hon i mewn ydoedd amlhau y camwedd, ond amlhad gras. Mynodd Crist amlhad gras drwy ei ddeddf newydd hon, a gadawodd i ddedryd y camwedd amlhau yn naturiol. Gwelodd fod yn bosibl iddi amlhau mewn marwolaeth corff dyn, gan fod gras yn trefnu ffordd i ddwyn dynion i fodolaeth ar dir naturiol eu creadigaeth, sef marw o ran y corff, fel anifail arall. Gadawodd i'r amlhad hwn gymmeryd lle. Nid aeth i osod deddf eilwaith tuag at osod dynion dani, i ennill bywyd corfforol ar y ddaear; ond gadawodd hwynt, o ran hyny ar y tir lle cafodd hwynt, a gosododd hwynt yn hytrach i gymmeryd gafael mewn bywyd tragwyddol o ogoniant moesol ac ysbrydol, i'r hyn y gofala efe am gael eu cyrff yn rhyddion o afael marwolaeth, gyda'u gilydd. *Y camwedd.* Sylwer fod y fannod o flaen y gair fel yr oedd o'r blaen. Ac yn awr, os camwedd Adda oedd dan sylw yr apostol yn y cyn-adnodau, yn ol pa reol o ddeongli y gellir meddwl am un camwedd arall wrth yr un gair fel y mae efe yma? Pe dywedasid: "Fel yr amlhai camwedd," heb yr *y* o'i flaen, buasai lle i ni feddwl am gamweddau meibion Israel

dan Foeseniaeth. Hefyd, amlhau y camwedd, ac nid y camweddau a ddywedir. Un camwedd raid iddo fod yn barhaus, yr hyn sydd yn ein rhwymo, debygwyf, at ei ystyried yn berthynol yn unig i gamwedd Adda yn amlhad ei ddedryd ar bawb.

Lle *yr amlhaodd (oû)*. Pa le yw hwn? Ein gair hwn *lle* sydd ragferf am yr hyn sydd ar lawr; *where*. Yn y fan hòno, lle yr amlhaodd camwedd Adda yn ei ddedryd, ar bawb, rhagor amlhâodd gras y gyfundrefn a'i hamlasai. Gellir cymmeryd y gair, naill ai yn llythrenol am Eden, neu yn ffigwrol am y ddeddf dan sylw, fel y mae efe, debygid, yn pen. 4, 15.

Rhagor amlhaodd *(uperperisseuo) to superabound over, much more.* Tra-amlhâodd gras yn Neddf ysbryd y bywyd gan Grist Iesu, ar yr hyn a amlha hi o golled drwy gamwedd Adda.

21 *Fel megys y teyrnasodd pechod i farwolaeth, †felly hefyd y teyrnasai gras trwy gyfiawnder i fywyd tragwyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

* "Mewn marwolaeth," yw y Vulgate, a rhai hen feiblau Lladin ereill. Felly yn wir mae y Groeg llythyrenol hefyd. † "Trwy gyfiawnhad a santeiddiad,"---Turretin. "Trwy gyfiawnhad," medd Belsham, J. Williams, A. Campbell. "Personolir pechod a gras gan yr apostol,"---Davidson, Chrysostom, Macknight.

*Fel* o amcan. Y gymhariaeth sydd yn unig yn y *teyrnasu*, canys mae y naill uwchlaw cymhariaeth ar y llall, yn mhob ystyr arall o fewn yr adnod. Cynnwysid yr amcan hwn yn y drefn newydd dan sylw. Yr amcan oedd sefydlu teyrnasiad gras mewn bywyd tragwyddol i'r lliaweroedd, a'r canlyniad naturiol oedd gadael i'r farwolaeth hefyd deyrnasu yn gyntaf. Ni ellid trosglwyddo cyrff ac eneidiau i fywyd tragwyddol heb y cyfnewidiad a wneir drwy farwolaeth. "Ni all cig a gwaed etifeddu y deyrnas" hono.

Teyrnasai *(basileusê)*. Amcan y sefydliad newydd, yn yr hwn yr oedd arbediad Adda, ydoedd gosod gras i deyrnasi;—fel y gallai gras deyrnasu.

*Bywyd tragwyddol.* Er y mwynha pob dyn drwg yn gystal â'r da, fywyd bythol; etto, gwnaeth yr arferiad apostolaidd y gair hwn yn gymmwys am y sefyllfa a fwynha y saint ar ol y farn. Nid oes *tragwyddol* yn gyssylltiedig â'r gair *bywyd* yn adn. 18, tra gofalwyd am gydio y gair *teyrnasu* wrtho, yn adn. 17.

*Trwy Iesu Grist*, fel y mae efe yn Arglwydd y saint, y deillia yr holl fendithion hyn. Pa fodd y deillient drwyddo cyn ei fod? Rhaid ei fod i'w gael, o leiaf, er pan ddechreuodd efe fendithio dynion. Ei osod i weithio cyn ei fod fyddai gwadu hyny. Dywedir:—"Teyrnasodd y pechod *yn* y farwolaeth," tra dywedir am y gras: "Y teyrnasai" efe, nid *yn* y bywyd tragwyddol, ond "*hyd* neu *i* fywyd tragwyddol;" wrth yr hyn deallir mai o fewn y farwolaeth yn unig y teyrnasa o un rhyw. Nid marw yw pechu, na'i hadau, na'i wraidd, pe yn bosibl hefyd dirnad fod had na gwraidd iddo. Or ochr arall, gofalwyd i son fod teyrnasiad y gras, o'r dechrenad hyd gyrhaeddiad bywyd tragwyddol. *En*, mewn marwolaeth, eithr *eis*, hyd yn mywyd. Edryched y rhai a ddilynant yr esbonwyr hyny sydd yn cyfnewid y ddau ragddodiad *(preposition)*

bychain, y naill am y llall, ar yr hyn a ddywed y grammadegydd dysgedig hwnw, Dr. Winer, (*Gram.* § 54, 5.)

Gellir troi oddiwrth y bennod hon yn ngeiriau priodol y dysgedig Dr. Hodge:—"Dysgir athrawiaeth y cyfrifiad yn eglur ynddi. Nid yw yr athrawiaeth hon yn cynwys y meddylddrych o unoliaeth ddirgelaidd Adda a'i had; na'r dyb o drosglwyddiad ei frynti moesol ef i'w hiliogaeth. Nid yw yn ein dysgu fod ei gamwedd ef yn bersonol neu briodol bechod pob dyn, na bod ei weithred ef, mewn unrhyw ystyr ddirgelaidd neu gyfriniol, yn weithred ei hiliogaeth. Nid yw, ychwaith, yn cynnwys mewn perthynas i gyfiawnder Crist, ei fod yn dyfod yn bersonol na mewnol eiddo i ni, na bod ei ragoroldeb moesol mewn un modd yn cael ei drosglwyddo oddiwrtho ef i gredinwyr. Nid yw pechod Adda, o ganlyniad, yn un sail i edifeirwch, na chyfiawnder Crist yn un sylfaen i hunan ymffrost yn y rhai y cyfrifir ef iddynt." Yr hyn a ddysgir yw, fod camwedd Adda yn achos o'n condemniad i oddef marwolaeth gorfforol, ac ufydd-dod Crist yn achos o'n rhyddhad odditani, ynghyd ag o'n cyfiawnhad oddiwrth ein pechodau priodol ein hunain.

## CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. V.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) AM hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau drwy [allan o] FFYDD, y mae genym heddwch tuag at Dduw, drwy ein Harglwydd Iesu Grist; (2) Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa sicr, drwy y FFYDD, i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu ar obaith gogoniant Duw. (3] AC nid hyny yn unig, eithr yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau hefyd; gan wybod fod gorthrymder yn peri dyoddefgarwch; (4) a dyoddefgarwch, brawf cymmeradwy; a phrawf cymmeradwy, obaith: (5) a gobaith ni chywilyddia, am fod cariad Duw (atom) wedi ei dywallt yn ein calonau, drwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a roddwyd i ni.

(6) Canys Crist, pan oeddym ni etto yn weiniaid, a fu farw ar yr amser gosodedig dros yr annuwiol. (7) Canys o'r braidd y gwna neb farw dros un cyfiawn,---oblegid dros yr un da meiddiai rhywun farw hefyd. (8) Eithr, y mae Duw yn arganmol ei gariad ei hun atom ni, oblegid i Grist farw drosom tra yr oeddym ni yn bechaduriaid. (9) Mwy (tebyg) gan hyny, o lawer, a ni yn awr wedi ein cyfiawnhau yn ei waed ef, yr achubir ni drwyddo ef rhag y digofaint. (10) Canys os pan oeddym elynion, y'n heddychwyd â Duw, drwy y farwolaeth (hòno) i'w Fab ef, mwy (tebyg) o lawer wedi ein heddychu, y'n hachubir yn ei fywyd ef: (11) ac nid hyny yn unig, ond yr ydym hefyd yn gorfoleddu yn Nuw, drwy ein Harglwydd Iesu Grist, drwy yr hwn yn awr y derbyniasom y cymmod.

(12) O ba herwydd, megys y daeth y PECHOD i mewn i'r byd drwy un dyn, a'r FARWOLAETH drwy y Pechod; hefyd, yr un modd y daeth y FARWOLAETH trwodd i bob dyn, yn gymmaint a phechu o bawb. (13) Canys yr oedd pechod yn y byd hyd amser deddf, eithr nid yw pechod yn cael ei gyfrif, pryd nad oes DEDDF (i'w gyfrif). (14) Eithr ymhellach, teyrnasodd y FARWOLAETH o Adda hyd Moses, ac ar y rhai ni phechasant ar gyffelybiaeth y trosedd (*parabasis*) (hwnw i) Adda; yr hwn (Adda) yw ffurf yr un oedd ar ddyfod. (15) Eithr nid yr un fath â'r CAMWEDD (*paraptoma*) y mae y DAWN (*charisma*) hefyd: canys os drwy y CAMWEDD un y bu feirw y LLAWEROEDD, mwy o lawer yr amlhaodd gras Duw, a'r dawn (*charis*) yn ngras yr un dyn Iesu Grist i'r LLAWEROEDD. (16) Ac nid yr un modd â thrwy un, yr hwn a bechodd, y [mae ynghylch y] DAWN (*dorema*); canys y ddedfryd allan o un yn ddiau, hyd gondemniad; eithr y DAWN (*charisma*), allan o lawer o gamweddau hyd gyfiawnhad.

(17) Canys, os drwy y CAMWEDD un y teyrnasodd y FARWOLAETH drwy yr un; mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn lliosogrwydd o'r gras, ac o DDAWN (*dorea*) y CYFIAWNDER, deyrnasu mewn bywyd drwy yr un, Iesu Grist. (18) Gan hyny, ynte, megys drwy GAMWEDD un i bob dyn hyd gondemniad, felly hefyd drwy GYFIAWNDER un i bob dyn hyd ryddhad bywyd: (19) canys, fel mai eu gwneuthur drwy yr ANUFYDD-DOD un dyn a gafodd y LLAWEROEDD (hyny) yn bechaduriaid; felly hefyd eu gwneuthur drwy yr *Ufydd-dod* un, a gafodd y LLAWEROEDD (hyn) yn gyfiawnion. (20) Eithr dod i mewn yn ddiarwybod a wnaeth DEDDF, fel yr amlhâi y CAMWEDD (*paraptoma*); er hyny, fod lle yr amlhaodd y PECHOD, y GRAS (*charis*) yn rhagor-amlhau: (21) Fel, yr un modd ag y teyrnasodd y PECHOD (*amartia*) yn y FARWOLAETH; felly hefyd y teyrnasai y GRAS drwy GYFIAWNDER hyd fywyd tragwyddol, drwy Iesu Grist ein Harglwydd.

---

## PENNOD VI.

§ 3. NAD YW ATHRAWIAETH UNDEB PECHADURIAID A CHRIST YN EI FARWOLAETH A'I FYWYD, YN UN ANNOGAETH I BENRHYDDID; OND YN Y GWRTHWYNEB, YN HYTRACH, I RADDAU ANNHRAETHOL. PEN. VI, 1—23.

ER fod gras yn amlhau fwy-fwy, po fwyaf y pechod a orchfygo efe, nad ydym ni yn ol trefn Duw i gael ein cadw dan bechod, fel yr amlhao gras yn ein bywyd (adn. 1), canys anmhosibl i bechod, ein hen briod, gyda'r hwn y buom feirw, fod yn achosydd o'n bywhad (adn. 2); a dylasem wybod hyny, canys bedyddiwyd ni i farwolaeth Crist, yr hyn a arddangosai ein bod yn gyfrifedig gydag ef yn ei angau, ei gladdedigaeth (4), a'i adgyfodiad (5); canys cyfodir ninnau hefyd i'r unrhyw fywyd newydd ag yntau (4), a'r rheswm dros hyn yw, ein bod yn nglyn wrtho ef pan fu farw, yr hyn a brawf ein cwlwm wrtho; ac o ganlyniad, os cyfododd efe, cyfodir ninnau (5) hefyd o'r bedd.

Rheswm arall dros ein rhyddhad gyda Christ, yw fod ein hen wr cyntaf ni, pechod, wedi ei groeshoelio, pan ledodd tywysog y bywyd ei ddwylaw ar yr un groes ag ef yn ein lle ni; mai amcan croeshoeliad ein hen wr hwnw, oedd cael dirymu ei gorff ef, fel y byddai efe felly farw, ac fel y byddem ryddion oddiwrth ddeddf y gwr cyntaf hwnw (6). Buom ninnau hefyd feirw yn marwolaeth Crist ein cynddrychiolwr; a phe buasai pechod, ein gwr cyntaf, ie, yn fyw, buasem ni yn rhyddion, yn ol yr ail reswm hwn, oddiwrth ddeddf ein priodas ag ef, canys mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrtho (7). A buom ni feirw o farwolaeth gondemniol gyda Christ, ac yr y'm o ganlyniad yn credu y byddwn fyw hefyd gydag ef (8). Pe byddai efe farw etto, tra b'om ni mewn undeb fel hyn ag ef, collem ninnau ein heinioes gydag ef, eithr ni all pechod ei ladd ef ond yr unwaith hyny (9). Bu farw gyda phechod unwaith; y mae efe yn byw gyda Duw yn awr (10). Felly, dylem ninnau ystyried a chofio, ein bod wedi marw fel y bu farw yntau, gyda phechod, a'n bod yn byw ynddo ef gyda Duw (11). Fod ein haelodau yn awr wedi eu rhoddi i ni yn fyw o fedd condemniad, ac y dylem, wrth reswm, eu harferyd i'r Duw a'u rhyddhaodd (12, 13).

Ein bod dan ras, neu yr efengyl, yn awr, fel ein harglwydd, ac nid dan un o'r deddfau rhagnodedig, fel yr oeddid gynt (14), ac er ein rhyddid hwn, ein bod dan arglwyddiaeth wrthwynebus i bechod etto (15); fod pawb yn weision i'r hwn a gaffo eu hufydddod (16); ond fod y Rhufeiniaid dan sylw yn ufydd i'r efengyl, deddf eu Harglwydd newydd (17), yr hyn nid yw namyn ufyddhau i gyfiawnder (18).

Cyfaddefa yr apostol, yn adn. 19, mai personoli pechod a gras yr ydoedd efe, yn ol dull dysgawdwyr yr oes, oherwydd gwendid ei ddysgyblion i oddef dull mwy teilwng i'r athrawiaeth: ac yna gorphena gydag annogaeth i adael heibio wasanaeth yr hen wr cyntaf am wasanaeth yr ail wr; diwedd yr hyn, yn lle marwolaeth, fydd bywyd tragwyddol, drwy ddeddf priodas fanteisiol â Christ Iesu ein Harglwydd presennol, (adn. 20—23).

## Pen. VI.

BETH wrth hyny a ddywedwn ni? *a drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhâo gras.

2 Na ato Duw. †A minnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw etto ynddo ef?

* "A raid neu a ddylem ni drigo," yw darlleniad saith o'r crwyn-feiblau henaf oll, ynghyd ag amryw ereill diweddarach, y Coptaeg, a rhai hen feiblau Lladin. "Gan fod Duw yn cael ei ogoneddu drwy amlhad ei ras; a chan fod hyny yn amlhau yn ol maint y pechod a gyflawnid: paham na allem ni fyned yn mlaen i bechu. gan fod gogoniant Duw drwy y llwybr hwn yn cael ei amlhau,"---Stuart, Tholuck, Barnes. "Fel yr amlhao ffafr Duw,"---Walford, Belsham, A. Campbell. "Beth wrth hyny a ddysgwn ni?"---Macknight. † "Pa wedd y gallem fyw, &c.," yw darlleniad rhai copiau Groeg. "Dan rwymedigaethau i farw iddo,"---Dr. Miller *on Baptism.* "Wedi meirw gan bechod fel achos,"---Macknight, yr hyn a gondemnir gan Turner, Slade, a Bloomfield. "Wedi meirw i bechod drwy fedydd, fel yr arferid llefaru am y rhai a fedyddiasid,"---Koppe, Bloomfield. "Byw etto yn y cyflawniad o hono," Bloomfield, &c. "A ninnau wedi ein gwaredu oddiwrth ddylanwad pechod," medd Hodge, Barnes, Tholuck, Stuart, &c.

*Beth wrth hyny, &c.* Pa "hyny?" Ceir yr atebiad yn adn. 20, a 21 o'r bennod flaenorol. Tybiai Paul fod yr Iuddew yn gwrth-ddadlu wrth ddarllen y gyfran a nodwyd o'i lythyr:—"Os ydyw Duw wedi trefnu trwy Grist, fod gras yn tra-amlhau ar bechod, nad faint fyddo y pechod, a ydyw ei drefn ef yn cyflunio i ni barhau mewn pechod, er mwyn i'w ras amlhau etto? Pa beth ond hunan-groesineb yw y fath gynllun â hwn o grefydd?" "Ni all fod felly," medd yr apostol: "canys pa fodd y gallwn ni, y rhai gawsom farwolaeth gondemniol drwy bechod, hyd yn nod y pechod cyntaf, fel y nodwyd eisoes—pa fodd, meddaf, y gallwn ni gael byw mwyach gydag ef? Nid oes bywyd etto fel a fu, i'w drefnu mwyach. Gwir fod Crist wedi marw unwaith (adn. 10) i ennill bywyd i ddeiliaid Pechod; eithr gwybydder, nad yw efe yn marw mwyach felly. Ni wna efe farw etto, i ennill bywyd i'r rhai a'i gwrthodant. Os rhagor amlhâodd gras ar bechod Adda, ni ragoramlhâ efe ar eich pechodau chwi, y rhai ydych yn myned yn mlaen ar y tir yna. Nid yw hyna, yn y drefn hon." Mai hyn, ac nid marweiddiad llygredd o mewn, yw marw i bechod, a welir oddiwrth y profion canlynol.

A drigwn ni *(epimenoumen), to remain, to continue.* Gwir fod y gair hwn yn caniatau i ni ei ddeongli yn barhau mewn gweithrediad yn unig, neu ynte yn barhau mewn cyflwr neu stad. Yr olaf, mae'n debygol, yw y cywiraf; sef parhau dan arglwyddiaeth pechod fel cyflwr, yn ol trefn Duw, yn yr hon po fwyaf y pechod mwy-fwy y gras, fel y mae gogyfer â phechod Adda. Eithr ymddengys mai yr *epimenômen,* "a raid, neu a ddylem ni barhau," yw y darlleniad cywir. Felly hefyd Grotius, Hammond, Wetstein, Griesbach, Lachman, Stuart, &c.; sef, *a raid* i ni barhau felly dan lywodraeth pechod, yn mhob ystyr, fel y gallo gras amlhau mwy drwy hyny? Ai dyna fel y rhaid, yn ol trefn Duw yn Nghrist?

Gras *(he charis)*, yn hytrach *y* gras dan sylw, sef y gras cyfiawnhaol, rhyddhaol, a nodwyd yn adnodau diweddaf y 5ed bennod.

**Meirw i bechod** *(apethanomen te amartia)*. Marw tuag ato yw yr esboniad cyffredin, ond gwel y gair ynghyd â'r gair *necros*, dyn marw, yn yr un cystrawiad yn y manau canlynol: adn. 10, 11; pen. 14, 7, 8, Gal. 2, 19, Eph. 2, 1, 5; lle cawn farw i bechod, marw i ni ein hunain, marw i'r Arglwydd, marw i'r ddeddf, a marw i gamwedd-au a phechodau. Dyna holl arferiad y gair fel yma, am wyf yn gofio. Yn awr, pa beth bynag yw yr ystyr a eisteddo esmwythaf yn yr holl arferiadau hyn o'r frawddeg, rhaid mai dyna yr un cywir yn ddeong-liad o'n testun.

Gosodir pedwar o ystyriaethau i'r gair hwn, gan ein cyfieithwyr a'n hesbonwyr cyffredin; sef 1 Marw *tuag at y peth*; 2 Marw *drosto*; 3 Marw *dano*, sef dan ei arglwyddiaeth; 4 Marw *ynddo* neu *ganddo*. Yn awr, pa fodd yn y byd y deallai darllenwyr llythyrau Paul y frawddeg "marw i bechod," mewn cynnifer o ystyriaethau mor wahanol i'w gilydd? Yn awr, trown at adn. 10, 11. Cawn yno ddarfod i'r Iesu diddrwg, dihalog, a pherffaith, farw i bechod. Ni all y peth fod yn adael pechod, na marweiddio pechod, na bod yn farw tuag ato, canys cynnwysai hyny ddiwygiad yn muchedd ac ysbryd Crist. Hefyd, un-waith yn unig y bu efe farw felly, yr hyn nid yw gymmwys i ystad o fod yn farw tuag at bechod. Eithr dywed y cyd-destynau yn adn. 6, fod Crist a phechod o ran eu hawdurdod wedi eu cyd-groeshoelio. Ac os felly, buont feirw *gyda'u* gilydd. Hefyd, dygir hyn i mewn gan Paul, drwy ddywedyd; "Gan wybod hyn, ddarfod croeshoelio, &c.;" sef, "dyma eglurhad ar yr hyn a ddywedais eisoes:" yr hyn a ddywed-asai efe eisoes am bechod oedd, "a nyni wedi meirw i bechod." Gwelwn, gan hyny, mai marw *gyda* phechod yw yr ystyr raid iddo gael yn ei berthynas â Christ, o ran rhediad yr ymresymiad a'r cyd-destun. Eithr bu farw Crist hefyd, *dros* bechod, a *chan* bechod, yn gystal â *chydag ef*. A goddefasai y *cystrawiad* yr ystyr o *gan* bechod; ond croesir, fel y nodwyd, gan y *cyd-destunau*. Etto, "felly hefyd ystyriwch eich bod chwithau yn feirw i bechod," ebe adn. 11, sef, "cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod *fel, felly hefyd, yr un modd*, ag y bu Crist farw iddo." Pe buasai eisieu gosod dau ystyr i'r gair, y naill i Grist a'r llall i ninnau, paham dywedir fod ein marw ni a marw Crist, i bechod, i'w hystyried genym yr un peth?

Nid oes un anhawsdra, ychwaith, mewn dywedyd, "Nid oes neb o honom ni, y Saint, yn marw ar ei ben ei hunan: gyda'r Arglwydd yr ydym yn marw;" pen. 14, 7, 8. Onid felly mewn ffaith, y mae'n bod? ac onid yw y meddyl-ddrych yn cyd-daro â rhediad y cyd-des-tunau yno? Hefyd, ebe Paul yn Gal. 2, 19, 20, "Canys myfi trwy ddeddf, sef deddf ysbryd y bywyd, (nid *y* ddeddf) a fum farw *gyda* deddf Moses, fel y byddwn byw *gyda* Duw. A'r modd y bu'm i farw felly oedd,—myfi a groeshoeliwyd *gyda* Christ, yr hwn a fu farw, fel y gwyddis, ar yr un pryd a deddf Moses." Felly, o ychwanegu y per-sonoliad a wneir yn ein testun o bechod, yr oedd o honynt bedwar yn cyd farw ar y groes fyth-gofus hono. Gwir y goddefasai y fraw-ddeg o'i rhan ei hun yn y lle hwn, ei deongli yn "farw tuag at y ddeddf," ond nid yw y cydgroeshoelio â Christ yn gyfateb i'r fath ddeongliad.

Am Ephes. 2, 1, 5; nid oes un priodoldeb mewn cymhwyso y deongliad cyffredin ar farw i bechod, at yr un frawddeg Roeg yn hollol a'r llall yn ein testun, yn y fan hon. "Chwithau a fywhaodd efe pan oeddych feirw i gamweddau a phechodau"—"Hyd y nod pan oeddym feirw i gamweddau, efe â'n cydfywhaodd ni â Christ." Dyna fel y ysgrifenwyd gan ein hapostol. Gwir y goddefa yr ymadrodd, yn mhob perthynas am a wn yn awr, â'r iaith a'r cyd-destunau, ei deongli yn "farw *mewn* camwedd, &c," ond goddefa yn llawn mor rwydd ei deongli yn "farw *gyda* chamwedd, &c." Os bydd rhai o'r Grammadegwyr yn ammeu y deongliad hwn o'r *Dative case*, yn mha un y ceir y gair pechod yn ein testun, tröed ei lygad i Matthaei's *Greek Grammar*, § 397. Yr ystyr yw *gyda*, yn ymyl o ran amser a lle, mewn cyfryw berthynas â phechod. Gwel hefyd Winer's *New Test.* Gram. § 31, 6, 5; Reiz. *ad Lucian*, VI, p. 599.

3 Oni wyddoch chwi, *am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, †ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?

* "Yn Nghrist Iesu," yw darlleniad y Vulgate, a'r hen feiblau Lladin ereill oll. "A fedyddiwyd i gyfaddefiad o Grist Iesu,"---Vitringa. "I awdurdod, neu drwy awdurdod Crist,"---Amryw. "I berthynas a Christ Iesu,"—Stuart, Hodge, "I fwynhad o fendithion gras Crist Iesu,"---Tholuck. "I'r broffes o wasanaethu Crist," Barnes, Walford, Bloomfield. † "Y mae cyffelybiaeth cryf rhwng ein bedydd ni a'i farwolaeth ef. Efe i ddileu pechod drwy iawn, ninnau drwy ddiwygiad,"—Barnes. "Ein trochi ni i'w farwolaeth ef,"—J. Williams, A. Campbell. "Ein marwolaeth ni yn yr eiddo ef,"---Carson, p. 143. "I gymdeithas â'i farwolaeth ef,"—Ambros, Tholuck. "Arwyddocâd bedydd yw marwolaeth i bechod, a buchedd newydd i gyfiawnder,"—Cyffes Ffydd y Trefn. Calv. xxxviii. "Mae dau arwyddlun yn y bedydd: y naill yw puredigaeth drwy ddwfr, a'r llall yw marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad, drwy drochiad,"---Carson, p. 386. "Ein bedyddio ni i farwolaeth Crist ynghyd â ni ein hunain,"--Carson, p. 143. "I farwolaeth fel yr eiddo ef,"—Chrysostom. "Daethom i berthynas neillduol â'i farwolaeth ef. Bedydd mewnol, moesol, ac ysbrydol yw hwn,"—Stuart. "I undeb dirgelaidd a pherffaith o ran cyflwr â'i farwolaeth ef: cael ein soddi, megys, yn ei farwolaeth ef,"—Glockler, Dr. Pusey, Dr. Keeble, Dr. Sewell, Newman, Dr. Hook, Lingwood.

*Oni wyddoch, &c.* Fel pe dywedasai fod athrawiaeth eu bedydd yn cynnwys atebiad eglur i'w gwrth-ddadl, yr hyn a ddengys mai ateb gwrth-ddadleuon a allent ymgyfodi yn meddyliau gwyr bedyddiedig yr oedd efe.

BEDYDDIO I, &c., *(baptizein eis)*. Pa beth yw arwyddocad y gair *bedyddio i rywun neu rywbeth?* Nis gwn am un llwybr gwell at gyrhaedd hyn, na thrwy olrhain i arferiad y frawddeg. Ceir yn unig

Am fedyddio i edifeirwch, Matt. 3, 11;
Ac, i faddeuant pechodau, Act. 2, 38;
Ac, i fedydd Ioan, Act. 19, 3;
Ac, i un corff, 1 Cor. 12, 13;
Ac, i Moses, 1 Cor. 10, 2;
Ac, i enw y Tad, a'r Mab, ar Ysbryd Glân, Matt. 28, 19;
Ac, i enw Iesu Grist, Act. 8, 16;
Ac, i enw'r Arglwydd Iesu, Act. 19, 5;

Ac, i enw Paul, 1 Cor. 1, 13, 15;
Ac, i Grist Iesu, Rhuf. 6, 2;
Ac, i farwolaeth Crist Iesu, Yr un lle.

1. Nid bedyddio *i dderbyn y peth* dilynol i'r gair yw yr ystyr, canys ni byddai yn gymmwys dywedyd, bedyddio i dderbyn edifeirwch, nac i dderbyn un corff. Gan hyny, mae credo y Campbeliaid a'r Mormoniaid yn gyfeiliornus, canys dywed mai bedyddio i gaffael, neu dderbyn maddeuant pechodau, yw ystyr Act. 2, 38. Gwelwn y byddai hyny yn ystyr anghymwys i'r ymadrodd, oherwydd nid yw yn eistedd yn esmwyth ar holl arferiad y geiriau.

2. Nid bedyddio *i rwymedigaeth* i'r peth neu berson yw, onide gorfodid ni i ddeongli Act. 2, 38, yn "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch i rwymedigaeth maddeuant pechodau." Mae y sawl a fedyddiant bobl neu blant, er mwyn eu gosod dan rwymedigaeth i Grist, yn camfedyddio. Mae rhwymedigaeth pob un hyd yr eithaf, fel creadur Duw, i fyw iddo, heb un-bedydd er mwyn sicrhau y rhwymedigaeth.

3. Nid bedyddio i fod yn ysgol, neu *dan ddyscyblaeth* un ydyw; sef, nid yw bedydd yn osodedig ddrws y gyfryw ysgol, canys mae llawer yn cael eu dysgu yn ddoeth i iachawdwriaeth, heb ddyfod drwy y cyfryw ddrws erioed.

4. Nid bedyddio i *gyfaddefiad* y bedyddiedig o Grist a'i farwolaeth ydyw, canys dywedir "bedyddio *i* faddeuant pechodau." Duw, ac nid dyn, sydd i gyfaddef fod y pechodau wedi eu maddeu. Nid yw hyn, ychwaith, yn gymmwys i arferiad yr ymadrodd.

5. Nid bedyddio *i*, neu *oddiar awdurdod* y person neu beth cyssylltiedig â'r gair, ydyw; canys ni byddai un synwyr mewn sôn am fedyddio i awdurdod edifeirwch, i awdurdod un corff, &c.; etto dylai cywir ddeongliad yr ymadrodd eistedd yn gyfaddas mewn cyssylltiad â'r geiriau hyn.

6. Nid yw y testun yn cyfeirio "at ein bedydd ni i farwolaeth Crist ynghyd â'n marwolaeth ein hunain yn ei farwolaeth ef" yn ol arwyddocad Dr. Carson ar hyny: canys gwada cywir ystyr yr ymadrodd "marw i bechod," [Gwel ar yr adnod] y deongliad a esyd yr apostol, i son yma am farw tuag ato. Yn awr, os *pan* fu farw Crist y buom ninnau feirw, yn ol ystyr ryddhaol y testun, pa drefn fyddai mewn gosod y claddu sydd yn yr un testun, yn gladdu mewn dwfr? Ein marwolaeth yno ar y groes, ond ein claddiad mewn afon yn Nghymru! Ein marwolaeth yn ffigwrol, ond ein claddedigaeth, a'n hadgyfodiad yn llythyrenol! Bedydd yn arwydd-lun cyffelyb, meddir, i'n marwolaeth, o ran ei ddull! Dull ein marwolaeth, pe cywir hyny, fyddai drwy foddi! Eithr cyfeiria bedydd at yr athrawiaeth hòno a geir yn adn. 5, 6, &c., sef, ein cyssylltiad ni, ddynion, o ran ein condemniad, dienyddiad, claddedigaeth, ac adgyfodiad, â Christ dan y cyfryw bethau.

7. Yr ystyr yn ddiau ydyw, *bedyddio i oruchwyliaeth neu gyfundrefn* hwn a hwn, neu y peth ar peth; megys i gyfundrefn y Diwygiad goruchwyliaethol *(metanoia)* yn amser Ioan; yna i gyfundrefn y Di-

wygiad a'r Maddeuant pechodau. Gwel ar pen. 3, 25, lle dangosir nad Maddeuant, ond Mynediad heibio i, bechodau, oedd cyn y Pentecost, i'r edifeiriol. Yna daeth goruchwyliaeth y Maddeuant. Rhoddes Duw oruchwyliaeth y Diwygiad a'r Maddeuant, i Israel, Act. 5, 31. Felly hefyd i'r oruchwyliaeth sy'n cylymu Iuddewon a Chenedloedd yn un corff; ac mewn lle arall, i berthynas â goruchwyliaeth Moses. Felly i gyfundrefn berffaith y Testament Newydd, yn yr hon y mae'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, yn llenwi eu swyddi priodol, yr hyn ydoedd beth hollol newydd, hyd y nod mewn gwir grefydd. Yr un peth, mewn ystyr, oedd bedyddio i Grist, fel yr hwn oedd unig ddatguddiadydd goruchwyliaeth fawr y Drindod; ac nid oedd *bedyddio i farwolaeth* Crist yn ddim, ond ffurf arall o lafaru am yr un gyfundrefn yn ei grym a'i bywyd: canys marwolaeth Crist ydoedd hyny. Yn awr, os ydyw y gyfundrefn hòn o achub yn wynebu ar yr holl fyd, pregether hi mewn gair i'r holl genedloedd ynddo, ac arddangoser hi mewn arwydd-lun (bedydd) ar yr holl genedloedd hyny; canys dyna ydyw hefyd ei chommisiwn. Matt. 28, 19.

Sonir am fedyddio ar *(epi with Dative)* enw Iesu, yn Act. 2, 38; ac yn *(en)* enw yr Arglwydd yn Act. 10, 48; a thros *(uper, with Gen.)* y meirw, yn 1 Cor. xv, 29; ac yn *(en)* yr Ysbryd Glân, ac â *(Dative case only)* thân, yn Mat. 3, 11, a Luc 3, 15; ac yn *(en)* yr Ysbryd Glân, yn unig, yn Marc 1, 8; Ioan 1, 33; Act. 1, 5; a 11, 16; eithr nid oes a fynwyf â'r ymadroddion hyn yma.

4 *Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; †fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd.

* "Cleddir ni, drwy gael ein bedyddio i'w farwolaeth ef, yr un modd ag y claddwyd ef,"—Stuart. "Claddedigaeth foesol ac ysbrydol yn unig yw, er fod y gydmhariaeth wedi cyfodi oddiwrth yr arferiad o drochi,"—Stuart. "Arddangosir yma y Cristion dan fedydd, megys mewn ystyr yn cael ei gladdu gyda'i Waredwr. Felly hefyd y cyffelybir eilwaith ei ddyfodiad allan o'r bedydd ag adgyfodiad Crist,"---Tholuck. "Pan suddo ein penau yn y dwfr, megys mewn bedd, yr hen ddyn a gleddir o'r golwg ar unwaith,"—Chrysostom. "I farwolaeth pechod,"—Calovius, Castalio, S. Schmidt, Wolfius, Barnes. "I farwolaeth Crist,"---Homberg, Ch. Schmidt, Tholuck, Grotius, Doddridge, Conquest. "Trwy y trochiad i farwolaeth,"—A. Campbell. "Drwy y trochiad i'r farwolaeth hòno,"---J. Williams. "Mae'n hollol debyg fod cyfeiriad yr apostol yma at yr arferiad o fedyddio drwy drochiad,"—Barnes, Bloomfield, Wetstein. "Trwy y bedydd,"—Walford. "Rhwng ein marwolaeth ni i bechod a'n hadgyfodiad i santeiddrwydd, â marwolaeth ac adgyfodiad Crist, y mae'r gymhariaeth, ac nid dim mewn dull bedydd,"---Hodge. "Megys ein cleddir ni drwy fedydd, yn y dwfr, felly claddwyd Crist yn y ddaear,-'---Theophylact, Jacobi. "Nid yw trochiad, er hyny, yn anhebgorol i'r ordinhad,"—Doddridge. "Ac nid oes achos gofidio fod Cristionogion wedi ei adael heibio,"---Koppe, Rossenmuller, Bloomfield. "Bedydd, drwy yr hwn yr y'm ni megys yn meirw,"—Koppe. "Megys y bu farw Crist yn llythyrenol, felly yr ydym ninnau drwy fedydd yn meirw yn ffigwrol,"---Turner. "Yr hen ddull o fedyddio ydoedd drwy drochiad,"---Schoettgen, Sherlock. Golygiad De Wette, fod bedydd wedi ei drosglwyddo oddiwrth Gristionogaeth i Iuddewaeth, a wadir gan Winer a Jacobi. "Megys yr ydym yn marwolaeth Crist, yn meirw gydag ef; felly yn y bedydd, ein ffigwrol ddodir yn y bedd gydag ef,"—Carson. "Gan nas arferir y gair sydd yma am gladdu, oddieithr am yr *embalmio*, a'r parotoadau ereill at

osod mewn bedd, ni allai yr apostol gyfeirio drwyddo at dansuddiad, canys nid oes dim yn debyg i'w gilydd yn y ddeu-beth,"—Ewing. Gwel *Bedyddiwr*, dal. 19, 99, 120. "Nyni a gydgladdwyd, gan hyny, ag Ef trwy Y Bedydd i Y farwolaeth,"—*Bedyddiwr*, dal. 178. "Cyfeirir at fedydd yr Ysbryd,"—Munro. "Unig arwyddocâd bedydd yma yw trochi,"---Dr. Gale yn ei lyfr dros Drochi, tud. 78. Felly dywed ei frodyr Dr. Jenkins [tud. 56), J. Stennett (tud. 180), D'Anvers (d. 182), Maclean (tud. 109), Gibbs (tud. 50), Booth (tud. 69, 96) Felly hefyd y ceir gan Anderson, Robinson o Cambridge, Dore, Pearce, Dr. Ryland, a Dr. Cox. "Bedydd a throchiad ydynt unpeth yn hytrach na geiriau cyfystyr. Yr ordinhad yw *bedydd*, ond ei dull yw trochiad,"—Carson. "Nid oes mewn bedydd un math o gyffelybiaeth i gladdu, yn ol ystyr y gair a arferir yma am dano,"---Dr. Wardlaw. "Cyfeirir y sylw at yr hyn fel athrawiaeth y bedyddiwyd hwynt iddi,"---Yr un. "Nid oeddynt yn cael eu bedyddio oherwydd fod bedydd yn arwyddlun o farwolaeth, neu stad y meirw; canys dwfr, neu olchi mewn dwfr, ni bu erioed yn arwyddlun o hyn,"---Dr. Miller o'r America. "Os trochiad oedd dull cyffredin bedydd, nid yw yn dilyn mai dyna yr unig ddull. Nid oes orchymyn am i hyn fod yr unig ddull,"—Barnes. "Mae cystal lle yma i ymresymu am farwolaeth drwy foddi, yn y bedydd, â thros gladdiad llythyrenol mewn dwfr,"---Hall. "Nis gall dwy weithred fod yn annhebycach i'w gilydd na chladdu a throchi; canys yn yr olaf teflir y dyn i'r elfen, tra yn y gyntaf teflir yr elfen ar y dyn,"---Thorn. "Claddwyd ni ar ol y bedydd," oedd darlleniad un o feiblau Tertullian. "Trwy ei fedydd Ef," oedd yn meiblau Cyril o Alexandria. † "Trwy ogoniant y Tad," nid oedd yn meiblau Tertullian, Irenæus, Pacian, a Gaudentius. "Trwy allu y Tad," oedd beibl Ambros. "Yn ngogoniant y Tad," a ddarllenai Morgan. "Trwy ogoniant yr Ysbryd," oedd yn meibl Cyril. "Yr hyn a ddywedir yn llythyrenol am Grist, a ddywedir yn foesol am y Cristion,"---Jaspis, Theophylact. "O achos gogoniant y Tad,"---Rhai. "Trwy y Tad gogoneddus,"---Castalio, Carpzov. "Cyfeirir at y dysgleirdeb gogoneddus a ymddangosodd wrth y bedd, yn ol Mat. 28, 2,"---Walford. "Cyfeirir hefyd at y fuchedd newydd, yr hon a broffesir gan y bedyddiedig,"---Barnes. "Gogoniant y Tad yw swm ei holl berffeithiau,"---Tholuck. "Ei bresenoldeb gogoneddus,"---Stuart. "*Fel megys* a all gyfeirio at amcan y bedyddiedig, neu ynte at yr hyn sydd i'w gadw mewn golwg yn yr ymresymiad,"---Stuart. "Mae y Cristion yn marw gyda Christ, i bechod, ac yn cyfodi gydag ef i fywyd newydd o santeiddrwydd. Rhaid fod rhywbeth, gan hyny, mewn bedydd yn arwyddluniol o adgyfodiad, yn gystal ag o gladdiad,"---Carson. "Mae bedydd yn dra chyfaddas i gynnyrchu ynom ymddiried yn Nuw, yn gymaint a'i fod yn corffoli y ddwyfol addewid mewn defod weledig, ac yn ei chymhwyso yn arbenigol at berson neillduol,"---Heilmann's *Compend.* § 370; Reichardi *Init. Doct. Christ. P.* ii, *C*, iii, § 65. "Bedydd sydd gyfrwng maddeuant pechodau, dan yr efengyl,"---A. Campbell, Joseph Smith, Dr, Pusey, Homiliau Eglwys Loegr. "Bedydd sydd sacrament. Sacrament sydd yn cynnwys dwy ran, sef yr arwydd gweledig oddiallan, a'r gras ysbrydol oddimewn,"---*Catecism* Charles. Felly un Eglwys Loegr. "Bedydd sydd foddion i effeithio ein hundeb â'r Ysbryd Glân, a derbyn ei rasol ddylanwadau,"---Storr.

Claddwyd ni *(sunetaphēmen) to bury with any one;* claddu *gyda* rhywun. Ni cheir ond yma, ac yn Col. 2, 12. Sonia Herodotus (5, 5.) am gladdu gwr a gwraig yn yr un bedd ar yr un amser, a thyma y gair a arferodd yr hanesydd Groegaidd am y peth. Felly yr arferid y gair, nid am gladdu *fel*, ond am gladdu *gyda*, yn mhob llyfr. Gwel Plutarch *Artax.* 19; Diodorus Siculus, 2. 57; Sophocles, *Ajax.* 1378; Euripides, *Hel.* 1561; *Pol.* fr. x, 3; *Ph.* 1652; *Al.* 147; Æschyles, *P.* 1018, 1060. Nid yw y gair yn yr hen gyfieithiadau Groeg o'r Hen Destament, nac o'r Apocrypha.

Er mwyn profi fy neongliad yn gadarnach, pe bai anghen, sylwer ar

Jer. 22, 19, lle y dywedir am Jehoiacim.—"A chladdedigaeth asyn y cleddir ef," sef, *fel* claddedigaeth asyn. Y cystrawiad ag sydd yma a ddylasai fod yn ein testyn, pe cyfeiriasid ynddo at gladdu *fel* y claddwyd Crist, ac nid fel y mae. Gwel y dysgedig mai *taphen onou taphēsetai*, sydd yn Jeremi. Dyna yw y Groeg am gladdu fel un arall; ac os claddu fel Crist yw claddedigaeth y testyn, mae ei iaith yn groes i'r arferiad mewn manau ereill. Ceir hefyd hanes am gladdu y naill a'r llall gyda'i dadau, yn 1 Bren. 14, 31, a 15, 24; a 22, 50: 2 Bren. 8, 24; a 12, 21; a 14, 20; a 15, 7; a 16, 20. Eithr, gan nad ar yr *un amser*, er mai yn yr un man â'u gilydd, y cleddid dynion, dan y cyfeiriadau hyn, nid y gair *sun* (cyd) ag a geir yn ein testyn, a arferwyd ynddynt, ond *meta* yn gyffredin, a *para* unwaith, yr hyn a arddengys nad yw yn bosibl i ni ganiatâu y deongliad sy'n dywedyd,—"Claddwyd ni *fel* efe, drwy fedydd, &c." Rhaid, ynte, mai mewn ystyr ffigwrol y dylid cymmeryd yr ymadrodd hwn. Hefyd, nid gosod mewn bedd oedd ystyr y gair hwn, *thapto*, yn yr oesoedd a'r gwledydd Rhufeinaidd. Llywodraether ni etto gan arferiad y gair. Ceir ef yn unig yn Mat. 26, 12; Marc 14, 18; Ioan 19, 20; 1 Cor. xv, 4; Gen. 50, 2, 3, 26, lle cyfeiria at barotoi y corff i'w osod yn y bedd, drwy ei berarogli, ei amdôi mewn lliain, &c., ac nid at ei osod ynddo. Gwir yw, fod y gair hwn yn arferedig gan gyfieithwyr yr Hen Destament i'r Groeg, am ddodi yn y bedd, ynghyd ag am y cyfryw barotoadau i hyny, eithr y perarogli a'r amdoi yw yr ystyr yn y Newydd. Nad oedd yr apostolion yn arferyd y gair hwn am osod yn y bedd, sydd eglur, oherwydd mai geiriau ereill a arferasant bob amser am hyny. Gweler Mat. 27, 60,—"Ac efe a'i *gosododd (tithemi)* ef yn ei fedd newydd ei hun." Marc 15. 46,—"Ac a'i *dododd* ef mewn bedd a naddesid o'r graig." Luc 23, 53,—"Ac a'i *rhoddes* mewn bedd wedi ei naddu mewn careg." Ioan 19, 42,—"Ac yno, am fod y bedd hwnw yn agos, y *dodasant* yr Iesu." Gofyniad y gwragedd duwiol a chwilient am gorff yr Iesu, ydoedd, "Pa le y *dodasant* ef?" (Ioan 20, 2.) Yr angylion a eisteddent wrth y lle y *dodasid* ef (Ioan 20, 12), gan ddywedyd, "Wele y man y dodasant ef" (Marc 16, 9), a "deuwch, gwelwch y fan lle gorweddodd yr Arglwydd." Ac onid ydym dan raid, bellach, i farnu nad oedd yr angylion, y gwragedd, a'r efengylwyr, yn ystyried ein Harglwydd yn gladdedig yn ein hystyr gyffredin ni ar y gair; ac mai gair oedd y *thapto*, claddu, yn Rhuf. 4, 4, a Col. 2, 12, yn cyfeirio yn unig at barotoi y corff i'r bedd? Gan fod yr haneswyr o'r hyn a elwir yn gyffredin yn gladdedigaeth Crist, wedi bod mor ofalus i beidio ag arfer y gair sydd yn ein testun, am y peth hyny, eglur yw, nad pa ystyr ydoedd iddo yn yr oesoedd boreuach, nad oedd iddo yr ystyr o ddodi mewn bedd, yn eu plith hwynt. "Yr oeddym ni gyda Christ tra parotoid ef i'r bedd," raid fod, gan hyny, yn ystyr i'r testun.

Hefyd, nid oes un cyffelybrwydd rhwng cludo corff Crist, a'i osod ar astell o graig mewn ogof, megys y gosodir pethau ar astell mewn ystafell, â'r gorchwyl o fwrw dyn yngwysg ei gefn i ryw elfen: ac etto mae rhai esbonwyr a ddywedant fod yr olaf yn arwydd-lun neu gyffelybiaeth o'r blaenaf.

Hefyd, pe caniateid mai gosod mewn bedd yw y claddu hwn yn ein testun: ni byddai arosiad Crist mewn bedd dros dridiau a their-nos, yn gyffelybiaeth o arosiad dyn mewn dwfr dros lai na thri eiliad.

Trwy fedydd (*dia tou baptismatos*); neu drwy *y* bedydd, yn hytrach, gan gyfeirio at y bedydd mawr ffigwrol ar y groes, yr hwn sydd dan sylw yn y geiriau dyfodol: sef yr hwn y dywedodd Crist am dano —"Diau y'ch bedyddir â'r bedydd y'm bedyddir i ag ef;" yr hyn a gam-ddeonglir am erlidigaeth. Am ystyr y gair bedydd, gwel y *Bedyddiwr.*

*I farwolaeth:* sef marwolaeth gondemniol, fel marwolaeth Crist—y farwolaeth yn yr hon yr oedd yn dirprwyol farw drosom, ac nid yn yr ystyr yr oedd efe yn naturiol farw. I y farwolaeth, sef y farwolaeth neillduol a nodasid—marwolaeth ddirprwyol Crist. Mae y deongliad a orfyddir osod ar yr adnod hon, er mwyn gwneyd bedydd trochiad o honi, yn un o'r rhai hynotaf.

Claddwyd ni yn ffigwrol. "Nage, nage," meddant, "ond llythyrenol, yr hyn yw tansuddiad mewn dwfr."

Gadawer i hyny fod, ynte; a dywedwn, Claddwyd ni mewn dwfr yn llythyrenol, gydag ef, yn llythyrenol. "Nage, nage," meddant etto, "ond ffigwrol, canys nid yw *cyd*-ganu, *cyd*-sefyll, *cyd*-orwedd, a phob *cyd* arall, yn ddim llai na gofyn am i'r ddau fo'n *gyd* fod yn yr un man ar yr un amser. Felly cyd-gladdu llythyrenol a'n gorfodai ni i gael ein claddu yn medd newydd Joseph, ar yr un amser ag ef. Nage; nid llythyrenol *gydag ef*, ond ffigwrol."

Gadewir i hyny hefyd sefyll, a dywedwn, Claddwyd ni mewn dwfr yn llythyrenol, gydag ef yn ffigwrol, i fedydd yn ffigwrol. "Nage, nage," meddant y drydedd waith, "ond i fedydd yn llythyrenol; onide, collir y trochi allan o'r adnod."

Gadawer i hyny hefyd aros ynte, a dywedwn, Claddwyd ni mewn dwfr yn llythyrenol, gydag ef yn ffigwrol, drwy fedydd yn llythyrenol, i farwolaeth yn llythyrenol. "Nage, nage!" meddant gyda brys drachefn, "canys gwnelai bedydd llythyrenol i (*eis*) farwolaeth lythyrenol, ein boddi! Nid felly ychwaith."

Gadawer i hyna etto gael bod, a dywedwn, Claddwyd ni mewn dwfr yn llythyrenol, gydag ef yn ffigwrol, trwy fedydd yn llythyrenol, i farwolaeth yn ffigwrol, fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw yn ffigwrol drwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd yn ffigwrol. "Nage," meddant gwed'yn, "newydd-deb buchedd yn llythyrenol."

Ac felly, rhaid cyfnewid o'r llythyrenol i'r ffigwrol bum gwaith yn nghorff yr unig adnod hon, cyn y gellir gwneyd dim o honi, ond sylwedd bedydd, sef y marw, claddu a chyfodi, a fu tua Chalfaria, lle yr ystyriai Duw a Christ fod condemniad bythol pechaduriaid yn cael ei benderfynu.

Cofier, nad claddu yn y bedydd, ond drwyddo, a ddywedir, sef trwyddo o ran yr hyn a arddangosa.

Fel (*ina*): fel o amcan, a'r amcan hwnw oedd, ein cael i rodio mewn bywyd newydd o obaith. Ai amcan bedydd dwfr yw cael y bedyddiedig i fuchedd newydd? Nid amcan i'w annog at y fuchedd

sydd yma, ond amcan i'w gael yn sicr ynddi. A yw y sawl a gredant mai cyfeiriad at ddull bedydd yw y cyd-gladdu hwn, wedi sylwi mai amcan Duw oedd trwyddo, arddangos fod pob un (a fedyddier, o leiaf) yn rhodio mewn bywyd newydd? Nid oes yn yr iaith ar lawr le i un rodio mewn bywyd gwahanol, ac ni all cymmaint ag un ychwaith. Y mae y Puseyaid, a'r Mormoniaid, yn credu hyn, gydag esbonio y cyd-gladdu am *ddull* bedydd; ond disgynir y rhai a wadant fedydd yn gyfrwng cyfnewidiad cyflwr, i'r dyrysweh o naill ai cyfaddef nad at ddull bedydd y cyfeirir, neu os mai e, fod bedydd yn sicrhau newydd-deb bywyd (canys sicrha Paul ef gyda'r bedydd a feddyliai efe), neu fod yr iaith yma i'w deongli mewn dull dyeithr i'r unrhyw mewn lleoedd ereill.

TRWY *ogoniant (dia, with Gen.)* Gan fod y gair bach *dia*, trwy, yn y cystrawiad hwn, yn arferedig am drwy o ran dull, yn gystal ag o ran achos, a moddion, gallesid ei esbonio yn "gyda, neu drwy gydymddangosiad gogoniant y Tad mewn mawr ddysglaerder," yn ol yr hanes yn Mat. 28, 3; etto haws genyf feddwl fod y cyfeiriad at y perffeithiau dwyfol fel eu harddangosir drwy *allu* Duw. Arferir gallu Duw am ei ogoniant yn Ioan 11, 40: Col, 1, 11; 2 Pedr 1, 3. Arferai Paul gyfeirio at *allu* Duw yn neillduol gyda pherthynas ag adgyfodiad Crist, megys Eph. 1, 19, 20.

FELLY HEFYD *(outo kai)*. Yr un modd hefyd. Gellir cyfnewid lle y brawddegau pan fyddo *outo kai*, felly hefyd, ynglyn â'r naill o honynt, megys yma,—"Megys yr ydym ni yn rhodio mewn newydd-deb bywyd, felly hefyd y cyfodwyd Crist o feirw; a'r ddau trwy allu gogoneddus y Tad." Mae y bywyd newydd o ryddid oddiwrth gondemniad a chosp pechod, yn dod i Grist a ninnau trwy allu Duw. Y mae yr un sicrwydd i ni ag oedd iddo yntau; fel y dywedasai Paul eisoes yn mhen. 3, 25, ddarfod i Grist, fel yr oedd efe ein dirprwywr, gyfodi o'r bedd er ein cyfiawnhad neu ein rhyddhad ni.

NEWYDD-DEB BUCHEDD *(kainoteti zoês)*, *newness*. Nid yw y gair yn un man arall o'r llyfr, ond yn pen. 7, 6, am *newydd-deb* ysbryd. Ond pa beth yw y gair sydd yma am fuchedd? *Zôe, life.* Arferir am fywyd corfforol, am fywyd ar ol yr adgyfodiad, am fywyd dedwydd, ac ond odid am fywyd tragwyddol. Cyfieithir yn *fuchedd* hefyd, yn Eph. 4, 18,—"Ymddyeithrio oddiwrth *fuchedd* Duw." Eithr, paham ei alw ryw ddwywaith fel hyn yn *fuchedd*, tra cyfieithent ef yn yr 133 manau ereill o'r Testament Newydd, lle y ceir ef, yn *fywyd?* Ymddengys mai methu gwneyd synwyr o'r gair *bywyd* a wnaethant, yn gydunol â'u hesboniad ar y "marw i bechod," a'r "cydgladdu yn y bedydd." Yr ystyr tebycaf yw,—"Fel y rhodiom ni mewn bywyd newydd o obaith, megys hefyd y rhodiodd Crist, pan gyfodwyd ef o feirw drwy allu y Tad." Gorwedd yn medd anobaith ein pechodau y cafodd Crist ni. Mynai ein cyfodi. Ond rhaid oedd myned o dan ein condemniad yn gyntaf. Aeth ei gariad ag ef yno. Rhaid oedd claddu, neu fyned dan driniaeth y meirw. Aeth yno hefyd. Cyn y delem ni yn rhyddion o du Duw a chyfiawnder, rhaid oedd i ni gael ein cyfodi allan o'r carchar drwy allu Duw, yr hwn o'r blaen a'n carcharasai. Daethom allan felly. Ond pa brawf o hyny sydd? Dim ond adgyf-

odiad ein cynddrychiolwr. Bellach ystyrir yr holl genedloedd yn y goleu o rai wedi dod allan o garchar condemniad ac anobaith, yn deg a gonest, drwy law y brenin ei hunan. Profir hyn yn yr adnod nesaf. Hefyd, nid yw dywedyd fod ein rhodiad ni mewn *ymarweddiad* newydd yn gyffelyb [" felly hefyd;" *outo kai*] i rodiad rhydd Crist foreu y trydydd dydd, ond haeru yr hyn na all fod; canys nid deu-beth tebyg i'w gilydd ydynt. Dywedir yn aml ein bod wedi ein *cyd*-gyfodi gyda Christ, yr hyn oedd, wrth raid, o'r un lle ar yr un amser.

5 *Canys os gwnaed ni yn gyd-blanigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth, †felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef:

* "Os gwnaed ni yn gydrywiog â chyffelybiaeth, &c.,"---Stuart. "Cynnwysa *y planu* ein bod ni i'w efelychu ef mewn ffrwythloni,"---Chrysostom. "Fel y bu farw ac y claddwyd ef, felly y maent hwythau drwy broffes yn feirw i bechod,"---Barnes. "Cyfeirir at y cyfryw undeb â Christ ag sydd rhwng y winwydden a'i changhenau,"---Hodge, Carpzov. "Dangosir y dylai fod ynom ni farw i bechod mewn cyfatebiad i farwolaeth Crist, ac adgyfodiad allan o bechod, yr hyn sy'n ateb i'w adgyfodiad ef," Crellius. "Yr ystyr yw, nid cyd-blaniad, ond cyd-dyfiad,"---Koppe, Loesner. "Gwnaed ni mewn undeb agos â'i farwolaeth ef,"---Grotius. "Yr ydym yn ymddarfod â phethau daear mewn ystyr, megys ag y gwnaeth Crist pan fu farw,"---Rosenmuller. "Yn ein bedydd, gosodir ni yn arwyddluniol yn y bedd gyda Christ, ac yr ydym yn arwyddluniol adgyfodi hefyd gydag ef,"---Carson. "Nid yw yr adnod hon yn cyfeirio at fedydd dwfr,"---Ewing. "Yr arwyddlun yma o fedydd trochiad a geir yn nghladdiad gwraidd y coed yn y ddaear,"---Carson, dal. 154. "Ffigwrol yw iaith yr holl adnodau hyn,"---Wardlaw. † Felly y dylem,—y rhaid i ni fod," Raphel, Stuart. "Tebygol fod cyfeiriad yr apostol yma at ein hadgyfodiad corfforol," Turner, Ecumenius. "Cynnwysa *y byddwn*, sicrhad y cymmer y peth le,"---Hodge. "Ysbrydol yw yr adgyfodiad a addewir, er nad yw y llall i'w gau allan,"---Hodge, Walford, Barnes, Limborch. "Byddwn fel ei adgyfodiad ef,"---Luther. "Can gynted ag y cyfaddefwn yn y bedydd, ein pechodau, ac y derbyniwn faddeuant, rhwymir ni i fucheddiad newydd,"---Tholuck, Chrysostom. "Yna felly yn sicr y byddwn,"---Stuart, A. Campbell. "Canys os cyd-dyfedigion ein gwnaethpwyd trwy y cyffelybiaeth o y farwolaeth o'i eiddo ef, felly hefyd y byddwn o yr adgyfodiad," *Bedyddiwr*, tud. 177.

Gwnaed *(ginomai)*. "Os daethom, os gwnaethpwyd ni." Arferir am ddod i fodolaeth, yn gystal ag am ddod i stad neu gyflwr. Yr ystyr yw dod i'r fath stad neu berthynas drwy waith un arall: Cael ein gwneyd felly.

Cyd-blanigion *(sumphutoi) brought forth or grown together; conjoined, united, one with;* sef, cael ein dwyn allan neu dyfu gyda; cael ein cyssylltu, a'n gwneyd yn un â rhyw un.

I gyffelybiaeth *(tô homoiômati) likeness, resemblance, similitude.* "Ar *lun* dyn llygredig," pen. 1, 23. "Yn ol *cyffelybiaeth* camwedd Adda," 5, 4. "Yn *nghyffelybiaeth* cnawd pechadurus," 8. 3. "Ac, a gaed *mewn dull* fel dyn," Phil. 2, 7. "A *dull* y locustiaid oedd debyg i feirch," Dat 9, 7. Mae ystyr y gair, mwyach, yn ddigon eglur.

Dywed adn. 4, mai amcan ein cydgladdiad ni â Christ trwy yr hyn yw bedydd, ydoedd ein cael ni i ogylch-rodio mewn bywyd newyddawl; ac yma, gorphenir yr ymresymiad, yr hwn a ddygir i mewn â *chanys*, gair o gyssylltiad â'r ymadrodd blaenorol. Y modd y cydtwyd ni â'i farwolaeth ef, ydoedd drwy yr hyn a gawn yn adn. 6,

ddechreuad yr hon sy'n profi ei chyssylltiad â'n testun. Croeshoeliad ein hen arglwydd priodasol ni, sef pechod, gyda Christ, oedd yn gyfamserol â'r cyd-blaniad, neu yn hytrach cyd-dyfiad hwn; canys croeshoeliwyd Paul gyda Christ, medd efe mewn lle arall, ac yma cydgladdwyd, a chydgyfodir â Crist. Hyny yw, nid oes raid i ni gael ein claddu mwyach fel ein claddwyd yno. Pa ystyr yw hwnw? Yr un ystyr â'r hwn yr oedd yntau yno, sef dros bechod. Cymmerodd gydag ef, nid ein pechodau yn unig, ond ninnau hefyd: ac os oeddym ni yn tyfu gydag ef o ddechreuad y gyfundrefn fawr a grasol hon, a thrwy y condemnio, a'r marw, a'r claddu, felly yn gydiol ein ceir etto yn yr adgyfodiad hwn. Cyfodir ni oll yn *gyffelyb* iddo ef.

Mae y gair hwn, *cyffelyb*, yn cael ei arferyd i brofi mai claddu mewn dwfr yw y cyd gladdu a nodwyd, a bod ein testun yn dweyd ein bod ni, tra yn y bedydd dwfr, yn gyffelyb hollol i Grist pan oedd efe yn marw ac yn y bedd. Eithr dengys manylach sylw mai arwynebol yw'r esboniad hwn; oherwydd, os y claddu mewn *dwfr* sy'n gwneyd i fyny ein cyffelybiaeth i gladdedigaeth Crist, rhaid mai ein cyfodiad o'r dwfr a wnelai i fyny ein cyffelybiaeth i adgyfodiad Crist; eithr y mae ein cyffelybiaeth i'w adgyfodiad ef yn beth dyfodol, medd ein testun: felly, gan hyny, os mynir gosod Paul a'i gyfeillion mewn dwfr yn y cyd-gladdu, rhaid fod eu hadgyfodiad o'r dwfr heb gymmeryd lle, a hwythau yn dywedyd yn barhaus, "Ni a fyddwn mewn amser a ddaw, yn gyffelyb yn ein cyfodiad o'r dwfr, i adgyfodiad Crist o'r bedd, megys ag y buom yn gyffelyb i'w gladdedigaeth ef ar ein tansuddiad ynddo." Fel hyn mae cam-esboniad yn gyffredin, yn methu rhedeg drwy y cyd-destunau, heb osod y naill air yn llythrenol, a'r llall yn ei ymyl yn ffigwrol, er gwaethaf pob synwyr a rheolau.

Y BYDDWN *(esometha) we shall be.* Pe cyfeiriasid yma at fywhad allan o fedd pechod gweithredol, oni ddywedasai Paul ei fod *wedi* cyfodi, yn lle fel hyn fod yr adgyfodiad yn mlaen. Am ein hadgyfodiad i fywyd newydd o obaith, yn ol diwedd adn. 4, nid yw efe, ychwaith, yn son; canys nid "byddwn," ond "buom," yn cyfodi fuasai y gair am hyny. Mae Crist wedi cyfodi er dwyn oddiamgylch bedwar peth mawr, yn ol yr epistol hwn. 1. Er mwyn cyfiawnhad neu rydd-had corfforol o'r bedd, lle bwrir ni drwy gamwedd Adda, 5, 18. 2. Er mwyn cael adgyfodiad i'r credinwyr, *cyffelyb* i'w adgyfodiad ei hun, sef gogoneddus, yn ol ein testun. 3. Er mwyn rhyddhad cyffredinol dynolryw, odditan lywodraeth gondemniol ac anobeithiol pechod, eu harglwydd cyntaf, yn ol adn. 4. 4. Er mwyn cyfiawnhad personol credinwyr odditan euogrwydd eu pechodau, yn ol 3, 25. Nid oedd un adgyfodiad yn wrthrych crediniaeth a gobaith ganddynt, ond yr ail. Sicrhasid, neu ynte mwynhasid y lleill oll. Etto dywedir yn adn. 8, "yr ydym ni yn credu y *byddwn* fyw hefyd gydag ef."

6 *Gan wybod hyn, ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydag ef, †er mwyn dirymu corff pechod, fel rhag llaw na wasanaethom bechod.

* "Yr ydym oll yn cyfaddef yr hyn a ddywedaf yn awr,"—Stuart. "Y mewnol ddyn llygredig yw yr hen ddyn hwn,"—Stuart, E. Robinson, Tholuck, Barnes, Grotius, Walford, Hodge. "Gan gadw mewn cof hyn,"—Bloomfield. "Yr hen ddyn yw yr hen fyw digrefydd, mewn meddwl a buchedd,"—Hardy, Koppe. "Croeshoelio ein hen ddyn ni fel efe,"—Conquest. "Yr hen ddyn yw yr hen Adda yn ei bechod gwreiddiol o'n mewn,"—Schoettgen. "Natur wreiddiol lygredig ydyw,"—Bloomfield, Wolf, Photius, Wetstein. "Personolir pechod megys dynsawd yn marw, aelodau yr hwn yr ydym ni i'w marweiddio, a'r hwn nid ydym i'w wasanaethu mwy," Gill, Cobbin, Bloomfield, Barnes, Chrysostom, Stuart. † "Mae corff pechod, yn ddiau, mewn credinwyr yn egwanedig, concweredig, a diorseddedig ormesdeyrn; er mai dyrnod angau yn unig a orphena ei ddinystr,"—Doddridge, Bloomfield. "Corff pechod yw y bôd o hono, neu pechod ei hunan,"—Hodge, Vorst, Clarius, Hammond, Schoettgen, Glassius, Paræus, Homberg, Flatt, Reiche. "Ar y groes y dirymwyd gallu anaele pechod, fel na all efe mwy deyrnasu ar y Saint,"—Walford. "Ystyrir pechod yma fel dyn, i'r hwn y mae yr aelodau yn ddarostyngedig,"—Koppe, Limborch, Erasmus, Grotius, Wolf, Morgan, Aquinas. "Yr hen ddyn yw y natur ddynol yn ei gwendid a'i gadawiad gan Ysbryd Duw,"—Rhai. "Y crynswdd o bechod yw corff pechod," medd ereill, megys Schneider, &c. "Cnawdolrwydd ac anghymedroldeb yw,"—Tholuck. "Corff pechadurus yw yr ystyr," medd Beza, Semler, Böhme, Bretschneider, Wahl, Ruckert. "Ni ddysgodd Paul erioed mai y corff yw eisteddle pechod. Mae hyny yn beth anmhosibl oddiar gyfansoddiad dyn,"—Reiche. "Y corff, wrth ba un y mae pechod yn glynu,"—Winer.

*Ein hen* DDYN *ni (anthrôpos)*. Nid y mewnol ddyn llygredig yw; oherwydd arferai yr apostolion pan yn son am y cyfryw, y gair "dyn oddimewn," neu "mewnol ddyn y galon," Rhuf. 7, 22; Eph. 3, 16; 1 Pedr 3, 4. Diau fod yr apostol hwn yn arferyd y gair yma am ysbryd llygredig y meddwl, yn Eph. 2, 22; eithr rhag meddwl o neb mai yr un ystyr oedd yn ei olwg ag yn ein testun, efe a chwanegodd, gan ddywedyd;—"Yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig, &c." Yn ein testun nid oes air o'r fath nodweddiad yn nglyn ag ef. Hefyd "hen ddyn," Eph. 4, 22, oedd rywbeth llygredig *yn ol* y trachwantau, sef gweithredoedd llygredig; tra'r oedd "hen ddyn" Col. 3, 9, ynghyd â'i weithredoedd, ond y ddau ar wahân. Trachwantau i'w difa oedd hen ddyn y llythyr at y Colossiaid, ond gweithredoedd drwg oedd y llall; tra mae hen ddyn ein testun yn bersonoliad o bechod fel arglwydd gormesol. Y cyd-destunau sydd yn cyfnewid yr ystyr, ac nid y geiriad. Pa awdurdod bynag allasai berthyn i bechod fel arglwydd dynolion, os croeshoeliwyd ef, ac os methodd adgyfodi eilwaith, eglur yw, nad ydym dano ef mwy.

*Gydag ef;* eithr "ddarfod cydgroeshoelio ein hen ddyn ni," yw yr hyn sydd yn y testun, heb chwanegu gyda phwy. Etto, gan mai croeshoeliad Crist yw yr hyn sy'n y cyd-destunau, ni ellir caniatâu dim arall yma. Croeshoeliwyd y gormes-deyrn hwn ar unwaith â Christ. Nid ar unwaith ag ef y croeshoelia yr hen ddyn a geir yn Eph. 4, 22, neu yn Col. 3, 9; sef trachwantau a buchedd ddrwg. Yn awr y croeshoelir y rhai hyn.

DIRYMU *(katargéo) to make without effect, fruitless*; *to abolish, destroy;* gwneyd yn ddieffaith, diffrwyth, diddymu, distrywio. Dilynir y gydmariaeth, gan gyfeirio at wneyd corff y gormesydd yn ddirym drwy groeshoeliad, fel na byddo awdurdod ganddo mwy ar wasanaeth ei hen ddeiliaid.

7 *Canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrth bechod.

* Nid oedd yr adnod hon, wrth bob tebyg, i'w chael yn meiblau Tertullian nac Ambros. "Wedi ei ryddhau oddiwrth benyd pechod,"—Bretschneider. "Oddiwrth awdurdod pechod,"—Barnes, Stuart, Theodoret, Tholuck, Rosenmuller, Wells, Theophylact, Ecumenius, Beza. "Mae dyn wrth farw yn gwneyd iawn am ei bechod,"—Alting, Wolf, Carpzov, Reiche. "Wedi ei waredu oddiwrth bechod,"—Stuart, Chrysostom. "Mae yr hwn a fu farw i bechod yn rhydd gyfiawnhaol oddiwrtho,"—Glockler, Erasmus, Lapidius, Limborch. "Marw i bechod yw ymadawiad hollol oddiwrtho,"---Rhai. "Marw gyda Christ,"---Hodge. "Nid yw yr hwn a fu farw yn alluog i bechu mwy," medd amryw, megys Grotius, &c.

Mae pwy bynag fo marw wedi ei ryddhau oddiwrth awdurdod pechod fel gormesdeyrn, canys nid oes gan un brenin awdurdod tu hwnt i'r bedd; felly yn sylweddol, y rhyddhawyd y Dirprwywr mawr, Iesu, odditan gondemniad achosedig gan bechod y rhai a gynddrychiolai, a chan eu bod felly wedi cydfarw ag ef, y maent hwythau yn mwyaf yr un rhyddid, neu "newydd-deb bywyd" ag yntau. Nad rhyddid maddeuol, ond gobeithiol a feddylir, sydd eg'ur oddiwrth waith yr apostol yn ein cydio, drwy yr holl gyfadnodau, a Christ, ac yn ein gosod gydag ef yn mhob man a phob peth. Hyn ni all fod gyda rhyddhad cyflyrawl diwygiad buchedd, nac ychwaith gyda rhyddhad maddeuol y person.

Oddiwrth *y* Pechod sydd yn y testun, sef y pechod a ddirymwyd yn ol adn. 6ed: pechod wedi ei bersonoli fel brenin gormesol.

8 *Ac os buom feirw gyda Christ, yr ydym ni yn credu y byddwn byw hefyd gydag ef:

* "Dylem gredu y byddwn byw, &c.," medd Photius, Crellius. "Gallwn ymddiried y byddwn byw,"—Bloomfield. "Byw fel efe, a chydag ef,"---Hodge, Walford, Tholuck. "Byw yn ei santaidd gymdeithas ef yma,"---Barnes, Stuart. "Cyfeirir at ogoniant y nef yn unig,"--Origen, Chrysostom, Theodoret, Grotius, Heumann, Semler, Flatt, Reiche.

GYDA CHRIST *(sun) with.* Arwyddocâ y cyssylltiad agosaf o holl ddarddodiaid yr iaith. Gosodir ef mewn pum adnod, sef Rhuf. 8, 32; 2 Cor. 13, 4; Gal. 3, 9; Col. 2, 13, 20, am *debygolrwydd*, gan y Geiriaduron, gan mwyaf; eithr *cyssylltiad*—"gyda," yw ei unig ystyr, hyd y nod yno, megys yn y cannoedd manau lle y ceir ef gan yr apostolion. Yn awr, anmhosibl mai byw yn ei gymdeithas ef drwy ffydd yma, a feddylir, canys yr oeddym hefyd *gydag* ef pan fu farw, ac yn y bedd, yr hyn nid oedd mewn un ystyr bersonol a gweithredol o'r eiddom, ac os nad yn bersonol yno, nid yn bersonol yma, canys dylid cyssoni y cyd-destunau â'u gilydd.

*Y byddwn byw hefyd.* "Yr ym ni yn credu y byddwn byw gydag ef," ebe efe. Atebed y rhai a esboniant yr ymadrodd am fywyd o fedd llygredd pechod, pa fodd yr oedd Paul yn credu ei fod ef ynghyd â hwythau etto heb y cyfryw fywyd ysbrydol? Bywyd gyda Christ mewn gogoniant yw yr unig fywyd oedd mwy yn bwnc o gred a gobaith gan Paul.

9 *Gan wybod nad yw Crist, yr hwn a gyfodwyd oddiwrth y
meirw, yn marw mwyach, †nad arglwyddiaetha marwolaeth arno
mwyach.

10 ‡Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw unwaith i bechod;
§ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw.

* Heb. 9, 25---28; a 10, 11—14; Dat. 1, 18. † "Nid yn unig ni wna, ond hefyd ni all, efe farw mwy, canys nid yw efe dan lywodraeth marwolaeth,"---Wetstein, Deyling, Albert, Wolf. "Mae yma rybydd i ninnau ymgadw rhag ail ddisgyn dan lywodraeth pechod,"—Bloomfield, Crellius, Schlitingius, Rosenmuller. ‡ "Efe a fu farw am bechod, fel aberth,"---Boothroyd, Bloomfield, Hodge, Walford, A. Campbell, Tholuck. "Yn aberth dros byth,"---Conquest. "Canys yr hwn a fu farw,"---Macknight. "Efe a fu farw yn hollol a pherffaith, i bechod,"---Bloomfield. "Mae marw Crist i bechod i'w ddeall yn wahanol i'n marw ni iddo,"---Hodge, Tholuck, Stuart. "Canys fel o ran amcan,"---Barnes. "*Unwaith*, yr hyn sy'n gwadu pob eilwaith byth,"---Schleusner. "Bu farw gyda golwg ar bechod,"---Belsham. "Canys fel y bu efe farw i bechod, efe a fu farw unwaith,"---Y Vulgate, Erasmus, a'r hen Syriaeg. "Efe a fu farw i beri lleihad ar awdurdod pechod,"---Stuart. § "I anrhydedd a gogoniant Duw,"---Stuart, Paræus, Piscator, Carpzov, Koppe, Doddridge, Grotius, Hodge, Barnes. "Trwy allu Duw,"---Chrysostom, Theophylact. "Y mae efe yn byw trwy y natur ddwyfol,"—Ecumenius. "Byw y mae dros Dduw," J. Williams. "Gyda Duw,"— Beza, Estius, Menochius. "Mewn perthynas i'r hyn y mae efe yn ei fyw, &c.,"—Winer. "Yn ngogoniant Duw," medd Morgan.

*Gan wybod, &c.:* hyny yw "profi fod Crist, a'r rhai a gynddrychiolai efe, yn rhyddion, yr oeddwn yn yr ymadrodd cyffredinol ac olaf a arferais."

*Fel y bu efe farw;* neu yn hytrach, "yr hyn o farw a wnaeth efe." Wele yma brawf amlwg, nad marwolaeth naturiol dyn arall oedd marwolaeth Crist; ond mai marw gyda phechod, ein gormesydd ni a wnaeth efe. "Dyna yr hyn o farw a wnaeth efe."

*I bechod.* Gwel ar adn. 2il, mai marw *gyda* phechod, yn ol adn. 6ed. a feddylir.

*Fel y mae yn byw;* neu yn hytrach, "yr hyn a wna efe fyw." Gwel ar ddechreu yr adnod.

*I Dduw.* Beth! onid *i* Dduw yr oedd efe yn byw pan ar agwedd gwas, yn gystal ag yn awr, pan y mae efe ar agwedd arglwydd? Onid gwas i Dduw ei hunan oedd efe? Ac onid gwas yn byw i'w Arglwydd oedd efe? Gosodir, yn hytrach, ei fywyd ef, yn awr yn gyferbyniol i'w farwolaeth ef. Marw gyda phechod a wnaeth; ond byw gyda Duw a wna mwyach. Cydgyfranogai o warth ac iselder pechod wrth farw; ond cyfrana o ogoniant Duw wrth fyw. Dyna gynnwysiad y gymhariaeth.

Yn awr os byw *gyda Duw* yw y cystrawiad hwn *(Dative case)*, ar y naill ochr o'r gymhariaeth: marw *gyda* phechod yw ystyr y *marweiddo*, pan arferir yr ymadrodd am Grist. Pa beth ond yr un peth all fod ei ystyr, pan yr arferir am danom ninnau, y rhai a gynddrychiolai efe yno?

11 Felly chwithau hefyd, *cyfrifwch eich hunain yn feirw i
bechod; eithr yn fyw i Dduw, †yn Nghrist Iesu ein Harglwydd.

* "Ystyriwch, meddyliwch eich bod felly,"—Erasmus, Piscator, Grotius, Crellius, Koppe, Rosenmuller. "Yn feirw gan bechod,"---Macknight. "Oherwydd pechod," Kypke. "Peidiwch ag ufyddhau i bechod yn hwy,"---Slade, Bloomfield, Barnes, Walford. "Marw gyda Christ er mwyn bod yn rhydd oddiwrth ei euogrwydd a'i awdurdod,"—Hodge. "Felly hefyd, cyfrifwch chwithau eich hunain,"—Tholuck. "Cyfrifwch eich hunain yn feirw yr un modd i bechod,"---Stuart. † Ystyrir fod y geiriau—"Ein Harglwydd," wedi diweddar ymlusgo i mewn i'r testun, gan Koppe, Griesbach, Knapp, a Scholz; ac yn wir, nid ydynt yn y saith copi henaf yn y Groeg, nac yn yr Ethiopaeg, na'r rhai Lladin henaf. Eithr nid yw o nemawr bwys pa un ai mewn ai allan y byddont.

*Felly chwithau hefyd;* yr un modd ag y cyfrifir Crist wedi marw *i*, neu *gyda* phechod, felly cyfrifwch chwithau eich hunain wedi marw, gydâ'r un gwrthrych. Buom oll feirw yn yr ystyr hwn, ar yr un pryd. Ond Gwel ar adn. 2.

*Byw i Dduw;* neu *gydag* ef. Ond yn mha ystyr yr oedd y Rhufeiniaid dan sylw, a hwythau ar y ddaear, yn byw *gyda* Duw fel yr oedd Crist? Yr atebiad sydd agos: "yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." Megys yr oeddym ynddo yn gynddrychioledig ar y groes, ac yn y bedd, (Gwel adn. 3, 4) felly yr ydym etto gyda Duw. Lle mae efe yn yr ystyr hyn, yno yr ydym ninnau; gellir hyd y nod chwanegu, ein bod ynddo ef er tragwyddoldeb, yn yr un ystyr; canys "etholwyd ni ynddo ef fel yma er cyn seiliad y byd," Eph. 1, 4.

12 *Na theyrnased pechod, gan hyny, yn eich corff marwol, †i ufyddhau o honoch iddo yn ei chwantau.

13 ‡Ac na roddwch eich aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod; §eithr rhoddwch eich hunain i Ddnw, megys rhai o feirw yn fyw; a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw.

* "Na theyrnased y ddeddf," yw darlleniad yr hen gyfieithad Sahidaeg. "Yn eich corff, yr hwn sydd yn agored i farw,"—Stuart, Barnes, Tholuck, Theodoret. "Yr un peth yw dywedyd *eich corff* â dywedyd *chwi eich hunain,*"—Barnes. "Er fod pechod yn tori allan yn eich bucheddau, dylai eich tueddiadau fod oddiwrtho," Awstin. "Yn eich corff llygredig," medd rhai. "Yn eich natur lygredig foesol," S. Schmidt, C. Schmidt. "Teyrnasiad pechod yw fod ei nwydau yn cael ufydd-dod." Chrysostom, Theophylact, Ecumenius. "Wrth *bechod* yma y deallir, nid y weithred o bechu *(peccatum)*; ond y tueddfryd hwnw at bechod *(vitiositas)* ag sydd yn mhob dyn,"—Bloomfield. "Mae chwantau y corff, a 'eich aelodau,' agos yn gyfystyr: y naill ydynt ddymuniadau a blysiau, a'r lleill y peiriannau corfforol a'r galluoedd meddwl, trwy y rhai y gweithreda y dymuniadau hyny,"—Davidson. "Eich corff amddifadel o fywyd dwyfol,"—Origen, Photius, Turretin, C. Schmidt. † "Y chwantau hyn yw pob pleser anianol a enyno y meddwl oddiwrth rinwedd,"—Bloomfield. "Ni ddylai chwantau cyfreithlon y corff gael gronyn mwy o le ac amser y meddwl nag sy'n hollol anghenrheidiol, onide maent yn arglwyddiaethu,"—Grotius. "I ufyddhau o honoch iddo," gan adael "yn ei chwantau," allan, yw beiblau Belsham; J. Williams, ac A. Campbell ("drwy ufyddhau i, &c."). Gorphenir yr adnod yn y gair "i ufyddhau," mewn pedwar o hen gyfieithadau Lladin, ac felly y mae hefyd yn nhestament Groeg Griesbach. Felly Koppe, a Tholuck; ac yn debyg y mae Vater a Flatt. Eithr saif Bengel, Knapp, a Lachmann, dros y darlleniad derbyniedig, ar ol amryw o'r hen gopiau Groeg, ynghyd â hen dadau yr eglwys. "I ufyddhau o honoch iddo," yw darlleniad amryw o'r hen gopïau Groeg, ac felly mae Testament Groeg Mills, ac un

Scholz, a lled debyg mai felly yr oedd ar y dechreu; pe byddai o ryw bwys i'r synwyr, hefyd, pa un o'r ddwy-ffordd yr oedd. "I ufyddhau o honoch iddo (y corff), &c.," Hodge. "*Iddo*, sef i bechod, ac nid y corff,"—Barnes. ‡ Pen. 7, 5; Col. 3, 5; Iago 4, 1. "Yr aelodau yma yw yr holl ddyn,"---Hodge. "Pechod yma yw y tueddfryd llywodraethol at bechod,"---Tholuck. "O feirw yn foesol i fywyd moesol," Stuart. "Megys rhai byw oddiwrth y meirw,"---J. Williams. "Cynnwysa y gair sydd yma, *arfau*, ddodrefn, yn gystal ag arfau milwrol,"---Grotius, Koppe, Bloomfield. "Megys rhai newydd gyfodi o feirw,"---Koppe. "Cyfiawnder a gynnwysa yma bob peth cymmeradwy gan Dduw,"---Bloomfield.

*Gan hyny;* os nad yw y gormesydd, pechod, yn teyrnasu *arnoch* na chaffed, rhag cywilydd, deyrnasu *ynoch.*

1. Yr oedd gan Bechod awdurdod arnoch, fel eich priod, a'ch gormes-deyrn, canys rhoisoch eich hunain dan ei awdurdod deyrnasol o'ch gwirfodd. (Darllener pen. 7, 1—4.) Eithr y mae efe wedi ei "gondemnio yn y cnawd," (8, 3) a'i ddienyddio ar y groes (adn. 6), ac o ganlyniad, nid oes ganddo yr awdurdod gondemniol arnoch a ydoedd, ac a fuasai ganddo, pe buasai yn fyw fel yr oedd. Na theyrnased, gan hyny, ynoch. Nac ufyddhewch i'w ddeddf ef, canys mae hi yn nglyn â deddf marwolaeth gondemniol.

2. Pe buasai pechod ei hunan yn fyw, ni fuasai ganddo un awdurdod i'ch condemnio chwi, nac ychwaith i'ch gwasanaeth, er i chwi ymrwymo yn briodasol iddo; canys tra fyddo hi byw y mae pob gwraig yn rhwym i'w gwr, a deiliad yn rhwym i'w brenin. Eithr yr ydych chwi wedi meirw. Lladdodd y gormesydd chwi drwy ddienyddiad. Cawsoch ddioddef eithaf y condemniad. Ni all efe ofyn eich bywydau ddwywaith. Cariad Iesu atoch a'i dug i wared i esgynlawr eich dienyddle, ac i farw eich marwolaeth gondemniol chwi. Ac os dug efe chwi allan o fedd y cyfryw gondemniad, yn fyw, nid eich hen arglwydd, pechod, ond efe, sydd ag awdurdod arnoch mwy. Na theyrnased y gormesydd ynoch eilwaith. Mae hyny yn hollol afresymol.

Nid yw efe yn dywedyd "Na chaffed y cnawd fyw, na gweithredu, ond na chaffed pechod deyrnasu; canys nid yw efe am ddatroi y natur ddynol i rywbeth annaturiol, ond am unioni yr ewyllys. Hefyd, i ddangos nad ydym yn cael ein cadw drwy orfodaeth nac anghenrheidrwydd, dan awdurdod pechod, ond drwy ein rhydd ewyllys ein hunain, e e a ddywed—nid "na ormesed," yr hyn a gynnwysai ein hymosyngiad anhebgorol,—ond "nac arglwyddiaeth" yw y gair a arferodd efe. A diau y byddai yn ynfydrwydd yn y rhai sydd wedi ymwystlo i deyrnas gogoniant, gymmeryd pechod yn arglwydd, a dewis troi eilwaith yn *gaethion* iddo ef, tra yn cael eu galw i *deyrnasu* gyda Christ. Megys pe bwriai un goron oddiar ei ben, gan ddewis bod yn gaethwas rhyw arglwydd a lan, tlawd creulon, a gwarthus.

Proffesa llawer un, ysywaeth, fod yr hwn a ddylai lenwi lle arglwydd, i fod yn gaethwas, a'r caethwas yn arglwydd yn ei le.

CORFF MARWOL *(thneto somati)*, arferir am gorff wedi marw yn yr ystyr fo dan sylw. Yn 1 Cor. 15, 53, 54; 2 Cor. 5, 4; Rhuf. 8, 11; am gorff wedi marw yn gondemniol, ffigwrol, gyda Christ; yn ol Gal. 2, 20. Nad corff agored i farw, na chorff yn graddol farw, a feddylir,

sydd eglur oddiwrth arferiad y gair MARWOL *(thneto)*. Ni chaiff y credo anwylaf osod ystyr dieithr ar eiriau Duw. Nid yw'r esbonwyr wedi sylwi ar briodol ystyr y gair hwn.

CHWANTAU *(epithumia) earnest desire, longing;* dymuniad cryf a hiraeth. Eithr arferir am rywogaeth pechadurus o hyny; sef dymuniad afreolaidd a gormodol, trythyllgais, trachwant. Ond, y mae hyd yn nod chwant wanaf pechod yn ddrwg. Gwelwn mai drwy ufyddhau i drachwantau y corff y cyfaddefir awdurdod y gormesdeyrn ar ein cyrff. *Teyrnasu* yw llywodraethu yn ddiwrthwynebiad a dirwystr. "Gwir (fel pe dywedasai efe) y bydd trachwant corff yn aml ymwthio allan, ond na chaffed le: attalier ei ymchwydd."

NA RODDWCH *(mēde paristanete), to cause to stand near, to place near by, to place before any one, to exhibit, to furnish;* sef, peri i'r peth sefyll yn ymyl peth arall, gerbron rhywun, arddangos, parotoi. Yr hyn a waherddir, yw peri i'n haelodau sefyll yn ymyl, eu gosod gerbron pechod, i fod o honynt yn sicr at ei law, i wneyd ei waith anaele â hwynt!

*Anghyfiawnder i bechod.* Pechod yw y gweithiwr, anghyfiawnder yw y gwaith, aelodau dynion yw ei arfau gweithio *(tools);* neu yn hytrach arfau ymladd; canys yn y cymmeriad o frenin y cyfeirir ato. Ar y tir hwnw, anghyfiawnder yw ei ryfel. *Pension* tlawd fydd i'r milwyr truain hyn!

*Eithr rhoddwch, &c.* Gwel ar ddechreu yr adnod.

*Megys o feirw yn fyw:* gydâ'r un bywiogrwydd a theimlad o ddyled, ag y dysgwylid i rai fo'n newydd adgyfodi o'u beddau at waith. Yr ydym ni wedi ein claddu, a'n cyfodi o feddrod anferth a dofn condemniad anobaith, yn angladd ac adgyfodiad ein cynddrychiolwr bendigedig; ac onid oes dysgwyliad i ni gynnyg ein haelodau i'r hwn a drefnodd ein hadgyfodiad mor effeithiol ac mor rad? ïe, onid yw rheswm ei hun yn galw yn groch am hyn?

*I Dduw.* Duw yw yr arglwydd newydd, cyfiawnder yw yr holl ryfel, ein haelodau ninnau yw yr arfau. Gwelwn fod Duw yn gofyn am ein cyrff yn ebyrth byw at ei waith. Edrychwn, ynte, at ein haelodau, yn gystal ag at ein heneidiau.

14 *Canys nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi: oblegid nid ydych chwi dan y ddeddf, eithr dan ras.

* "Y ddeddf fel yr unig allu i roddi neu gymmeryd bywyd, er nas medd allu i ddim ond condemnio,"—Davidson. "Wrth y ddeddf y golygir y cyfammod gweithredoedd, yr hwn sy'n gofyn ufydd-dod manol, ond heb roddi nerth i ufyddhau,"—Manton. "Nid ydych dan ddeddf, fel un Moses, yr hon a orchymynai, heb gynnorthwyo dim tuag at y cyflawniad o hyny: mae y gras a faddeuodd eich beiau blaenorol yn ddiogelwch rhag rhai dyfodol,"---Theophylact. "Deddf yn gyffredinol a olygir,"---Macknight, Hodge, Carpzov, Doddridge; er y dywed yr olaf y gellir ystyried deddf Moses yn fwyaf neillduol. "Wrth ras y meddylir yr efengyl,"---Bloomfield. "Nid arglwyddiaetha, &c., sydd rybydd,"—Walford, Morgan, Hunnius, Locke, Taylor, Heumann. "Dan gyfammod o ras,"---Belsham, "Dan y gras o gymmod â Duw." Hodge. "Nid arglwyddiaetha, &c., sydd addewid."—Hodge. Theodoret, Melancthon, Erasmus, Calvin, Tholuck, Ruckert, Reiche, Stuart, Kollner, Winer, Origen, Chrysostom, Awstin. "Mae yn addewid a gorchymyn,"---Barnes. "Y Ddeddf yw

yr Hen Destament, a'r Gras yw y Newydd,"—Grotius, Clericus, Limborch. "Yr oedd mor wir dan y ddeddf ag yw dan ras, fod dyled i beidio pechu ar ddynion,"---Stuart. "Nid ydych dan oruchwyliaeth ddeddfol, ond un rasol,"---Stuart, Barnes, Walford. "Dan y ddeddf seremoniol,"---Amryw.

NI ARGLWYDDIAETHA *(ou kurieusei), to be lord over any one, to have dominion over;* meddu llywodraeth ar un. Mae gwahaniaeth rhwng y gair hwn a'r gair teyrnasu *(basileuô)*, yr hwn a arferir am awdurdod freninol. Gair ein testun a arwyddoca awdurdod arglwydd ar gaethion; *lord on his slaves;* yr hon oedd awdurdod hollol bywyd ac angeu. Ceir hefyd yn pen. 22, 25, lle dywedir fod gan freninoedd y cenedloedd y llywodraeth arnynt ag sydd gan arglwydd ar ei gaethwas. Yn Rhuf. 14, 9, cawn fod yr un awdurdod bywyd ac angeu gan Grist, ar bawb; ac yn pen. 6, 9, nad yw marwolaeth yn meddu yr arglwyddiaeth hon ar Grist mwy. Felly yr arglwyddiaethai deddf Moses ar fywyd tymmorol ei deiliaid tra byddent byw. Ceir yr un gair yn 2 Cor. 1, 24. Gwelir oddiwrth arferiad y gair, y gall un fod yn llywodraethu fel brenin, heb arferyd awdurdod arglwydd dwyreiniol ar ei gaethweision. Yr olaf sydd yn ein testun. Nid oes gan bechod yr hen awdurdod o fywyd ac angeu a fu ganddo arnom.

Y DDEDDF *(nomos)*. Nid yw y fannod i fod yn y cyfieithad. Deddf, ac nid *y* ddeddf ydyw. "Nid ydych, na thân ddeddf natur, na thân ddeddf datguddiad—Moeseniaeth." Eithr pa reswm yn erbyn cael eu dienyddio gan yr hen arglwydd, pechod, a geir yn yr ychwanegiad a roddes Paul i ni? I hyn atebaf, mai yr ystyr yw: "Nid ydych yn awr dan ei arglwyddiaeth ef, canys nid ydych dan un ddeddf fel goruchwyliaeth, ond dan ras yr efengyl. Dan ddeddf natur tywelltid barnau tymmorol am eu pechodau, megys ar y Ninifeaid, yr hon farn a symudwyd ymaith oddiwrthynt ar eu hedifeirwch. Felly y dygai pechodau deiliaid deddf Moses farwolaeth farnol arnynt hwythau. Yn awr, er fod y genedl Iuddewig dan Moses, hyd ddinystr Jerusalem, ac yn agored i farnau ei ddeddf ef, yr oedd cynnifer o honynt ag a ddalient at Gristionogaeth, o dan ras—o dan yr oruchwyliaeth nad oes dim barnau, ond ceryddon grasol yn unig, yn berthynol iddi.

Nid oes un o'r esbonwyr wedi gallu dangos un rheswm mewn dywedyd, "nid ydych dan ddeddf, ac am hyny, nid oes awdurdod gan bechod arnoch." Ar ol esbonio y "marw i bechod," a'r "byw i Dduw," "a'r bedydd," yn gyfeiriadau at fucheddau, ac at broffes grefyddol, &c., gorfodwyd hwynt i osod yr adnod hon yn gyfeiriad at arglwyddiaeth fucheddol. Pa fodd y gellir cyssoni "nid arglwyddiaetha pechod arnoch chwi, yn eich buchedd," a'r holl annogaethau croes i hyny, a geir yn y bennod hon? Dywedyd, *na ddylai gael* arglwyddiaethu, y buasai, pe i'w esbonio. Ac, nid posibl cael gan y gair "Nid arglwyddiaetha" sefyll am "Na arglwyddiaethed" pechod; nac am, "ni ddylai gael arglwyddiaethu." "Ni wna arglwyddiaethu" yw ystyr geiriau Paul. Ni allai efe ddywedyd mor bendant â hyn, oddieithr am arglwyddiaeth gondemniol, ddienyddol, arnynt. Ac os dyna ystyr y llywodraethiad hwn, fel yr esboniwyd yma yn unig gydsaif â holl rediad y cyfadnodau.

Ni bu Moeseniaeth erioed yn ddeddf foesol i'r Iuddewon eu hunain. Mae deddf foesol pob un yn dwyn perthynas a'i dynged dragwyddol ef.

Nid cadw y deg gorchymyn yn unig, sef y "na wna hyn a'r llall" yw deddf foesol neb. Os gwyr dyn am rywbeth da yn rhagor a allo efe gyflawni, dylai ei gyflawni. Gan hyny, deddf foesol pob un yw gwneyd ei oreu, yn ol ei gyfleusderau a'i berthynasau. Ni chynnwysai deddf Moses na'r prophwydi air yn erbyn casau gelyn, ond i'r gwrthwyneb; na gair yn erbyn crynhoi trysorau daearol, ond i'r gwrthwyneb. Cyfundrefn y *Gras* yn unig sy'n ein dysgu i gasau cybydd-dod, ac i garu ein gelynion. Dan hon, ac nid dan y llall, yr ydym ni. Yr oedd y Iuddew a fucheddai yn ol Moses yn awr, yn bechadur yn nghyfrif y Ffydd. Dyna paham y cymmysgir "dan bechod" a "than y ddeddf" yn barhaus gan yr apostol. Eithr cofier, nad dan ein deddf *foesol* ein hunain y gwadir ein bod, canys yr ydym yn ddiau dan hòno; cynnwysa hòno holl ddyledswyddau yr efengyl. Bu Israel, tra parhaodd cyfammod Sina, dan ddeddf Moses, fel breniniaeth; ond nid fel ysbrydoedd i fyw byth. Nid oedd na'u gwasanaeth, na'u hoffrymau, na'u degymau, yn dwyn un berthynas â bywyd dyfodol. Yn y cymmeriad o Dduw y Ffydd yn unig yr ymwnelai Duw â hwynt fel crefyddwyr, ac y rhad faddeuai eu mawrion a moesol feiau, heb aberth nac ammod ond "ysbryd cystuddiedig." Gwel ar pen. 3, 25, a'r TRAETHAWD ar y DDEDDF, ynghyd a'r Esboniad ar adn. 15.

15 Beth wrth hyny? *a bechwn ni oherwydd nad ydym dan y ddeddf, eithr dan ras? Na atto Duw.

* "A ddylem,---a allwn ni bechu?" yw darlleniad pedwar o'r copiau Groeg henaf, ynghyd ag amryw ereill; a chyfrifir gan Griesbach o'r bron eystal ei awdurdod a'r darlleniad derbyniedig.

*Dan y ddeddf:* yn hytrach *dan ddeddf.* Am arferiad y gair hwn, "dan ddeddf," *(upo nomon)*, gwel ar pen. 3, 9. Yr ystyr yw, dan bechod fel yr oedd caethwas dan arglwydd dwyreiniol. Yr oedd awdurdod gan ddeddf Moses ar fywydau ei deiliaid. Bywyd corfforol wyf yn feddwl. Eithr cynnwysir yma *bob* deddf. Yr oedd gan ddeddf natur hefyd awdurdod lled gyffelyb. Gwelwn enghreifftiau o hyn yn Sodom, Nineveh, &c. Nid yw y cenedloedd na'r Iuddewon dan y fath farnau yn awr. Yn uffern a'r llyn tân yn unig y cospir pechodau ein goruchwyliaeth ni. Nid oedd gan arglwyddi yr Iuddewon na'r Cenedloedd awdurdod y tuhwnt i'r fuchedd hon, ar eu deiliaid. Michael oedd tywysog Israel (Dan. 10, 21). Nid oes genym enw tywysog Persia, yr hwn a safodd yn erbyn angel Daniel (10, 13), pan ar ei neges, ac a'i cadwodd un dydd ar hugain dros ben ei amser (adn. 13, 20). Enw tywysog tir Groeg sydd yr un mor anadnabyddus (adn. 20). Felly am dywysogion angylaidd yr holl genedloedd. Eithr nid oedd, meddaf, gan y tywysogion penadurol a swyddol hyn, un awdurdod ar eu deiliaid y tuhwnt i angeu. Yr oedd llawer iawn o helyntion pob cenedl yn dibynu ar y tywysogion hyn. Yn awr, gan nad oedd y Penllywodraethwr, Brenin y breninoedd hyn, yn caniatâu i'w hawdurdod ymestyn yn mhellach nâ'r fuchedd hon, ac na chyffiniau cyfyng eu tiriogaethau arbenig, rhesymol iawn oedd iddo gyflunio i gospedigaethau pechodau pendant gael eu gweinyddu mewn amser.

Eithr, nid i'r angylion y darostyngodd y Duw mawr yr oruchwyliaeth a elwid "y byd a ddaw," eithr i'r dyn, Crist Iesu. Helaethwyd ei awdurdod ef dros holl gyffiniau eu hawdurdodau hwynt. Dilewyd y cyfan o'r holl dywysogaethau blaenorol, y tu yma, a thu draw i angau: o leiaf, oddiyma hyd y farn olaf. Gosodwyd eu holl goronau ar ben yr Iesu, ein brawd naturiol a ffyddlon ni. Gwnaeth efe, gwed'yn, garchar ei oruchwyliaeth helaeth, a goleu, yn y byd ysbrydol. Nid yw ei ddeiliaid ef *dan ddeddf*—dan y goruchwyliaethau a weinyddent eu holl gospau yn y fuchedd hon. Yr oedd deddf o bob math, hefyd, yn methu maddeu pechodau rhyfygus i neb. Pan orweddai gwr, megys Dafydd, gyda gwraig ei gymmydog a phan edrychai dros holl restrau deddf Moses, am yr aberth priodol dros ei bechod ysgeler, ni chwrddai ei lygad â dim o'r fath. Yna, yn ing ei ofidiau, nid oedd dim i'w ddywedyd, ond—"Ni fyni aberth; pe amgen mi a'i rhoddwn. Yr unig aberth i mi mwy yw calon ddrylliog gystuddiedig." Gwel ar Rhuf. 3, 25 (Iawn) Gwir yw fod y ddeddf mor egwan â hyn, drwy ei chnawdolrwydd, a'i diffygion cyffiniol, o eisieu gwell tywysog, gwell aberth, a helaethiad terfynau i fewn i'r byd anweledig. Pwy erioed a ganfu un o'i gosodiadau yn berthynasol â stad dragwyddol ei deiliaid. Nid neb, debygwyf. Eithr, nid at ei diffygion *maddeuol* y cyfeiria Paul, pan y dywed—"Nid ydych chwi dan ddeddf;" eithr at ei phall awdurdodol mwyach i gondemnio yr Iuddewon Rhufeinaidd, â pha rai y dadleua efe, pan yn son am y ddeddf. Ac yn wir, gellid chwanegu, ei fod yn cynnwys deiliaid deddf natur hefyd, yn ei anerchiad, canys gwelsom nad *y* ddeddf, ond deddf, heb y fannod, a arferodd efe.

Gwelwn paham yr ymresymai ein hapostol mewn dull ag sydd, ar yr olygfa gyntaf, mor annhebygol. Eithr ein hesbonwyr sydd wedi ein cam-barotoi i gyd-redeg ag ef. Ei ymresymiad ef a ymddengys yn eglurach fel hyn: "Buoch yn hir *dan ddeddf*, yr hon a'ch cospai pan droseddech. Nid ydych dani yn awr. *Dan* oruchwyliaeth dirion a maddeuol *Gras* yr ydych. Eithr peidiwch a rhyfygu son am bechod yn eofnach nag o'r blaen, oherwydd nad ydych dan allu condemniol a chospawl y Ddeddf; canys nid yw ei ddiswyddiad ef o'r orsedd gondemniol (ar yr hon yr eisteddai efe drwy y ddeddf), gan Iesu Grist, yn un rhwystr i chwi, os pechwch, i gael eich cyfrif etto yn weision i'ch hen feistr—yn *slaves* *(douloi)* hen feistr dirym (adn. 6) a gwarthus, cyflog yr hwn i'w holl *slaves* fydd marwolaeth (adn. 23).

*Dan ras*, mewn cyfeiriad yma, yw yr ystyr *ryddhaol* groes i hono a olygai efe wrth y gair "dan bechod." Mae awydd yr apostol yn gref a dibaid, i gadw mewn golwg, nad yw goruchwyliaeth Gras wrth faddeu yn rhad yn un annogiad i'w deiliaid fyw yn fwy penrhydd. Fod caredigrwydd at y maddeuwr yn fath egwyddor mor gref, nes y llywodraethai hi ysgogiadau y dyn mor gywir, fel ag i'w gadw yn awyddus am fyw i'r hwn a faddeuasai iddo; yn enwedig, pan ystyrio fod yr un gwr wedi rhoi i lawr ei fywyd, er mwyn gallu ei anrhegu â'r fath gymwynas. Mae y sarhad a fwrid yn erbyn y Cristionogion oherwydd tueddiad penrhydd eu hathrawiaeth o rad ras, ac o osod dynion dan Ras fel llywodraeth, yn lle y Ddeddf, i'w cael yn eu lliw gwaethaf, yn ngeiriau Celsus gan Origen; lle mae hefyd, Origen yn dychwelyd

iddo fel yn atebiad, gymhariaeth rhwng buchedd dysgyblion cyfundrefn Rhad ras, ag eiddo y goreu o'r crefyddau ereill. Ac edliwir pechodau yr amherawdwr Cristionogol, Cwstenyn, gan Xosimus, yn erbyn holl Gristionogaeth. Gwna Julian, wrth son am yr un amherawdwr, yr un peth. Mor bwysig i lwyddiant athrawiaeth Rhad ras, yw bucheddau ei choleddwyr!

16 Oni wyddoch chwi, *mai i bwy bynag yr ydych yn eich rhoddi eich hunain yn weision i ufyddhau iddo, eich bod yn weision i'r hwn yr ydych yn ufyddhau iddo; pa un bynag ai i bechod †i farwolaeth, ynte i ufydd-dod ‡i gyflawnder?

* "Yn weision rhwym i ufydd-dod,"---Stuart. "Yn weision drwy ufydd-dod,"---J. Williams, A. Campbell. "Eich rhoddi eich hunain yn wirfoddol,"---Barnes. † Gadewir allan "i farwolaeth" o ddau gopi Groeg tra hen, yr hen Syriaeg, Arabaeg, Sahidaeg, Armenaeg, ynghyd â rhai hen gyfieithadau Lladin. Gwrthodir gan Koppe a Griesbach, eithr cedwir i mewn yn y testamentau Groeg ereill, megys eiddo Scholz, Lachman, &c. Felly Tholuck. "Wrth farwolaeth yma y meddylir yr holl drueni deilliedig oddiwrth bechod yn awr a byth,"---Bloomfield. "Nage, ond marwolaeth gorfforol yn unig,"---Reiche. "Nage etto, ond condemniad yw,"---Stuart. ‡ "Wrth *gyfiawnder* y meddylir *cyfiawnhad*,"--Bloomfield, Voorst, Vatablus, Chrysostom, Barnes, Stuart. "Nage, santeiddiad,"---Reiche. "Cyfiawnder i fywyd tragwyddol," yw darlleniad y beibl Armenaeg.

Pe cadwai y darllenydd mewn cof helaethder awdurdod y meistr ar ei gaethwas yn nyddiau Paul, byddai yn eglur iddo rym anarferol y cyffelybiaethau hyn.

*I farwolaeth.* Goddefa y gair *eis*. sydd yma am *i*, ei droi yn "hyd gyrhaeddiad marwolaeth," fel ei troir gan Stuart ac ereill. Ac yn wir, mae pechod yn arwain ei ddeiliaid hyd yno; ond "pa un bynag ai gweision fyddoch i'r hen arglwydd, Pechod, yr hyn sydd wasanaeth *i* yr Arglwyddes arall sy'n ei ddilyn ef, sef Marwolaeth; ynte, ai gweision fyddoch, o'r ochr arall, i Ufydd-dod, yr hyn sydd mewn ffaith, yn wasanaeth i Gyfiawnder:" yw, meddaf, yr ystyr sy'n cytuno oreu â'r cyd-destynau ac â'r geiryddiad hefyd.

*I Gyfiawnder.* Er mai gyda phriodoldeb y sonia Paul am gaethweision *(douloi)* gan Bechod, mae yn fwy hynod ei ddarllen yn son am gaethweision gan Gyfiawnder. Lled awgryma efe yn adnod 19. nad yw y gymhariaeth i'w gwasgu i'w heithafion. Eithr, ar yr ystyriaeth o'i fod yn cyfeirio at yr awdurdod bywyd ac angen a fu gynt arnom gan Bechod, ac at y ffaith o fod yr awdurdod hwnw yn awr gan Gyfiawnder, nid yw yr ymadrodd, ond hollol gymmwys. I'r esbonwyr a fynent mai at awdurdod ar fuchedd yn unig y cyfeirir, y bu yr ymadrodd "*Slaves* Cyfiawnder" yn ddyryswch. Etto, dylid bucheddu yn ol rheolau Crist; eithr fel casgliad naturiol, ac nid fel sail ymresymiad, yr annogir hyny arnom gan yr apostol.

17 *Ond i Dduw y bo y diolch, eich bod chwi gynt yn weision i bechod; eithr ufyddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi.

* "Ymdrecha yr apostol i osod yn amlwg yr ewyllys rydd â'r hon y daeth y pechadur at yr Iesu i dderbyn maddeuant,"---Tholuck. "Fod y pechadur yn ewyllysgar, sydd ddiammheuol; ond ddarfod ei wneuthur ef yn 'ewyllysgar yn nydd nerth Duw,' sydd yr un mor eglur,"---Stuart. "Er eich bod chwi gynt yn weision i bechod, er hyny ufyddhau, &c. [Conquest, Boothroyd]—o athrawiaeth, i'r hwn y'ch traddodwyd chwi,"---J. Williams, A. Campbell, Walford. "I Dduw y bo'r diolch, eich bod chwi, a chwi yn weision, &c.---wedi ufyddhau, &c.,"---Hodge, Grotius. "O galon bur," yw darlleniad rhai hen feiblau. "Beidio o honoch â bod yn weision i bechod," Menochius. "Bod o honoch gynt, yn wir, yn weision i bechod, eithr, &c.,"---Beza, Piscator.

Dywed yr apostol fod Cristionogion yn gyfryw *o'r galon*, ac o ganlyniad, wedi cyfaddef eu pechodau o'r galon, ac wedi erfyn maddeuant o'r galon, a phenderfynu dal at eu proffes, o galon; a'u bod, wrth bob rheswm, felly, wedi ymroddi i fod yn weision i santeiddrwydd. Ac os o galon, heb un gorfodaeth, y cofleidiasant y grefydd newydd, pa faint mwy fyddai eu cywilydd os gadawent hi eilwaith!

FFURF *(tupon)*; *form, type, image, model, rule*; sef, arlun, delw, patrwn, rheol; canys y mae i'r gair yr holl ystyriaethau hyn. Yma patrwn o athrawiaeth *(tupon didachês)*, yw.

*Draddodwyd i chwi.* Neu yn hytrach, i'r hwn *(ffurf)* eich traddodwyd." Yr hyn a wnaethai gweinidogaeth yr efengyl â'r gwrandawyr hyn, oedd eu bwrw i *fold* newydd. Y *fold* hon oedd athrawiaeth rhad ras yn ei holl gyssylltiadau. Arosodd y ddelw yn barhaus ar ffurf y *fold.* Dywed ein testun ei bod felly ar y pryd hyn. Hyny yw, yr oedd y ffurf i'w chanfod oddiallan iddi yn aros, sef, ymarweddiad santaidd, yr hyn oedd naturiol ymddangosiad athrawiaeth rhad ras, yn ei dyn oddiallan. A gelwir yr un peth yn *ddyn newydd*, yr hwn a wisgent oddiallan; ond yma yn ufydd-dod. Gan hyny, os na bydd y ffurf oddiallan i'r dyn, nid yw efe yn ymgymmeryd yn deg ac ystwyth ag athrawiaeth maddeuant rhad, canys mae egwyddor yn cyfodi oddiar y gras hwnw, sy'n annogiad digon cryf i gadw y dyn oddiallan yn y ffurf yn barhaus. Tebygol fod yma gyfeiriad at y ffaith, na all gau-athrawiaeth ddwyn dyn i ffurf buchedd santaidd. Gwyddis i'r ddeddf fethu yn hollol, tra bu. Nid oedd hithau ond cael ei chamarfer, pan ei cymmerid yn ffurf o grefydd gogyfer â phechodau. ac a bywyd tragwyddol.

Ystyr yr adnod yw hyn :—"Ond i Dduw y bo'r diolch, mai gynt yr oeddych gaeth-weision i bechod, eithr ufyddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth, i'r hon y'ch traddodwyd." Ymgymmerasant â'r ffurf yn llawen, awyddus, a gonest *o galon.*

18 *Ac wedi eich rhyddhau oddiwrth bechod, fe a'ch gwnaethpwyd yn weision i gyfiawnder.

* "Oddiwrth bechod fel arglwydd,"---Barnes, Hodge. Pen. 8, 2; Gal. 2, 19; a 5, 18; Eph. 2, 15; Col. 2, 14.

*Oddiwrth bechod;* yn hytrach, *y* pechod dan sylw, sef yn y cymmeriad dan sylw.

*I gyfiawnder.* Gwel ar ddiwedd adn. 16.

19 *Yn ol dull dynol yr ydwyf yn dywedyd, oblegid gwendid

eich cnawd chwi. †Canys megys ag y rhoddasoch eich aelodau yn weision i aflendid ac anwiredd, i anwiredd; felly yr awrhon rhoddwch eich aelodau yn weision i gyfiawnder, i santeiddrwydd.

* "Yr wyf yn llefaru fel y mae dynion yn llefaru yn gyffredin,"---Stuart, Tholuck, Hodge, Barnes, Walford, Wakefield, Newcome, Belsham, Calovius, Stolberg, Fessel, Schoettgen, Carpzov, Hardy, Macknight, Ammon, Rosenmuller. "Oherwydd fod eich chwantau cnawdol chwi wedi eich cadw mor wan eich deall,"---Stuart, Barnes. "Yn ol yr hyn a all dyn gyrhaeddyd."---Origen, Chrysostom, Theodoret, Bucer, Wetstein, yr hwn sy'n alleirio: "Nid wyf yn gofyn genych ddim uwchlaw eich gallu." "Oherwydd eich tueddiadau annuwiol, yr ydych mewn anghen am annogaethau cryfion; ac yr wyf finnau yn gorfod paentio y pwnc i chwi mewn lliwiau cryfion," medd Erasmus, Beza, S. Schmidt. "Yr ydych yn rhwym o roddi i Grist lawer helaethach gwasanaeth nag a roddasoch i aflendid: oherwydd gwendid eich cnawd chwi, modd bynag, nid wyf ond gofyn am iddo fod yn gymmaint yn unig,"—Ecumenius. "Yr wyf yn arferyd y dull cyffredin hwn o lefaru am fyned yn weision (*slaves*) i gyfiawnder, er ei fod o'r braidd yn afrywiog, ac yn anghymhwys am gyflwr rhydd Cristionogion, fel y galloch chwi, rai gwan ac arferol â chyfeirio pob peth at y synwyrau corfforol, ddeall eich dyledswydd i gyfiawnder,"---Theophylact, Origen, Casaubon, Semler, Koppe. "Llefara yr apostol fel hyn, oddiar diriondeb at eu hanghrediniaeth hwynt, yr hwn a ymwrthodai i raddau â'r grefydd, fel *iau;* er ei bod mewn gwirionedd, yn hollol ryddid,"---Crellius. † "Fel y mae 'anwiredd i anwiredd' yn dynodi ymroad trwyadl i bechod, felly y mae 'cyfiawnder i santeiddrwydd' yn dynodi bod yn drwyadl santaidd,"---Davidson. "Aflendid godinebus a thrythyll,"---Theophylact, ac amryw ereill. "Yr un ystyr sydd i'r *aflendid* ag i'r *anwiredd*," medd amryw. "Anwiredd i anwiredd sydd air am ddrwg yn gyffredinol,"---Bloomfield. "Yn weision i'r naill bechod ar y llall,"---Beza, Erasmus, Casaubon, Grotius, Ecumenius, Glassius. "Wrth aflendid y dynodir pechodau oddiar chwantau cnawdol, ac wrth anwiredd weithredoedd o greulonder a thrais,"---Calvin. "Yr anwiredd cyntaf yw dymuniadau cryfion digyfraith, a'r ail yw parhaus arddangosiadau o'r cyfryw deimladau gorchwantus fel y blagurant allan, ac o'r rhai y gwna dyn ei aelodau yn arfau,"—Beza, Baumgarten, Mosheim. "Pan bechech unwaith, nid oedd hyny ond annogiad i bechu yn mhellach," medd Luther, Erasmus, Theophylact. "Y naill anwiredd er mwyn hwylusdod i gyflawni y llall,".--Barnes. "Gwasanaethasoch anwiredd nes myned yn anwireddus, felly gwasanaethwch gyfiawnder nes deloch yn santaidd,"---Hodge. "*Anwiredd i anwiredd* yw anwireddus iawn; felly yr ochr arall hyd fyned o bonynt yn santaidd iawn,"---Amryw. "I weithredu anwiredd,"—"I weithredu santeiddrwydd," medd A. Campbell, J. Williams. "Anwiredd er mwyn anwiredd. Er mwyn santeiddrwydd,"---Stuart. "I santeiddrwydd fel gweision cyfiawnder," Conquest.

YN OL DULL DYNOL *(anthrôpinon). I speak in the manner of men.* "Yr wyf yn llafaru fel hyn, yn ol dull dynion y byd, am ein crefydd. Yr wyf, meddaf, yn personoli egwyddorion, fel hyn, yn ol arferiad dysgawdwyr ereill, oherwydd eich ieuenctyd crefyddol chwi; canys nid ydych wedi ymgryfhau nemawr etto yn yr athrawiaeth. Mae eich oedran yn wir, yn fach, hyd yma." Arferir dywedyd fod cnawd ieuenctyd, a'u haelodau, yn weiniaid. Felly, ieuanc a gwan oedd eglwys Rhufain. Mai hyn, ac nid yr hyn a ddywedir yn gyffredin, yw yr ystyr, sydd eglur oddiwrth yr holl gyfeiriadau at *aelodau*, drwy yr ymresymiad; heblaw y prawf a geir yn adn. 17, o'u bod yn ufydd i reolau crefydd, ac nid yn bucheddu yn gnawdol, fel yr arferid haeru.

*Rhoddasoch.* Gwel ar adn. 13.

Anwiredd *(eis anomia)*. "Megys y rhoddasoch eich aelodau yn gyfleus, yn awyddus *(paristemi)*, i fod yn gaethweision *(douloi, slaves)* i'r arglwydd afresymol a chreulon hwnw, Anwiredd, *(Dative Case only,)* er mwyn cael cyflawni anwiredd gweithredol *(eis)*; felly yn awr,—mwyach, rhoddwch yn gyfleus ac awyddus yr un aelodau i fod yn gaethweision *(douloi)* i'r arglwydd rhesymol a thirion, Cyfiawnder, *(Dative Cese only)* er mwyn cael cyflawni santeiddrwydd yn weithredol hefyd." "Dylech fod yn weision cyfiawnder, os mynwch ymddwyn yn gysson; canys pan oeddych yn gwasanaethu pechod, yr oeddych yn ffyddlon iddo ef, felly hefyd y rhaid i chwi fod wrth wasanaethu cyfiawnder.

20 Canys pan oeddych yn weision pechod, *rhyddion oeddych oddiwrth gyfiawnder.

* "Ystyriech eich hunain yn rhyddion,"—Stuart. "Rhydd oddiwrth wasanaeth cyfiawnder,"---Stolz, Winer, Ruckert. "Amddifaid oeddych o gyfiawnder,"---Bretschneider. "Pan oeddych weision i'r naill feistr, yr oeddyyh ryddion oddiwrth y llall," Walford. "Nid oeddych dan ddylanwad cyfiawnder,"---Barnes, Origen, Theophylact, Ecumenius, Beza, Limborch, Schoettgen "Rhyddion mewn perthynas i gyfiawnder,"---Belsham, "Tra buoch yn ngwasanaeth pechod, yr oeddych yn mwynhau, mae'n wir, y fantais o sefyll yn hollol ryddion oddiwrth bob ymostyngiad i gyfiawnder; ond gadewch i ni sylwi hefyd ar y diwedd o hyny,"---Tholuck, Bloomfield, Macknight. "Mae yr ymadrodd yn wawdiaith,"---Koppe. "Pan oeddych yn byw mewn drygioni, yr oeddych, nid yn unig yn groes i bob ymostyngiad i bob rhinwedd, eithr hefyd yn mynu bod felly mewn ffaith. Yn awr, gan hyny, byddwch mor ddarostyngedig rinwedd, ac mor hollol groes mwyach i bechod ag y buoch gynt i rinwedd," Theophylact, Ecumenius, Bloomfield, Crellius, Grotius.

Oddiwrth gyfiawnder *(tê dicaiosunê)*; sef mewn perthynas i gyfiawnder. Ystyrir cyfiawnder yma yn ei berthynas â chyfiawnhad. Ni all neb wasanaethu dau arglwydd, ac ni all dau argiwydd dwyreiniol ddal yr un gwas yn gaeth, na meddu awdurdod ar ei fywyd, i'w ryddhau odditan gondemniad, mwy nac i'w gondemnio am drosedd. Arglwydd priodol pob caethwas ydoedd yr hwn a gaffai ei wasanaeth ef. Pechod oedd yn cael gwasanaeth y Rhufeiniaid. Efe oedd, o reswm, eu harglwydd meddiannol. Bu Pechod farw ar y groes dan gondemniad cyfraith. Yr oedd ei gaethwas yn meddu hawl i adael ei wasanaeth, gan hyny, pan y mynai. Gadawodd eglwys Rhufain ef am byth. Eithr nid oedd gan Gyfiawnder, eu harglwydd newydd, hawl arnynt pan oeddynt yn dewis aros yn ngwasanaeth eu hen arglwydd. Yr oeddynt yn rhyddion oddiwrtho ef. Etto, nid oeddynt ryddion, fel na feddai *Cyfiawnder Duw, fel Creawdwr a barnwr*, hawl i'w cospi am eu holl wasanaeth i Bechod; eithr yr oeddynt yn hollol ryddion *oddiwrth gyfiawnder cyfiawnhaol* Crist, fel na feddai hwnw un hawl i'w gollwng yn rhyddion odditan gondemniad Pechod. Yr oedd raid iddo ef wneyd gwaith mawr Calfaria *cyn y gellid* eu rhyddhau, ac yr oedd raid iddynt hwythau wirfoddol adael yr hen wasanaeth, *cyn y gwneid*, eu gollwng yn rhyddion odditan gondemniad naturiol a haeddiannol eu pechodau.

21 *Pa ffrwyth gan hyny oedd i chwi y pryd hwnw o'r pethau y mae arnoch yr awrhon gywilydd o'u plegid? †canys diwedd y pethau hyny yw marwolaeth.

* Rhuf. 7, 5. "Pa fantais sylweddol?"---Bloomfield. "Pa wobr?"—Stuart. "Y cyfryw ffrwyth ag y mae cywilydd arnoch yn awr o hono,"---Clemens Alexand., Luther, Heumann, Hoppe, Flatt, Tholuck. † "Canlyniad,"---J. Williams, Hodge. "Gwobr y pethau hyny yw marwolaeth,"—A. Campbell. Rhuf. 1, 32. "Y penyd yw marwolaeth,"---Carpzov, Krebs.

Pan elo dyn yn grefyddol y dechreua efe wir gywilyddio o'i bechodau; mae efe, fel y dywed Calvin, yn annheimladol o'r gwarth, i ba un y syrthia, tra yn eu cyflawni.

22 Ac yr awrhon, *wedi eich rhyddhau oddiwrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, †y mae i chwi eich ffrwyth yn santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragwyddol.

* Ioan 8, 32. † "Mewn perthynas i santeiddrwydd,"---Stuart, Bretschneider. "Y canlyniad yw eich bod yn santaidd,"---Flatt.

Nid yw yr apostol yn dywedyd mai santeiddrwydd yw eu ffrwyth, er y gallasai efe; eithr nid hyny yw ei amcan. *I santeiddrwydd*, a ddywedodd efe. Yr oedd ganddynt ffrwyth i santeiddrwydd, sef yn berthynol i, ac mewn canlyniad i santeiddrwydd.

*Bywyd tragwyddol* sydd air am y stad o ddedwyddwch a fwynheir drwy Grist; cywir adnabyddiaeth o'r hwn yw ei sylwedd. (Ioan 17, 3). Nid wyf yn cofio fod neb ond duwiolion a Christionogion cywir, mewn addewid i'w fwynhau.

23 *Canys cyflog pechod yw marwolaeth: eithr dawn Duw yw bywyd tragwyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

* "Arferir yma y gair gwreiddiol am *gyflog*, mewn cyferbyniad i air sy'n dynodi *gwobr* milwraidd,"---Grotius, Wetstein. "Fydd marwolaeth—fydd bywyd, &c.," Newcome. "Rhadionus ddawn Duw,"---J. Williams, A. Campbell.

Cyflog *(opsonion)*, pa beth bynag a brynid i gael ei fwyta gyda bara. Telid i filwyr huriedig ar y cyntaf, mewn rhan drwy ymborth, yd, ffrwythau, &c. Oddiwrth yr arferiad hwn, daeth y gair yn y Testament Newydd am *gyflog*, neu dal yn ol cytundeb; megys yn Luc 3, 14; 1 Cor. 9, 7. Arferir yma, ynghyd ag yn 2 Cor. 11, 8, mewn ystyr ffigwrol am gyflog moesol neu ysbrydol. Y cyflog a geir drwy neu gan yr hen arglwydd, yw marwolaeth!

Dawn; rhad rodd Duw; ac nid cyflog yn ol ammodau huriad, fel y llall.

## Cyfieithiad Newydd.—Pen. VII.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

Gwrthddadl. (1) Pa beth, gan hyny, a ddywedwn? A raid i ni drigo yn barhaus gyda'r Pechod, fel yr amlhao y Gras?

Atteb. (2) Dim mewn un modd; a ninnau wedi meirw gyd â'r Pechod, pa fodd y byddwn fyw etto drwyddo ef? (3) Oni wyddoch am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu, mai i'w farwolaeth ef ein bedyddiwyd? (4) Cyd-gladdwyd ni, gan hyny, ag ef, drwy y bedydd i'r farwolaeth hono; fel, megys y cyfodwyd Crist o fysg y

meirw, drwy ogoniant y Tad, y caffoch chwithau, yr un modd, rodio oddiamgylch mewn newydd-deb bywyd. (5) Canys os gwnaethpwyd ni yn gyd-dyfedigion â chyffelybiaeth ei farwolaeth ef, nyni a fyddwn hefyd â'i adgyfodiad ef: (6) gan wybod hyn, mai ein hen ddyn ni a gydgroeshoeliwyd, fel y dirymid corff y PECHOD, i beidio o honom â gwasanaethu y PECHOD rhagllaw. (7) Canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrth y PECHOD. (8) Hefyd, os meirw gyda Christ a wnaethom, yr ydym yn credu mai byw hefyd gydag ef a wnawn; (9) Gan wybod am Grist, yr hwn a gyfodwyd o fysg y meirw, nad yw efe mwyach yn marw: marwolaeth nid arglwyddiaetha mwyach arno ef: (10) canys yr hyn a fu efe farw, unwaith gyda'r PECHOD y bu efe farw; eithr yr hyn y mae efe yn fyw, gyda Duw y mae efe yn ei fyw. (11) A chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw yn ddiau felly gyda'r Pechod, eithr yn fyw gyda Duw yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. (12) Gan hyny, na theyrnased y PECHOD yn eich marwol gyrff chwi, hyd ufyddhau o honoch iddo yn ei chwantau ef: (13) ac na chyflwynwch eich hunain yn arfau anghyfiawnder i'r PECHOD, eithr cyflwynwch eich hunain i DDUW, megys rhai byw o fysg y meirw, a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw; (14) canys nid arglwyddiaetha PECHOD arnoch chwi, oherwydd nid ydych dan ddeddf, eithr dan ras.

GWRTH. (15) Pa beth am hyny? a bechwn ni oblegid nad ydym dan ddeddf, ond dan ras? ATT. Dim mewn un modd. (16) Oni wyddoch chwi wrth gyflwyno eich hunain i ufydd-dod, mai gweision ydych i'r hwn yr ydych yn ei ufyddhau: pa un bynag ai Pechod i Farwolaeth, ynte Ufydd-dod i Gyfiawnder? (17) Ond diolch i Dduw, mai gynt yr oeddych weision i bechod, a'ch bod wedi ufyddhau o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth, i'r hwn y'ch traddodwyd.

(18) Felly, gan fod wedi eich rhyddhau oddiwrth y PECHOD, chwi a ddaethoch yn weision i'r CYFIAWNDER. (19) (Llefaru yn ol arferiad dynion yr wyf, oherwydd gwendid eich cnawd chwi.) Canys megys ag y cyflwynasoch eich aelodau yn weision i aflendid, ac i'r ANWIREDD gydag amcan am anwiredd; felly yn awr cyflwynwch eich aelodau yn weision i'r CYFIAWNDER gydag amcan am santeiddrwydd. (20) Canys pan oeddych weision i'r PECHOD, rhyddion oeddych oddiwrth y CYFIAWNDER. (21) Yn awr, pa ffrwyth a gawsoch chwi y pryd hwnw ar y pethau yr ydych yn bresenol yn cywilyddio o'u plegid? Canys diwedd y pethau hyny yw marwolaeth. (22) Eithr yn bresennol, ar ol eich gwneuthur yn rhyddion oddiwrth y PECHOD, ond yn weision i DDUW; mae genych y ffrwyth i santeiddrwydd, ond y diwedd yn fywyd tragwyddol.

(23) Canys marwolaeth yw cyflog y PECHOD, eithr bywyd tragwyddol yw dawn Duw, drwy Iesu Grist ein Harglwydd.

---

## PENNOD VII.

### § 4. NAD YW HYD YN NOD Y DOSPARTH IUDDEWIG O EGLWYS RHUFAIN, DAN DDEDDF MOSES MWY. ADN. 1—6.

MAE pob deddf yn cadw awdurdod ar ei deiliaid tra byddont byw (adn. 1), yn gyffelyb, er enghraifft, i ddeddf priodas yn y dwyreinfyd, lle mae y wraig yn cael ei rhwymo i fod yn hollol dan awdurdod y gwr, er nad yn mhellach na hyd angau (2). Mae hi yn rhydd i briodi y neb a fyno, pe bai yntau ei hun wedi marw, er y byddai yn godinebu drwy ymollwng yn eiddo i rywun arall cyn hyny (3). *Yr un modd* yn hollol y mae gyda'r Iuddewon dan sylw. Megys y cyfeiria y gydmhariaeth am farwolaeth y gwr (adn. 3) yn gystal â'r wraig (adn. 1), ni allasai fod *yr un modd* gyda hwythau, yn eu perthynas â Moeseniaeth, oddieithr eu bod hi a hwythau yn feirw *fel* eu gilydd. Yr amgylchiad lle cafwyd yr Iuddew a'i gyfammod yn cydfeirw oedd amgylchiad marwolaeth corff Crist. Daeth yr Iuddew yn farw yno *gyda'r* ddeddf. [Gwel yr *Esboniad.*] Yr oedd efe wedi bod yn byw yn y cnawd, neu oruchwyliaeth gnawdol, yn mhell ar ol

ei diddymiad. Nid yw ymestyn am ddaear Canaan, casâu gelyn, a gweddio am ddial yn ol, neu *drwy* gynghorion y ddeddf, ond pechodau anfad *yn awr*. Dileir pethau fel hyn gan foesoldeb efengyl. "Na thrysorwch drysorau daear, fel eich hannogir gan y ddeddf: cerwch eich gelynion, a gweddiwch dros eich niweidwyr, yn groes i arferiadau dysgyblion y ddeddf," yw y ddeddf foesol *yn awr*. Mae ffrwythau y ddeddf yn ffrwythau annhymoraidd *yn awr*. Dwyn ffrwyth i farwolaeth yw dwyn y rhai hyn *mwyach* (5). Eithr gwaredwyd hwynt odditan yr hen ddeddf hòno, fel nas gall eu hattal mwy, i wasanaethu mewn newydd-deb ysbryd; sef moesoldeb newydd (6), yr hwn a gyfododd o feirw; ie, bu efe farw mor effeithiol dan eu condemniad, fel y gellir eu hystyried hwy eu hunain wedi marw *felly*, a chyfododd eilwaith mor effeithiol odditan y condemniad hwnw, fel y gellir eu hystyried hwy eu hunain yn cyfodi *felly* odditan y cyfryw gondemniad (4). Ac yn awr, ei amcan mawr ef yn y cwbl, o ladd y ddeddf Foesenaidd a'u hattaliai i'w briodi ef, a'r pechod dan sylw yn y bennod o'r blaen, yr hwn a'u daliai dan gaethiwed mewn ystyr arall---ei amcan oedd, eu cael hwynt yn eiddo priodasol iddo ei hun, fel y dygent ffrwyth i Dduw, mewn canlyniad (adn. 4).

GWAHANOL ESBONIADAU AR Y DOSPARTH HWN.

Mai deddf Moses i gyd oll, a feddylier yma wrth y gair yn adn. 4, a arddelwyd hefyd gan Chrysostom, Grotius, Beza, Willet, Tolet., Wetstein, Rosenmuller, Hardy, a Locke.

Eithr Estius, Crellius, Schoetgen, Koppe, Middleton, a Macknight, a dybiant mai deddf yn gyffredinol a feddylir. Eithr croesir y deongliad hwn gan yr amcan dwyfol yn niwedd adn. 4edd. "Fel y dygech ffrwyth i Dduw," ebe efe; yr hyn a brawf nad oedd y ddeddf dan sylw yn perffaith ffrwytho iddo, hyd yn nod can belled ag yr elai hi; megys ei hegwyddorion cybyddol a dialgarol, er enghraifft, pa rai ydynt y pechodau croesaf i ysbryd efengyl ag a ellid gyflawni *yn awr*. Felly, gan hyny, *gall* mai at ddeddf Moses yn unig y cyfeirid. Eithr ymddengys y peth *yn sicr*, pan ystyriom nad oes dim o ffrwyth priodol deddf natur heb fod yn ffrwyth i Dduw, can belled ag yr â.

Ymddengys yn debygol, medd Dr. Wells, fod yr Iuddewon yn arferyd dadlu eu priodas gyfammodol â'r ddeddf, yn erbyn ymbriodi â Christ a'i efengyl, ac mai ateb y cyfryw y mae Paul yn ein testun.

Dywed Dr. Stuart fod cynnifer o dybiau gwahanol yn nghylch ystyr y pedair adnod blaenaf o'r bennod hon, a chymmaint anhawsderau yn cyfarfod â'r esboniwr, er cymmeryd o hono y ffordd a fynno, nes y maent yn ddigon i demtio dyn i adael ei destun mewn anobaith, gan mor anhawdd yw gwneyd dim o hono a foddlonai feddwl goleu ac ymchwilgar. Eithr ymddengys ei anhawsdra penaf ef yn ymgyfodi oddiwrth fod yr apostol, yn ol y dyb gyffredin, yn son am Gristionogion yn marw *i'r* ddeddf, yn lle dweyd yn gysson â'i gymhariaeth flaenorol, mai y dyn—yr arglwydd, oedd wedi marw i beri dilead ar ddeddf priodas. Caiff y Doctor y gyffelybiaeth yn gosod yr *arglwydd* yn marw, a'r cymhwysiad o honi yn adn. 4, yn gosod y *deiliaid* i farw. Buasai hyn yn anfad ddyryswch. Eithr pe cyfieithiasai efe y "marw i bechod" yn farw *gyda* phechod, a'r "marw i'r ddeddf," yn farw gyda'r ddeddf, gwelsai fod yr arglwydd yn marw yn y cymhwysiad yn gystal â'r gyffelybiaeth. Fod y *ddeddf* yn cael ei hystyried yma yn farw, a welir yn adn. 6.

Gwir yw, fod amcan yr apostol yn cynnwys annogiad i santeiddhad,

yn gystal â chyfiawnhad; eithr nid ei unig amcan yw y blaenaf, yn pen. vi, vii, viii, yn ol Dr. Stuart. Pa un ai cyfiawnhad ynte santeiddhad a gyfodir amlaf gan yr apostolion oddiwrth farwolaeth Crist? Os y blaenaf, y blaenaf sydd yma, canys dywedir mai drwy gorff (drylliedig) Crist yr ydym yn marw i'r ddeddf. Pa synwyr wneir o ymresymiad a ddywedai ein bod wedi darfod a bucheddu fel ar fel drwy gorff Crist? Esboniad y Doctor ar "farw i (gyda) y ddeddf drwy gorff Crist," yw "ymwthodiad â phechodau drwy y bedydd." Mae aml ffordd o ddwyn allan y pethau mewn golwg gan Paul, wrth "y wraig," a'r "gwr," a'r "ddeddf," &c. Awstin a ddywed mai tri phersonoliad sydd genym yma: Y wraig yw yr enaid, nwydau pechadurus yw y gwr, a phechodau yw y plant. Origen, Chrysostom, Calvin, ac ereill, a ddywedant, mai dynion yw y wraig, y ddeddf yw y gwr cyntaf, a Christ yr ail wr; ac â hwn y cytuna Stuart. Ac os wrth "y ddeddf" yr ystyrient holl ddeddfau Moses, ymddengys yr esboniad yn gywir. Nid wyf yn gwybod am un esboniad arall o bwys sylwi arno, ar y geirian.

ONI wyddoch chwi, frodyr (canys wrth y rhai sydd yn gwybod y ddeddf yr wyf yn dywedyd), *fod y ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn, tra fyddo ef byw?

* "Tra fyddo y ddeddf hon mewn grym arno,"—Esgob Hall, Doddridge, Boothroyd. "Y ddeddf, fel cyfammod,"---Dr. Stafford. "Nad yw y ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn, ond tra bo hi byw (neu mewn grym) yn unig,"---Conquest, Belsham, Origen, Erasmus, Grotius, Hall, Doddridge, Hardy, Koppe, Flatt, Slade; tra y mae Bloomfield, Ammon, Stuart, ac ereill, yn cymmeryd mai "tra byddo y dyn fyw," yw y cyfeiriad; a Paræus, a Crellius, yn ystyried adael o'r apostol yr ymadrodd fel hyn yn amhenderfynol, oddiar gydymdeimlad â'r Iuddewon. "Deddf Moses a olygir,"---Stuart. "Cyfeirir at ddeddfau yn gyffredinol,"---Hodge.

*Y ddeddf;* neu *deddf*, yn hytrach. "Wrth rai sy'n gwybod yn nghylch deddf yr wyf yn llafaru." Adnabod deddf, boed y ddeddf a fyddo. Nid oes un fannod o flaen y gair.

*Yn arglwyddiaethu.* Gwel ar pen. 6, 14.

*Ar ddyn.* Arferir y gair hwn am fenyw yn gystal ag am wrryw. Yma *y* dyn; sef y dyn fo yn byw dani.

*Efe byw.* Diehon fod yma gyfeiriad o ran ystlen neu rywogaeth geiriau, at y *ddeddf* yn ogymmaint ag at y *dyn*: eithr cawn yn adn. 4 fod y *ddau* mewn golwg fel wedi meirw, er hyny tebygid oddiwrth adn. 2, mai "tra fyddo y *dyn* fyw," oedd y meddwl. A chan mai at ddeddf Moses yn ei pherthynas â'r Iuddewon hyny, y cyfeirir, a chan y sonia adn. 5 am eu marwolaeth hwy, yn gystal ag adn. 4 o'i blaen, haws yw meddwl mai fel y mae yn y cyfieithiad awdurdodedig, yw y cyfieithiad cywir. Fel arall, ni fyddai yr apostol ond dywedyd fod y ddeddf yn fyw cyhyd ag y bo byw.

2 Canys *y wraig y mae iddi ŵr, sydd yn rhwym wrth y ddeddf i'r gŵr, tra fyddo efe byw: ond o bydd marw y gŵr, hi a ryddhawyd oddiwrth ddeddf y gŵr.

3 Ac felly, os a'r gwr yn fyw, †y bydd hi yn eiddo gŵr arall, hi a elwir yn odinebus: eithr os marw fydd ei gŵr hi, y mae hi yn rhydd oddiwrth y ddeddf; fel nad yw hi odinebus, er bod yn eiddo gŵr arall.

* 1 Cor. 7, 39. † "Y ddeddf sy'n penderfynu ei pherthynas â'i gwr,"---Winer's Gram. ‡ "Yr ymollyngа hi i ddyn arall,"—Wetstein, Grotius, Koppe, Bloomfield. "Y prioda hi ddyn arall,"---Estius, Menochius, Piscator, Schleusner. "Y dwg hi enw dyn arall,"---Stuart.

*Rhwym, &c.* Dan Moses, gallai y gwr ysgaru ei wraig pan y mynai; ond yn mha le mae y rheol sydd yn rhoddi yr un rhyddid i'r wraig? Buasai hyn yn groes i ysbryd arferiadau dwyreiniol. Goddefodd Duw yr ysgaru hyny i mewn yn "neddf y gwr," oherwydd caledrwydd calonau y gwyr. Lladdasent eu gwragedd, ond odid, yn aml, pe na pharotoisid yr ysgariad hwn i achub bywyd y llestr gwanaf. Wele osodiad arall o eiddo y ddeddf, drwy ufyddhau i'r hwn y pechai, hyd yn nod yr Iuddew, ar ol ei ryddhad odditan yr hen ddeddf hono, drwy Grist.

4 Ac felly chwithau, fy mrodyr, †ydych wedi meirw i'r ddeddf trwy gorff Crist; fel y byddech eiddo un arall, sef eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw, fel y dygem ffrwyth i Dduw.

* "Wedi meirw i'r ddeddf fel moddion santeiddiad,"-- Stuart. "Cyfeirir at farwolaeth ffigwrol yr Iuddewon gyda Christ,"—Turner. "Yr ystyr yw, 'daeth y ddeddf yn farw i chwi,'"---Chrysostom, Hammond, Grotius, Taylor, Rosenmuller. "Yn rhyddion oddiwrth y ddeddf fel moddion cyfiawnhad, sef pob deddf fel eu gilydd," Hodge; "ac fel moddion santeiddiad,"---Barnes.

Yr ymresymiad yw, fod arglwyddiaeth y ddeddf yn darfod ar ddyn, pan fo efe farw. Yr oeddynt hwy wedi marw mewn ystyr, drwy farwolaeth "corff Crist," ac felly wedi cyrhaedd diwedd awdurdod y ddeddf arnynt, yr hyn â'u gadawsai yn rhyddion i roddi eu hunain dan arglwyddiaeth un arall; yr hyn, eilwaith, nid oedd yn eu gosod yn agored i'r cyhuddiad o anffyddlondeb cyfammodol, oddiwrth yr hen arglwydd, mwy nac y gosodid gwraig yn agored i'r cyhuddiad o odineb, pan yn priodi gwr newydd ar ol i'r gwr cyntaf farw.

*Meirw i'r ddeddf.* Gwel ar 6. 20; a 6. 2. lle deonglir yr un cystrawiad, dan y gair "marw i bechod." Yr ystyr yw marw *gyda'r* ddeddf. Gwel hefyd y Rhagymadrodd.

*Fel y byddech, &c.;* "i fod o honoch." Y gorchwyl mewn golwg oedd eu cael i ffrwytho i Dduw; eithr yr oedd eu cael yn eiddo i'r Hwn a gyfodwyd o feirw i gymmeryd lle yn gyntaf. A chyn hyny eilwaith, yr oedd yn rhaid eu cael i beidio ffrwytho i'r ddeddf, llawer o ba ffrwyth nid oedd namyn pechod dan yr efengyl: a chyn hyny, rhaid oedd eu cael yn rhyddion odditan ei rhwymedigaethau, yn y rhai yr oeddynt yn gyfiawn gaethion; ond cyn hyd y nod hyny, rhaid oedd dirymu y Ddeddf drwy angeu, a'u dwyn hwythau yn rhyddion odditan gondemniad arglwydd arall. Pechod, drwy eu dienyddiad eu hunain: eithr cyn y gellid dwyn y fath orchwyl â hyn o amgylch, heb

eu colli hwynt byth yn y cyfryw ddienyddiad, rhaid oedd i'r Crist, yr hwn a allai, ac a wnelai, fyned drwy y cyfryw ddienyddiad, a chyfodi i'r lan eilwaith, yn eu lle. Hoeliodd efe ysgrifenlaw yr ordeiniadau, yr hon oedd yn eu herbyn hwynt, wrth ei groes, cyn marw o hono. Dan yr hoelion y mae y Ddeddf byth. Croeshoeliwyd ein hen briod ni, Pechod, hefyd, yno. Dan yr hoelion y mae yntau byth. Croeshoeliwyd Crist a ninnau yn un, ar yr un groes; eithr oherwydd iddo ef allu boddloni Duw yn ei farwolaeth hòno, dros yr holl anfoddlonrwydd a achoswyd genym ni, daeth efe yn rhydd a byw eilwaith. Daethom ninnau yn rhyddion ynddo, a chydag ef. Nid oes ond gwrthod bod yn eiddo i'r arglwydd newydd hwn a all ein condemnio mwy.

5 Canys *pan oeddym yn y cnawd, gwyniau pechodau, y rhai oedd trwy y ddeddf, oedd yn gweithio yn ein haelodau ni, i ddwyn ffrwyth i farwolaeth.

* "Y rhai oedd yn ymgynhyrfu yn fwy oherwydd, ac yn ngwyneb y ddeddf,"---Davidson, Barnes, Hodge. "Y rhai a wneid yn wybyddus drwy y ddeddf,"---Carpzov, Chrysostom, ac ereill. "Pan oeddym yn y cnawd, yw 'pan oeddym yn annychweledig,'"---Beza, Estius, Menochius, Toletus, Wolf, Stuart. "Pan oeddym dan y ddeddf, ei gosodiadau, a'i gwaharddiadau,"---Carpzov, Whitby, Wells, Locke, Grotius, Vorst, Hammond, Chrysostom, Theodoret, Theophylact. "Y rhai oedd ynom tra dan oruchwyliaeth y ddeddf,"---Locke.

YN Y CNAWD *(en tê sarki)*. "Yn ein cyflwr naturiol a phechadurus," yw y deongliad cyffredin. Arferir y gair yn aml am fod yn y corff mewn cyferbyniad i fod yn ddigorff tu draw i angeu. Eithr eglur yw, nad dyna ei ystyr yma. Yr oedd o'r braidd holl ddefodau a gosodiadau Iuddewaeth, yn bethau corfforol. Eu henwaediad, eu sél cyfammodol, eu prif ymffrost, oedd yn eu cyrff. Eu perthynas ag Abraham, cyfiawnder yr hwn, meddent hwy, a gyfrifid iddynt, oedd yn gorfforol ac o waed. Felly "yn ol y cnawd," ac "yn y cnawd" oeddynt ymadroddion Paulaidd am y cyflwr o Iuddewaeth. Nid ydym i gymmeryd y gair, ychwaith, am fucheddiad yn ol Moses. "Yn ol y ddeddf," y gelwid hyny. Eithr, yn y cnawd oedd "yn ol Phariseaeth yr oes," yr hyn a gynnwysai fyw mewn myrdd o draddodiadau, heblaw a roisai Moses iddynt; ïe, a hyd yn nod yn groes i'w eiddo ef. Er profi cywirdeb y deongliad hwn, Gwel pen. 8, 8:—"Y rhai ydynt yn nghyflwr Phariseaeth yr oes ni allant ryngu bodd Duw;" "eithr nid ydych chwi yn nghyflwr traddodiadau yr oes, ond yn nghyflwr iachawdwriaeth yr efengyl," medd adn. 9. Gal. 6, 12: "Cynnifer ag a ewyllysiant wneyd ymddangosiad teg o Phariseaeth yr oes, â'ch gorfodant chwi i'ch enwaedu." Ac yn Phil. 3, 4, dywed yr un apostol, ei fod ef a'i frodyr yn perthyn i'r dosparth hwnw o had Abraham, a elwid *enwaedial*, ac nid yn perthyn i'r rhai oedd yn ymddiried yn y cnawd: sef yn dal fod yr enwaediad a Moeseniaeth o Dduw, ond nid y *cnawd;* nid Phariseaeth yr oes. "Etto," medd efe yn adn. 4, y mae genyf fwy o le i ymddiried yn y cnawd, sef yn Phariseaeth manwl yr oes, na neb o'r rhai sydd felly." Yna cynnysgaethir ni ganddo â

rhestr o elfenau penaf y cnawd hwn. 1. Enwaedwyd ar yr wythfed dydd. 2. Yr oedd o genedl Israel, ac nid proselyt. 3. O lwyth Benjamin, ac nid o un o lwythau gwrthgiliad Jeroboam. 4. Yn Hebrewr allan o gyff bur Hebreaidd, ac nid wedi disgyn o groesiad priodasol ag un o'r cenedloedd. 5. Yn Pharisead yn ol y ddeddf, ac nid yn un o'r rhai oedd yn byw yn lled benrydd. 6. Yn erlid eglwys Crist oddiar sel dros ei sect ei hun. 7. Yn dwyn yn mlaen gyfiawnderau neu aberthau, a defodau y ddeddf, yn ddiargyhoedd. Dyma restr led fanol o elfenau yr hyn a elwid yn *gnawd*. Cyfeiria Pedr hefyd (2 Epist. 2, 10) at "y rhai oedd yn rhodio yn ol y cnawd." Yr unrhyw ystyr sydd i'r gair yn 2 Cor. 11, 18; Rhuf. 8, 13; Ioan 8, 15, lle dywed Crist,—"Chwychwi ydych yn barnu yn ol Phariseaeth yr oes." Rhuf. 8, 5: "Am bethau traddodiadol yr oes y maent yn syniaw." Rhuf. 8, 13; Gal. 3, 3; 2 Cor. 10, 2; a 1, 17.

GWYNIAU *(pathemai)*, yn ffigwrol, *passions*, *affections of the mind*, nwydau. Ceir yn ffigwrol hefyd yn Gal. 5, 24.

TRWY Y DDEDDF *(dia tou nomou)*. Arferir y *trwy* hwn yn unig am yr offeryn neu achos cyfryngol, neu am y modd, dull, stad, amgylchiadau, *drwy* yr hyn y mae y peth, megys, yn *myned*, neu yn cymmeryd lle, neu yn cael ei gynnyrchu. Gan hyny, y ddeddf oedd yr achos mewn rhyw ystyr, o'r gwyniau pechadurus hyn. Pa achos allasai hi fod o'r fath bethau? Yn atebiad cofiwn fod Paul ynghyd â'r Rhufeiniaid heb fod erioed nemawr, os dim, dan y ddeddf, heblaw yr hyn a fuant ar ol ei dirymu. Gan hyny yr oedd nwydau cybyddaidd a dialgarol, er yn oddefol gan y ddeddf, yn annyoddefol gan yr efengyl. Felly, drwy y ddeddf yr oedd y cyfryw yn ymwthio i fodolaeth. Pe ychydig amser yn gynt, cyn dyfodiad y goleuni newydd i'r byd, buasent yn ddibechod; ond yn awr, "ffrwyth i farwolaeth" ydynt. Mae hyd yn nod achlysur i bechu yn rhywbeth: oni bai fod yn y ddeddf achlysur o'r fath, ni allasai yr Iuddewon ei gael, ac ni allasai Paul ddywedyd fod y nwydau hyn *drwy* y ddeddf. Pe yn ei chroesi, efe a ddywedasai hyny yn rhwydd; eithr profi anghymmwysder y ddeddf fel rheol buchedd i ni yn awr y mae efe, yr hyn ni allai efe drwy ddweyd fod dynion yn gwneyd camachlysuron o honi. Gwneir *cam* o bob peth, hyd yn nod o'r efengyl ei hun. Na; dangos y mae efe fod yn y ddeddf, mewn ffaith, o'i gwasanaethu ar ol ei dirymiad, achosion ac achlysuron pechodau, ac na ellir wrth ufyddhau iddi, namyn dwyn ffrwyth i farwolaeth. Ond Gwel ragor yn y *Traeth.* DEDDF.

6 Eithr *yn awr y rhyddhawyd ni oddiwrth y ddeddf, wedi ein meirw i'r peth yn hatelid; †fel y gwasanaethem mewn newydd-deb ysbryd, ac nid yn hender y llythyren.

* "Oddiwrth y ddeddf fel moddion santeiddiad,"—Stuart. "Wedi ein meirw i'r ddeddf yr hon a'n hattaliai allan o'r caethiwed,"—Stuart, Hodge, Winer. "Yr ydym ryddion oddiwrth ddeddf, gan yr hon y'n hattelid,"—Walford, "Wedi ein meirw i'r hwn, gan ba un y'n hattelid,"—Belsham. "Wedi ein meirw *gyda Christ*, y rhyddhawyd ni oddiwrth y gyfraith, gan yr hon y'n delid yn rhwym,"—J. Williams, A. Campbell, "Y peth a'n hattaliai oedd deddf Moses,"—Boothroyd, "Wedi

colli pob dysgwyliad am fywyd drwy weithredoedd y ddeddf,"---Davidson. † "Mewn dull ysbrydol a newydd, ac nid yn yr hen ddull llythyrenol,"---Stuart, a'r esbonwyr yn gyffredinol.

RHYDDHAWYD (*katêrgêthemen*), *to do away, to put an end to, to abolish*; dileu, dybenu; ond yma *katargeomai apo tinos*; peidio â rhywun, neu rywbeth, peidio â bod mewn cyssylltiad â, neu dan beth neu berson. "Hi a *ryddhawyd* oddiwrth ddeddf y gwr," adn. 2. "Chwi a *dynasoch ymaith* oddiwrth Grist," Gal. 5, 4. "Yn awr, er pan ddilewyd y ddeddf gan Grist, yr ydym wedi ein rhyddhau oddiwrthi hi."

*Y'r peth y'n hattelid.* "Gan fod hwnw wedi marw, yn mha un ein hattelid," yw y Saesonaeg. Bibl Ffrancaeg Geneva sydd fel yr un Cymreig. "Marw yn hwnw" oedd "marw yn y ddeddf" fel ystad. Buant feirw ar y groes gyda Christ, tra yr oeddynt mewn ffaith, gyda Moeseniaeth. "Marw gyda hwnw, yn yr hwn ein hatelid," oedd marw gydâ'r ddeddf. yr hon â'n hataliai i ddod yn rhyddion, barod i briodi Cristionogaeth.

*Hender y llythyren.* "Mewn newydd-deb o natur ysbrydol, ac nid mewn manyldra llythyrenol, a phob tipyn o'r addoliad mewn ysgrifen o'u blaen." Ysbryd yw Duw, a rhaid ei addoli ef mewn modd ysbrydol; yr hyn a brawf nad oedd addoliadau y ddeddf ond rhai cnawdol neu gorfforol.

---

## § 5. GWRTHUN BENRHYDDID PHILOSOPHYDDION IUDDEWIG YR OES, YR HWN A FLINAI EGLWYS RHUFAIN, YN CAEL EI DDADLU. ADN. 7—25.

GWELIR drwy yr holl esgusion gwrthun hyn dros benrhyddid, fath o philosophi hanner Groegaidd, ynghyd â pharch arwynebol hefyd i ddeddf Moses. Gwelir digonedd o brofion yn Philo, Jalkut Rubeni, ac ereill o'r philosophyddion Iuddewig, o'r pwnc fod dau arglwyddi egwyddorol mewn dyn, sef y da a'r drwg; y naill yn y meddwl, a'r llall yn y cnawd. Tybia Carpzov yn lled gywir, mai oddiwrth ysgol Roegaidd Plato yr ymdreiglodd yr athrawiaeth hon i fysg yr Iuddewon. Ond, yr oedd yr un meddylddrych, yn wir, yn gyfran o'r philosophi Pythagoraidd o'r blaen. Nid oedd Josephus ei hunan yn lân oddiwrth y pla gwrthun hwn.

Nid wyf fi, ar ol manwl olrheiniad i gyfansoddiad y gyfran hon o'r bennod, yn gallu meddwl fod Paul yn llefaru yn ei berson ei hun,-- na chyn, na chwedi ei ddychweliad at Gristionogaeth. Nid yw debyg i brofiad un Cristion, nac un dyn dan argyhoeddiad ychwaith, ag a wn am dano. Ymddengys fod cryn lawer o fai yn cael ei gwblhau ganddo, ond y gronyn lleiaf o hono, nid yw efe yn ei osod yn ei erbyn ei hun (adn. 17). Efe yw y dyn da, a rhywbeth ag a elwir ganddo yn *bechod*, sydd yn gwneyd yr holl ddrwg (17). Ei aelodau nid ufyddhasant erioed i'w ewyllys (23). Da hollol yw hi (22). Drwg, mor hollol eilwaith, ydynt hwythau (21). Myn ei fod yn cydsynio â'r ddeddf (13), ond yn peidio cwblhau yr un o'i gofynion (18). A'r achos na chwblhäai, yw na all efe gael gan ei aelodau wneyd hyny (23). Ie, y mae deddf ddrwg anfad yn llywodraethu yn gaeth bob aelod a fedd, tra mae deddf dda ragorol yn llywodraethu bob cynneddf eneidiol a fedd efe (23). Rhyfela â'u gilydd y mae y ddwy ddeddf anghymmodlawn hyn; ond un ddrwg sydd yn ennill y dydd bob brwydr. Cwyna yntau rhyngddynt; nid rhag pla ei galon; nid rhag un ddrwg duedd; nid rhag un egwyddor fradychus; ond rhag ei *gorff* yn unig (24).

SYLW AR Y GWAHANOL ESBONIADAU AR Y LLE.

*(a)* Yn mherson *y natur ddynol* yn gyffredinol, ac nid yn ei berson ei hun, y llafara yr apostol, medd Photius, Ecumenius, ac amryw ereill. Eithr nid yw hyny yn gywir. oherwydd ni bu y natur ddynol, —un dyn erioed, meddaf. mewn gwirionedd yn gyfryw â hwn. Pa ddyn fu erioed yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw, tra ar yr un pryd yn gaeth gan ddeddf pechod, ac yn gwasanaethu cyfraith pechod? Gwel adn. 22—24. A pha ddyn hefyd fu erioed yn methu cael gan un o'i aelodau ufyddhau i'w ewyllys? Oni ddywedodd Mab digelwyddog Duw, mai allan o'r galon neu y meddwl y tarddai holl bechodau y corff? ac oni ddywed y gwrthun Blatoniad Phariseaidd hwn, nad oedd un o ddrygau ei aelodau yn tarddu allan o'i feddwl ef?

*(b)* Nid ychwaith yn mherson y *genedl Iuddewig* y llafarai efe; canys nid "achlysur" ond "achos" fuasai y ddeddf o'u pechodau, ar y tir hwnw. Tybia Hammond, Whitby, Locke, Bloomfield, ac ereill sydd o'r farn hon, fod yr apostol yn cyfeirio yn adn. 9 at stad yr Iuddewon o Abraham hyd Moses, pan oeddynt heb ddeddf Sina. A oedd y genedl Iuddewig yn ewyllysio ufyddhau i Moses. ac yn methu. fel y dywedir yn adn. 15, 16, 18, 19? A oedd y dyn nas ufyddhai i un o osodiadau Moses, yn ol adn. 18, yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw? Pa genedl erioed a fu, mewn ffaith, fel hyn? Gwelir, debygwyf, nad yw yn bosibl fod Paul yn ystyried y desgrifiad hwn yn un gwirioneddol am un dyn a chenedl dan y nefoedd. Twyll ac unfydrwydd Platoniaeth yr oes yw, wedi ei lyncu gan Iuddewon yn Rhufain, a Christionogaeth wedi ei gymmysgu eilwaith â'r ddau. Nid dychymyg yw hyn, i fod yn gyfaddas i'r bennod; eithr gwyr darllenwyr Philo, ac awdwyr Iuddewig ereill fod y gred hon yn ffynnu ar y pryd, —

*(c)* Nid yw yr apostol, ychwaith, yn llefaru yn ei berson ei hun, fel y dywed Barnes; sef o'r 7fed adnod hyd y 14eg am ei gyflwr cyn ei droedigaeth, ac o'r 14eg hyd ddiwedd y bennod, am ei gyflwr neu brofiad gwedi hyny; canys ni bu buchedd Paul erioed, hyd yn nod cyn ei droedigaeth, ddim gwaeth na'r goreu o ddysgyblion y ddeddf. Gallasai ymffrostio yn ei ufydd-dod i'r ddeddf yn fwy na neb o honynt. tra cawn y dyn yma, a phechod yn gweithio ynddo bob trachwant; ïe, yn ol esboniad Mr. Barnes ei hun, yn effeithio nes gwneyd ei fuchedd yn anfad ddrygionus. Nad yw y gweddill o'r bennod yn gymhwys i gyflwr Paul *ar ol* ei droedigaeth, nac i gyflwr un Cristion arall, a arddangosir dan *(d)*. Nid yw y ffaith o fod yr apostol yn llefaru yn yr amseriad a aeth heibio hyd adn. 14, ac yn yr amseriad presennol oddiyno yn mlaen, yn ein gorfodi i gymhwyso y cyfan ato ef ei hun; oherwydd gallai fod mor gymhwys i dyb gyfeiliornus y gwrthddadleuwr am ei brofiad yntau.

*(d)* Yn ei berson ei hun *fel Cristion* y llefara efe, medd amryw, rhy luosog i'w henwi. Ond os *stad o ras* yw hon, ymddengys nad yw hyd yn nod gras yr efengyl ei hun yn gallu cael dim gwasanaeth gan gorff dyn; fod pechod yn cael ei holl aelodau, a'i fod ar yr un pryd mewn mawr serch â'i fewnol ddyn, ac nad yw ei galon yn blino mohono un

amser. Yn mha le y mae rhodio yn ol yr Ysbryd? Nid yma. Yn mha le mae marweiddio gweithredoedd y corff? Nid yma. Yn mha le mae gwisgo yr Arglwydd Iesu, ynghyd â holl rinweddau ereill stad o ras? Nid yma. Rhodio yn ol deddf pechod sydd yma. Byw yn gaeth gan lywodraeth pechod sydd yma. Dyn da, mewn stad dda o ras, yn haeddu gair da, a gwobr da drwy ras, ac yn wynebu ar nefoedd dda—sydd yma; tra ar yr un amser, heb gyflawni dim da erioed! Rhag y fath "stad"—nis difenwaf etto drwy ei galw yn *stad o ras*—rhag y fath stad, gwareder ni oll.

(e) Yn mherson y *dyn deddfol*, sef efe ei hunan cyn ei droedigaeth, y llefara efe, medd Paræus, Menochius, Beza, Piscator, Carpzov, Rosenmuller, Stuart, ac ereill. Pa fath un yw y "dyn deddfol?" Ai dyn yn gweithio am fywyd? Ai dyn yn crugo ei rinweddau yn ebyrth iawnol dros ei feiau yw efe? Os dyna y "dyn deddfol," nid yw efe yma. Cyfaddef y mae hwn yn ddigywilydd, na fedd efe un *weithred* dda. Ymffrostia, mae'n wir, o ryw "ewyllys barod" at dda; ond yn barod at ei gwaith, a heb weithio y mae hi yn barhaus. Hefyd, arferid son fod rhyw allu gwneyd da rhagorol iawn gan y dyn deddfol, o leiaf yn ol ei dyb falch ei hunan. Hwn, ni fedd allu i gwblhau dim daioni (18). Saif yn egwan a diallu uwchben ei orchwyl, gan lefain, "Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Mae efe drwy y cwbl yn gallu cwblhau rhyw lawer iawn o orchwylion i bechod. Mae gallu ganddo pan alwo *hwnw* arno, ond dim gronyn pan alwo deddf Duw.

(f) Yn mherson *pechadur dan argyhoeddiad* y llefara efe, medd gwyr dysgedig ereill. Ond a yw dyn dan argyhoeddiad yn arfer dywedyd,—"Yr ewyllysio sydd barod genyf?" Ai llais dyn mewn golwg ar holl ddrygioni ffynnonellawg ei fynwes, yw hwnw sy'n eofn ddatgan, "Ymhyfrydu yr wyf yn nghyfraith Duw yn ol y dyn oddimewn?" A all dyn dan argyhoeddiad ystyried ei fod ar y pryd, "â'i feddwl yn gwasanaethu cyfraith Duw?" Os argyhoeddi dyn yw dod ag ef i ganfod pethau yn fwy tebyg i'r hyn ydynt, pa gywirdeb sydd yn y golygiad o'i fod "â'i feddwl yn gwasanaethu cyfraith Duw," tra gorfydda gyfaddef ei fod "â'i gnawd yn gwasanaethu cyfraith pechod?"

(g) Sylwer fod yr apostol yn parhaus lefaru yn ei berson ei hun, o ran geiriad, ac yn yr amseriad presennol; yr hyn a'n gorfoda i benderfynu, naill ai ei fod yn darlunio ei hun yma yn hollol groes i'w holl ddarluniadau ereill o hono ei hun, neu ei fod "yn bwrw ato ei hun mewn cyffelybiaeth, o'u hachos hwynt, fel y gallent ddysgu trwyddo," fel y dywedai efe dro arall wrth y Corinthiaid. 1 Cor. 4, 6. Ac yn awr, pa beth, mewn gair, sydd o anhawsder, mewn tybied fod yr apostol yn personoli dosparth o bobl fel yr oeddynt; sef fel y dywed efe yma yn eu geiriau eu hunain? Pa raid i ni redeg ar ol rhyw ysfa sydd ynom, am fynu cael y cymmeriad hynod hwn yn ein plith ein hunain, a thaflu ein hunain felly i'r fath drafferthion ag y gwelir niferi o'n hesbonwyr ynddynt? Gan fod rhyw philosophi gwrthun fel hyn —yr hwn a adewir gan Paul i wywo, yn ngwisgoedd ei ymresymiadau carpiog ei hunan heb ei ateb, ond o'r braidd:—gan fod, meddaf, y fath ddaliadau â hyn yn ninas Rhufain, ac o debyg, yn blino yr eg-

lwys, yn yr oes hono, pa beth mwy rhesymol allai fod, na gweled Paul yn eu gosod gerbron, fel eu ffieiddir? Nid wyf fi yn tybied, er y dymunwn lafaru gyda phob gostyngeiddrwydd—y gall neb ag sydd wedi darllen crynswdd ehelaeth o ysgrifeniadau y Rabbiniaid Iuddewig, ac yn enwedig yr eiddo Philo, Josephus, Maimonides, a'r Targumau, heb son am y Talmud ofergoelus—lai na thueddu at yr esboniad a geir yma ar y lle, heb son am yr hyn a ddywedwyd ac a ddywedir yn mlaen, allan o'r bennod ei hun.

Nad yw ein hapostol yn llafaru yn ei berson ei hun, a brofir etto drwy ei waith yn dywedyd:—"Myfi sydd (wyf yn awr, *eimi)* gnawdol, wedi fy ngwerthu dan bechod (adn. 14)—"Yr hyn sydd gas genyf, hyny yr wyf fi *yn* ei wneuthur." Nid, yr wyf yn gwneuthur hyny fel cyfran o'm gwaith, ond "hyny yw y gwaith oll *yr wyf fi yn* ei wneuthur," *(touto poiô*, adn. 15). "Nid oes yn fy nghnawd i ddim da yn trigo," medd efe yn adn. 18; tra dywed mewn lle arall, fod Ysbryd Crist yn trigo ynddo, a bod ei gnawd neu gorff yn deml i'r Ysbryd Glân. A chyfaddefa hefyd ei fod *yn* gaeth gan ddeddf pechod, yn adn. 23; tra yn mhen pedair adnod yn mlaen (8, 2) y dywed efe—"Deddf ysbryd y bywyd a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod." Pa fodd yr oedd efe *yn gaeth*, ac ar yr un pryd *wedi* ei ryddhau? Mae ei waith yn llafaru yn yr amseriad presenol, yn profi nad yn ei berson ei hun y llafarai efe. Pe cyfeiriasai at yr hyn a fuasai efe gynt, dywedasai "mi a *fum* fel ar fel," yn lle dweyd ei fod felly yn *bresennol.*

7 Beth wrth hyny a ddywedwn ni? *Ai pechod yw y ddeddf? Na ato Duw. †Eithr nid adnabum i bechod, ond wrth y ddeddf: ‡canys nid adnabuaswn i drachwant, oni bai ddywedyd o'r ddeddf, Na thrachwanta.

* "Ai yr achos o bechod yw y ddeddf?"—Stuart, Bloomfield, Ritchie. "Nid yw efe yn gwadu na allasai y ddeddf fod yn achos o bechod, drwy ddygwyddiad,"—Crellius. † "Ni wybuaswn,"—Guyse, Rosenmuller, Crellius. "Ond trwy y ddeddf," J. Williams; A. Campbell. "Nid adnabum i bechod yn drwyadl a manwl,"—Theophylact, Theodoret. "Cyfeirir at bob deddf,"—Koppe, Rosenmuller, Macknight, Barnes, Hodge. "Deddf Moses,"—Stuart. "Ni allai hyn fod yn wir oddieithr am stad gyntaf ac anwybodus dyn,"—Morus. ‡ "Wrth drachwant y meddylir gormod awydd am rywbeth,"—Stuart.

*Beth wrth hyny, &c.*, sydd ymadrodd a arferir deirgwaith gan awdwr y llythyr hwn, wrth ddwyn yn mlaen wrthresymiad cyfeiliornwr i'r hyn a draddodir ganddo ef yn y lle. Y manau hyny ydynt pen. 6, 1; a 9, 14, ac yma. Gwir yw, nad yw efe yn y ddau le arall yn dyfynu mor helaeth o ymresymiad y gwrthwynebydd ag y gwna efe yma; etto, profa yr hyn a ddywedwyd eisoes, debygwyf, mai dyfyniad felly ydyw yr oll, oddiyma hyd ddiwedd y bennod.

*Ai pechod yw y ddeddf?* Sef, ai pechod yw deddf Moses, a'i hystyried a'i harferyd yn ol amcan ei gosodiad? ac nid ai pechod yw hi, o'i harferyd yn ol swydd a lle yr efengyl: canys ni allasai efe wadu ei bod yn bechod yn yr ystyr hwnw. Y ddeddf *oll*, ac nid y gyfran aberthiadol a golchiadol o honi, a feddylir; canys duwinyddion, ac nid apostolion, sydd wedi dosranu Moeseniaeth, a'i galw yn ddeddfau. Os nad eistedd

ein hesboniadau o'r gair *deddf* yn yr epistolau hyn, yn esmwyth ar holl osodiadau Moses, dylid foldio ein hesboniadau hyd nes eu caffom felly.

EITHR NID ADNABUASWN, &c. *(alla—ouk egnôn).* Mai atebiad gwrth-ddadleuwr sydd yma, a welir wrth ystyried yr *eithr* hwn sydd ar ei ddechreuad. Arddengys *alla*, eithr, medd y Geiriaduron,—wrthwynebiad, neu gyferbyniad, neu ymsymudiad o'r naill beth i'r llall. Nid *ymsymudiad* sydd yma, canys gydâ'r ddeddf y mae efe cyn a chwedi yr *eithr.* Nid *cyferbyniad* ychwaith, sydd yma, oddiar yr un rheswm. Rhaid, gan hyny, mai *gwrth-ddadleuad* yw :—"Eithr ni chymmeradwyaswn i drachwant, oni buasai y ddeddf," yw y gwrth-ddadleuad. Ond profwn yn nesaf mai *cymmeradwyo* yw ystyr y gair dan sylw.

ADNABUASWN, *(egnôn) to know, to gain a knowledge of;* dod i adnabyddiaeth o beth. Ystyr arall i'r gair yw canfod, *perceive:* arall yw dirnad, deall, *comprehend:* arall yw adnabod a chymmeradwyo, *to know and approve and love.* Enghreifftiau o'r ystyr hwn a geir yn aml; megys yn 2 Tim. 2, 19; Ioan 10, 14, 15, 27; Salm 144, 3; Amos 3, 2; Nahum 1, 7; Hosea 8, 2; Salm 1, 6; ac yn adn. 15 o'r bennod hon. Cawn yn yr adnodau yna :—"Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef."—"Mi a adwaen—ac a'm hadwaenir gan, yr eiddof fi."—"Fel yr adwaen y Tad fi, felly yr adwaen innau y Tad." "Pa beth yw dyn pan *gydnabyddit* ef?" "Chwi yn unig a adnabum o holl genedloedd y ddaear." "Yr Arglwydd a edwyn y rhai a ymddiriedant ynddo." "Israel a lefant arnaf. Fy Nuw, nyni a'th adwaenom di." "Yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cyfiawn." "Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, nid wyf yn ei wybod;" *ginosko*, "nid yw foddlon genyf." Diau, nad yw y ffaith o fod i'r gair yr ystyr o *adnabod*, yn profi mai hyny yw ei ystyr yma, tra gwelir yn eglur fod iddo yr ystyr o *gymmeradwyo* mor gyffredin, yn ol y dull Hebreig o lafaru. Ystyr priodol yr *eithr* yn y cyssylltiad presenol sydd yn penderfynu y gair yn *gymmeradwyo;* canys nid yw dweyd na adnabu efe drachwant ond wrth y ddeddf, yn profi ei bod yn achlysur pechod, ond i'r gwrthwyneb; tra mai gwrth-ddadl raid fod yma ar ol yr *eithr* rhagflaenorol, fel profwyd. Bwria y Platoniad Cristionogol hwn yn ol, ei fod ef wedi cymmeradwyo trachwant o ran gwrthwynebiad i'r ddeddf, a dim arall. Nad oedd buchedd Paul ei *hun*, pan eisteddai wrth draed Gamaliel, gyffelyb i hyn, sydd hysbys. Nad oedd fel hyn, pan eisteddai wrth draed ei Arglwydd Newydd, sydd fwy hysbys fyth. Pe Paul ei hunan fuasai yn cael ei bersonoli, a phe *adnabod* fuasai ystyr y gair hwn, tebygwyf na allasai efe fod yn dweyd y gwir; canys gallasai, a mwy na thebyg hefyd ei fod yn, adnabod *trachwant* fel bai. oddiwrth ddeddf natur yn unig; canys adnabu ereill hyny; megys Euripides y bardd Groegaidd, er enghraifft. *(Hippol.* 317; *Orestes* 1620*).* A chan fod deonglydd Paul i'w osod ef yn ddyn geirwir, o leiaf, *cymmeradwyo* ddylai fod y cyfieithiad o'r gair a gawn yma am *adnabod* trachwant.

8 *Eithr pechod, wedi cymmeryd achlysur trwy y gorchymyn, a weithiodd ynof fi bob trachwant.

* "Wrth bechod yma y meddylir y tueddfryd i bechod sydd yn ein natur lygredig," Theophylact. "Ein natur lygredig ei hun yw efe yma,"—Hodge. "A'r tueddfryd hwnw hyd yn nod yn anwirfoddol,"—Bloomfield, Carpzov. Cymharir y duedd hon

gan Philo, i fwystfil gwyllt, annofadwy, "Personolir pechod yma fel rhyw un yn ymgais at fywyd yr apostol,"—Locke. "Cyfeiria y gair 'gorchymyn' at osodiad neillduol, a'r gair 'deddf' at yr holl osodiadau,"—Koppe. "Arferir 'gorchymyn' weithiau am yr holl gyfraith,"—Bloomfield. "A weithiodd allan,"—Stuart. "Personolir pechod yma; ac fel ei effaith ef yn unig yr ystyrir llygredd a gweithredoedd drwg," Stuart, Barnes. "Gwylltia trachwant yn fwy am y pechod, po fwyaf ei rhwystrir ato," Chrysostom. "A weithiodd yn rymus,"—Doddridge.

EITHR *(de)*, arall yn hollol sydd yma, ac nid o'r un ystyr wrthddadleuol â'r llall yn adn. 7. Mae y geiriau gwreiddiol yn wahanol.

*Pechod*, ebe efe; ac nid efe ei hunan. Pan oedd Paul yn datgan ei farn gywir ei hun, nid fel hyn y llafarai efe. "Na roddwch eich aelodau;" "yn eich rhoddi eich hunain;" a "rhoddasoch eich aelodau," yw yr ymadroddion sy'n naturiol darddu oddiar ei athrawiaeth ef ei hun. Gwel pen. 6, 13, 16, 19. Dadleuai Paul mai y dyn ei hun oedd yn gweithredu pob drwg, tra dadleuai y Platoniad dan sylw mai y dyn allanol a elwid *Amartia*, pechod, oedd yr unig weithredydd. "Pechod a weithiodd," ebe efe, ac "nid myfi." "Y mae pechod," meddai efe, "yn elyn i'r gorchymyn, ac wedi i Dduw ddywedyd wrthyf, 'Na thrachwanta' mynodd yntau, pechod, drachwantu yn y fan. Gwnaeth hyn drwy gymmeryd y gorchymyn yn achlysur. Pe cawn i gan Dduw beidio cyhoeddi gorchymynion yn fy nghlyw, peidiai y dyn hwn, pechod, sydd ynof, a bucheddu yn groes i'r gorchymynion hyny."

*Pob trachwant.* Nid Paul ei hunan a fu erioed mor annuwiol â choleddu *pob* trachwant. Ceir yr athrawiaeth hon yn y Platoniad Iuddewig, Philo. (lib. 1. p. 538).

9 *Canys heb ddeddf marw oedd pechod. †Eithr yr oeddwn i gynt yn fyw heb y ddeddf: ond pan ddaeth y gorchymyn yr adfywiodd pechod, ‡a minnau a fum farw.

* "Yr oedd heb ei rym, y ddeddf, i benydio y dyn,"—Davidson. "Yr oedd yn farwaidd a digynwrf,"—Stuart, Barnes, Hodge, Weinyss. "Heb deimlo grym y ddeddf,"—Stuart. "Wrth y 'fi gnawdol' y meddylir y rhan ddrygionus o genedl Israel, ac wrth y 'fi oddimewn,' y rhan oreu o honi. Marw oedd pechod yn yr oes batriarchaidd, cyn cyhoeddiad y ddeddf,"—Reiche. "Wrth *bechod* yma y meddylir pechod gweithredol, ac nid tueddfryd at bechu,"—Reiche, Glockler. "Y tueddfryd (*vitiositas*) yn unig yw," medd Stuart. "Heb wybodaeth o'r ddeddf,"—Carpzov, Bloomfield. "Wrth bechod yn y fan hon y meddylir *chwant*,"—Bloomfield. "Marw oedd pechod, fel na allai gynnyrchu ei ryw, na pheri marwolaeth,"—Turner, Bloomfield. "Heb ddeddf marw *yw* pechod,"—Belsham. † "Heb wybodaeth o'r ddeddf,"—Conquest. "Tybiwn fy hunan allan o berygl condemniad i farw,"—Walford. "Tybiwn fy hun yn ddiogel, ac yr oeddwn yn gysurus felly,"—Barnes, Calvin, Awstin. "Yr oeddwn mewn heddwch â mi fy hun,"---Hodge. "Bum dros amser heb ddeddf arnaf,"---Bretschneider. "Yr amser o fod heb ddeddf yw amser mabandod,"---Awstin, Origen, Ernesti, Morus. "Yr amser o fod heb ddeddf oedd cyn bod wrth draed Gamaliel,"---Luther, Ammon. "Cyfeiria at ei rag-hanfodiad yn Adda,"---Theodoret, "Cyfeirir at yr amser pan ddaeth y ddeddf ato gyda grym newydd,"---Calvin, Beza, Stuart. ‡ "Marw o ran ei deimlad neu farn am dano ei hun,"---Hodge, Hardy, Paraeus, Davidson. "Efe a aeth yn fwy drygionus, nes gwneyd gwerth ei fywyd yn ol ei dyb,"---Stuart, Barnes.

*Marw oedd pechod.* Dywed Stuart mai wrth bechod yma y tybir *y dyn cnawdol.* Eithr pa gyssondeb fyddai mewn dywedyd:—"Heb y

ddeddf marw oedd y dyn cnawdol ynof?" Beth! a oedd mynwes yr apostol yn lân oddiwrth gnawdolrwydd cyn dysgu o hono y ddeddf? A yw efe yn dal allan mai adnabyddiaeth o ddeddf Duw, sydd yn nodi allan gyfnod dyfodiad cnawdolrwydd i fodolaeth? Tebycach, mai tyb y cyfeiliornwr yw hon. "Pe na buasai deddf yn bod, (ebe efe) buaswn i yn cael llonydd gan yr ail ddyn, pechod, buasai yn gorwedd yn farw a diwaith. Mae efe, pe gwyddai pa sut, am brofi, na wnaeth cyhoeddiad gwaharddiadau y ddeddf, ddim ond achosi mwy o bechu. Mawr yw helynt yr esbonwyr wrth geisio dangos pa bryd y bu Paul heb un ddeddf; yr hyn sy'n ddyled arnynt i'w brofi, neu adael eu tyb, mai yn ei berson ei hun y llafarai efe.

*Adfywiodd pechod.* "Can gynted (ebe'r Platoniad) ag y clybuwyd adsain gorchymynion Duw yn gwahardd drygioni, dechreuodd y dyn, pechod, adfywio at ymladd â hwynt. Am danaf fi fy hun, y dyn da; yr oeddwn i yn fyw cyn hyny; ond can gynted ag y daeth pechod yn adfyw, aeth mor llywodraethus, fel nad wyf fi, y dyn da, o hyny allan ddim ond dyn marw; efe sy'n myned â'r holl aelodau a'r cynneddfau i'w wasanaeth." Pa bryd y bu Paul *ei hun* yn peidio, ïe, methu a gwneyd un peth a ofynid gan ddeddf Moses, mwy na dyn marw? Mae yr hyn y gorfodir Barnes gan ei gyfundrefn i'w osod ar lawr yma, yn dra hynod: "'Minnau fum farw;' hyny yw, mi a ddyryswyd mewn mwy-fwy o euogrwydd a thrueni. Pechod a deyrnasodd, a ymgynddeiriogodd, ac a gynnyrchodd ei effeithiau distrywiol a chondemniol." Yn awr, mewn gwirionedd, o ba le y cafodd yr ysgrifenydd llafurus, ond anfeirniadol hwn, fod Paul wedi bod fel hyn? ïe, ei fod, fel y dywed efe, ar ol i'r gorchymyn ei ddal a'i argyhoeddi, yn bucheddu mor anfad â hyn? Yr oedd efe cyn i'w bechod adfywio, mor ddrwg ag erlidiwr. Beth! a erlidiodd efe fwy-fwy, ar ol yr hyn a fu ar hanner dydd yn ymyl Damascus? "Nid ymgynghorais â chig a gwaed;" "mi a fum ufydd i'r weledigaeth nefol," medd Paul ei hun, am ei hanes yn yr amgylchiad. "Naddo," medd Barnes, "ti a ymgynddeiriogaist fwyfwy mewn euogrwydd." "Wele, y mae'n gweddio," ebe Ysbryd Duw. "Wele ei bechod yn adfywio, ymgynddeiriogi, a'i effeithiau yn fwy dinystriol nac o'r blaen," ebe'r esboniwr Americanaidd.

10 *A'r gorchymyn yr hwn ydoedd i fywyd, hwnw a gaed i mi i farwolaeth.

* "Gosodir bywyd yma am ddedwyddwch, a marwolaeth am drueni,"---Hodge. "Cyfluniwyd y ddeddf fel moddion meddygol, er llesâd, ond troes y camarferiad hwynt yn niwaid,"---Doddridge. "Methodd y ddeddf, er amcanu hyny, a lladd fy nrygioni, felly trwy sefyll yn lle yr hwn a allai gwblhau y peth a fethodd hi, yn farwolaeth y caed hi i mi,"---Locke. "Cyfeirir at ddeddf natur yn gystal ag un Moses,"---Macknight.

Yr oedd gorchymynion Sina yn amcanedig i'r deiliaid ufyddhau iddynt, ac yna i gael bywyd yn Nghanaan drwy eu hufydd-dod; ond yr hyn a fu i'r Platoniad hwn, oedd marwolaeth; a hyny oherwydd ymgynddeiriogi o'r ail ddyn, pechod, yn erbyn y gorchymyn. Gwelwn nad efe ei hun, ond y dyn a elwir *pechod*, a fu yn achos o'r drwg.

*I fywyd;* sef "bywyd o ddedwyddwch tragwyddol," medd Barnes.

Yn mha le yr addewir bywyd tragwyddol yn wobr am ufyddhau i'r ddeddf hon? Nid yn y beibl. Drwy y gyfundrefn a elwid *Ffydd* y cyfiawnheid dyn. Nid yn unig ni allai y ddeddf, oherwydd gwendid ei heiliaid : ond ni huriwyd mo honi erioed i fod yn foddion bywyd tragwyddol.

*I farwolaeth;* sef "yn farwolaeth i mi; yn fy erbyn i," *Dative incommodi.*

11 Canys pechod, wedi cymmeryd achlysur trwy y gorchymyn, a'm twyllodd i; *a thrwy hwnw a'm lladdodd.

* "Gwnaeth i mi deimlo fy mod wedi suddo mewn llygredigaeth a thrueni diobaith,"---Hodge, Walford.

*A'm twyllodd,* hudodd, siomodd. Gwylia y gwrthwynebwr hwn rhag i ronyn o'r bai ddisgyn wrth ei ddrws ef ei hun. "Ei dwyllo a gafodd efe!" Truan yw pob twylledig; o leiaf, mwy truan na drwg. Felly y mynai hwn haeru ei fod yntau. Nid yw yn hawdd dirnad pa fodd y profai efe fod pechod yn dod i ben â'i dwyllo ef, ar ol i'r gorchymyn gael ei egluro iddo: ac etto dyna fel y bu, medd efe.

*Trwy hwnw;* trwy y gorchymyn. Nid melldith y ddeddf â'i lladdodd ef, ond y dyn pechod *drwy* y ddeddf. Drwy gymmeryd y ddeddf â'i croesai yn achlysur i fyw yn waeth, daeth y dyn mewnol da yn farw at ei waith. Ni allai efe wneyd dim yn y byd: y llall oedd yn mynu gwneyd y cyfan; a'r cyfan hwnw yn anyfudd-dod i Dduw. Dyma brofiad twyllodrus a gymmysgai Plato, Moses, a Christ, ac a wnaethai iddo ei hun un credo anghymmodlawn allan o'r tri.

12 Felly yn wir y mae y ddeddf yn santaidd; *a'r gorchymyn yn santaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda.

* Mae y geiriau *deddf* a *gorchymyn* yma yn gyfystyr," medd Barnes, Hodge.

*Yn santaidd, &c.* "Nid wyf yn beio y ddeddf, ychwaith!" medd efe. Mae efe yn fath o Iuddew parchus o'r ddeddf. Achlysur, ac nid achos, yw y ddeddf, yn ol ei dyb, o'i holl ddrygioni ef. Er y buasai y dyn, pechod, yn wanach na'r dyn da, pe na ddaethai y ddeddf i'r golwg; nid yw efe yn gallu dweyd gair o gondemniad ar y ddeddf, ynddi ei hun, er hyny.

FELLY *(ôste),* gan hyny; o ganlyniad. Gan fod cystrawiad dechreuad yr adnod yn gofyn rhywbeth fel cwblhad i'r gosodiad sydd ynddi, rhaid i ni gyssylltu adu. 13eg â'r adnod hon:—"Felly, gan fod yn ddiammeu, y ddeddf yn santaidd, cyfiawn, a da; a wnaethpwyd yr hyn oedd dda (sef y ddeddf) yn angeu i mi?"

*Santaidd,* perthynol i wasanaeth Duw; neillduedig. *Cyfiawn,* yn uniawn, heb wneyd cam â neb; yn cefnogi rhinwedd ac anghefnogi bai. *Da,* nid yn ddiddrwg yn unig, ond yn fanteisiol a llesol i gymdeithas hefyd. Ystyrier yma, mai perthynol i'r *gorchymyn,* Na thrachwanta, y mae y tair elfen hon, tra na ddywedir fod dim ond un—santeiddrwydd, yn perthyn i'r holl ddeddf.

13 Gan hyny a wnaethpwyd yr hyn oedd dda yn farwolaeth i

mi? Na ato Duw. Eithr pechod. *fel yr ymddangosai yn bechod, gan weithio marwolaeth ynof fi, trwy yr hyn, †fel y byddai pechod trwy y gorchymyn yn dra phechadurus.

* "Cyfeirir at gynnydd pechod ar ol dodiad y ddeddf,"---Reiche. "Y ddeddf ddaionus hon, a gymmerth pechod yn foddion i'm handwyo; gan felly ddangos, drwy y ddeddf, ei nodweddiad gwrthunus,"---Turner, Schleusner, Zeger, Theodoret, a'r cyfieithiad Syriaeg. † "Fel y byddai pechod (drwy y gorchymyn) yn bechadur mawr iawn,"---J. Williams.

Cawn yma nad y degfed gorchymyn—nad y gwaharddiad "da" a wnaed yn farwolaeth i'r llafarydd; ond, mai "y pechod" yn unig a weithiodd farwolaeth iddo; ac, mai drwy y gwaharddiad daionus y gweithiodd efe hi; ac, mai amcan y gweithredydd hwn, sef pechod, yn hyn oll oedd, fel yr ymddangosai efe yn bechod, ac fel yr ymddangosai yn bechadurus dros ben, yn rhyw fodd drwy y gorchymyn daionus hwn, Na thrachwanta. Dyna ddull y Platoniad hwn o gyfiawnhau deddf cyfammod ei dadau, a chyfiawnhau ei hunan hefyd, er yn tòri gorchymynion y cyfammod hwnw.

14 *Canys ni a wyddom fod y ddeddf yn ysbrydol; †eithr myfi sydd gnawdol, wedi fy ngwerthu dan bechod.

* "Sef yn gorchymyn cyflawniadau cydunol â natur a meddwl yr Ysbryd,"---Stuart, Hodge. "O'r adnod hon hyd ddiwedd y bennod, desgrifir stad Cristion,"---Barnes, Awstin, Doddridge, Teller, Carpzov, Koppe, Walford, Hodge. "Llefara Paul yn mherson dyn dan oruchwyliaeth y ddeddf mewn cymhariaeth â dyn dan yr efengyl," Rosenmuller, Wintenburg, Chrysostom. "Tebygach yw ei fod yn desgrifio cyflwr pechadur dan argyhoeddiad gan y ddeddf, i weled ei ddrwg a'i drueni,"---Macknight, Whitby, Slade, Bloomfield. † "Wrth *gnawd* y meddylir ffynnonell pob nwyd bechadurus,"---Barnes, Davidson. "Yn hytrach, tueddiadau naturiol y rhan anifeilaidd o ddyn,"---Hodge, Stuart. "Arwyddocâ yr ymadrodd un wedi gwerthu ei hun,"---Theophylact, Bloomfield.

*Ysbrydol* a *chnawdol* ydoedd nodweddiadau y dyn mewnol a'r dyn allanol, a dybid yn berthynol i bawb, gan y cyfeiliornwr dan sylw. Y cyntaf oedd berffaith rinweddol a'r olaf yn berffaith ddrwg. Cawn ganddo yma fod y ddeddf yn gyffelyb i'w "ddyn oddimewn" ef, sef yn "ysbrydol:" ond mai cnawdol oedd efe ei hun. Cawn ef yn adn. 17eg yn dweyd mai y "dyn oddimewn" oedd efe ei hun; sef, mai gweithredoedd y dyn hwnw ynddo a ystyriai efe yn weithredoedd iddo ei hun, tra disgynai y beiau oll ar gefn pechod. Yma cawn ef yn cyfaddef mai y dyn oddiallan yw efe ei hun, gan briodoli iddo ei hun bechodau y dyn cnawdol hwnw; etto, gofala am daflu y bai i rywle oddiarno ei hun, ac ar y sawl â'i gwerthodd ef i gaethwasanaeth y gormeswr ofnadwy, pechod.

*Fy ngwerthu.* Benthycir yr ymadrodd oddiwrth yr arferiad o werthu carcharorion rhyfel yn gaeth-weision. Ystyrid hwynt fel wedi colli hawl i gael byw, a gwerthid, o ganlyniad, i'r cyflwr o gaethiwed trymaf. Nid oes neb, mewn gwirionedd, yn y fath gyflwr â hyn. Gan bwy ond ei Greawdwr y mae hawl i werthu dyn? ac, ai i bechod y gwertha efe ef? Pe buasai hyd yn nod y dyn hwn ei hun wedi

ymwerthu dan bechod, nid oedd hyny eilwaith yn un rheswm paham yr arosai efe dan ei awdurdod ef. Ni fuasai hyny namyn dwyn allan y naill bechod yn esgus dros y llall.

15 Canys yr hyn yr wyf yn ei *wneuthur nid yw foddlon genyf: canys nid y peth yr wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur: eithr y peth sydd gas genyf, hyn yr ydwyf yn ei wneuthur.

* "Yn arferol o'i wneuthur,"---Stuart. "Nid wyf yn ei wybod,"---Chrysostom, Theodoret, Tholuck. "Nid wyf yn ei gymmeradwyo,"---Barnes, Hodge, Walford, Erasmus, Grotius, Schleusner. "Nid oes un serchogiad yn cymmeryd lle heb genad y meddwl: ac yr un modd, nid oes un weithred yn cymmeryd lle heb ymwybyddiad a chybwybodoldeb y gweithredydd,"---Ammon. "Ni phechodd neb erioed mewn anwybodaeth; canys pe felly, ni byddai yn deilwng wrthddrych cosp,"---Chrysostom, Theophylact, Theodoret, Ecumenius, Bloomfield. "Nid wyf yn meddwl dim uwchben yr hyn a wnelwyf,"---Amryw. "Pechod Adda oedd yr *uchos* o hyn i gyd yn natur yr apostol: y ddeddf nis gallai ei wellhau; rhaid oedd cael efengyl y meddyg mawr, Iesu,"---Theophylact, Bloomfield.

BODDLAWN *(ginaskô)*, *to know*, adnabod; hefyd, *to approve of*, cymmeradwyo. Yr olaf yw yr ystyr yma, fel y dengys diwedd yr adnod. Am y gair hwn yn yr ystyr o gymmeradwyo, Gwel Matt. 7, 23; a 25, 12; Luc 13, 27: Salm 1, 6; Hos. 8, 4. Os oedd efe yn ewyllysio peidio cyflawni rhywbeth, rhaid ei fod yn ei adnabod, er nad yn ei gymmeradwyo. Dichon dyn anghymmeradwyo gweithred *ar ol* ei chyflawni; ond ei ymadroddion yna fyddent:—"Yr hyn a fum yn ei wneuthur, nid yw foddlawn genyf." Eithr am y fath ymadrodd â hwn, ag sy'n gosod dyn fel yn gwneuthur pechod, ac ar yr un pryd yn anfoddlon i'w wneyd, twyll ydyw. Ni all dyn fod felly.

EWYLLYSIO *(thelô) to will, to wish, to desire, implying active volition and purpose;* sef, yr hyn a benderfynol amcanwyf ei wneuthur. Arddangosa hwn ei hun fel peiriant yn gweithredu yn groes i'w amcanion i gyd, heb un gallu i beri i'w aelodau gweithredol ddilyn ei ewyllys.

*Cas genyf, &c.* Yr oedd Paul er ys o leiaf ddeuddeg mlynedd, yn cysson bregethu Crist, gweddio arno, a dyoddef drosto. Dywed yn aml ei fod yn "gwneuthur" hyn. Ac, ai "câs" ganddo oedd ei wneuthur? Rhaid i'r sawl a dybio mai ei fraint, ei bleser, a'i ymffrost ydoedd, farnu nad am dano ei hun y llafara efe. Cyfaddefa Stuart ac ereill, y rhai a osodant Paul yma i lafaru yn mherson y dyn deddfol, gan dybied ei fod yn dweyd ei farn ei hun am dano,—na ellir cymmeryd yr ymadroddion yn eu hystyr gyflawn; a dyfyna allan o Xenophon, Euripides, Epictetus, Plantus, Seneca, Ovid, a Sactantius, awdwyr Pythagoraidd a Phlatonaidd y byd paganaidd, ymadroddion i brofi eu bod hwythau o'r un farn â'r apostol yn hyn; yr hyn nid yw yn profi dim oll yn y diwedd, ond fod y cyfeiliornwr Iuddewig dan sylw, yr hwn a bersonolid gan Paul, yn dilyn ei athrawon ar y gred gyfeiliornus o fod dau enaid, dau feddwl, ewyllys a natur groes iddi mewn dyn. A oes rhyw ystyr, boblogaidd neu philosophaidd, yn mha un y mae dyn yn pechu, ac ar yr un pryd heb fod ei hunan yn gwneuthur y cyfryw bechod ychwaith? Ni ellir dywedyd

am ddyn, ei fod yn cwblhau yr hyn sydd gâs ganddo, yn ngwasanaeth dyn arall, os oes iddo ei ddewis o adael y gwasanaeth neu aros ynddo; a pha fodd y gellir dywedyd fod yr un dyn yn cwblhau yr hyn sydd gâs ganddo mewn ystyr foesol a chrefyddol ychwaith, i na phechod na diafol?

16 Ac os y peth nid wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur, *yr wyf fi yn cydsynio â'r ddeddf mai da ydyw.

* "Yr wyf yn cyffesu, yn cyfaddef, mai da yw,"---Stuart.

Cyfaddefa Dr. Stuart yma fod ymarferiad yr ewyllys, mewn ffaith a manwl ystyriaeth; sef yr hyn a saif yn gywir arwyddocad i'r gair *ewyllysio (thelō)*, yn gydrywiol â'r gweithredoedd allanol. Gwell genyf fi, na naddu i lawr gywir arwyddocad y geiriau a ddeonglaf can belled ag y dyoddefant, eu cymmeryd yn syml a naturiol, gan ddilyn eu hystyr gyffredin, eled credo lle 'r elo.

Deil y cyfeiliornwr dan sylw gan Paul, at y dyb o fod y ddeddf yn dda. Ceisiai ddal i fyny y ddeddf, a'r efengyl, ac efe ei hunan; er ei fod yn croesi yr olaf drwy dori y flaenaf. Ei holl bwnc oedd cadw ei hun yn ddieuog, a chael o'i aelodau wasanaethu pechod ar yr un pryd.

17 Felly yr awrhon nid myfi sydd *mwy yn gwneuthur hyny, eithr y pechod yr hwn sydd yn trigo ynof fi.

* Gadewir allan y gair *mwy* o'r beiblau Syriaeg, Arabaeg, ac Ethiopaeg. "Amlwg yw mai ymadrodd ffigwrol yw hwn, canys ni allai efe ddywedyd yn llythyrenol, nad efe oedd yn gwneyd ei weithredoedd ei hun,"---Barnes. "Yr awrhon, er pan wyf yn Gristion,"---Hodge. "Pechod, yr hwn sy'n teyrnasu ynof,"---Taylor. "Ystyrir dyn yma fel creadur yn meddu dwy natur wahanol,"---Whitby, Macknight.

Mae efe yn myned can belled o'r diwedd â haeru fod pechod wedi ei wneuthur ef yn dy iddo ei hun; ac nad oedd ei holl aelodau ef namyn arfau gweithio pechod, y rhai a roddid ar waith er waethaf iddo ef. Mae y Platoniad Cristionogol hwnw, Awstin, yn haeru fod pob Cristion fel hyn. Gwel *Confess*, viii, 5. Ai posibl fod Paul yn dala y fath athrawiaeth â hon; sef, nad oedd efe, tra yn Gristion, yn cael ei ystyried yn wneuthurwr ei bechodau ei hun? neu, a oedd efe felly pan o dan argyhoeddiad? neu, pan yn ei stad o Foeseniaeth? Amlwg yw, nad oedd; a mor amlwg â hyny yw y ffaith, nad am dano ei hun mewn un cyflwr y bu efe ynddo erioed, nac am un dyn arall mewn ffaith, ychwaith; ond, mai yn mherson cyfeiliornwr Iuddewig a gwag-philosophaidd, yn unig y llafarai efe.

18 Canys mi a wn nad oes ynof fi, *(hyny yw, yn fy nghnawd i), †ddim da yn trigo: ‡oblegid yr ewyllysio sydd barod genyf; §eithr cwblhau yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno.

* "Yn fy anian bechadurus i,"---Stuart. "Yn fy natur fy hun, ar wahan oddiwrth ddwyfol ddylanwadau,"---Hodge, Barnes. ‡ "Ymddengys fod Paul yma yn arfer gormod-iaith, cyn belled ag y perthyna'r ymadrodd iddo ef ei hun,"---Walford. ‡ "Ewyllysio yr hyn sy dda sy hawdd genyf; eithr ei gwblhau, nid wyf yn ei gael yn hawdd,"---J. Williams. || "Pa fodd i gwblhau yr hyn sydd dda,"---Newcome, Conquest. "Hollol gwblhau yr hyn sydd dda,"---Wakefield.

EWYLLYSIO *(thelein)*, gorchwyl ewyllys mewn gweithrediad, ac yn penderfynu ac amcanu yn ddinag. Pan oedd yr apostolion yn son am *ddymuno* yn unig, heb addfedu y dymuniad mewn ewyllysiad a phenderfyniad, y gair *Boulomai* a arferent, ac nid un amser y gair sydd yn ein testun. Rhaid i'r sawl a gredant mai profiad Cristion yw hwn gofio eu bod yn dàl fod y Cristion yn ewyllysio yn benderfynol i gwblhau yr hyn sydd dda, megys gweddio, darllen, pregethu, cyfranu, moli Duw, a'r cyffelyb; ond nad oedd efe ar yr un pryd yn medru cwblhau dim: na fedrai Paul na gweddio, na phregethu, na darllen gair Duw, na chyfranu, na moli Duw: ïe, ei fod yn gaeth gan ryw ddeddf, yr hon a'i gorfodai i arferyd ei aelodau i bechu, megys ei draed i redeg i ddrygioni yn lle i bregethu Crist, ei dafod i gablu Duw yn lle gweddio arno, ac i athrodi ei frodyr, megys Barnabas a Silas, yn lle eu hamddiffyn, &c. Pa ryw raid fod yn ngenau credo y dyn a all lyncu hyn oll am Paul, nac am un Cristion pur arall?

19 Canys nid wyf yn gwneuthur y peth da yr wyf yn ei ewyllysio; ond y drwg yr hwn nid wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei ewyllysio.*

* "Rhaid cymmeryd ystyr naturiol yr adnod hon mewn modd benthycol, cyn y gellir ei chymhwyso at brofiad Cristion,"---Turner.

Wele fath o ad-ddywediad o adn. 15ed. "Yr hyn sy'n profi," ebe efe, "fy mod yn hollol fel ag y darluniais, yw fy mod yn cyflawni yn barhaus yr holl ddrwg a gasâf, ac yn gadael heb ei gyflawni yr holl ddaioni a hoffaf ac a benderfynaf wneuthur."

20 Ac os ydwyf fi yn gwneuthur y peth nid wyf yn ei ewyllysio, nid myfi mwyach sydd yn ei wneuthur, ond y pechod sydd yn trigo ynof fi.

21 †Yr ydwyf fi gan hyny yn cael deddf, a mi yn ewyllysio gwneuthur da, fod drwg yn bresennol gyda mi.

* "Yn ei chael yn gyfraith i mi,"---J. Williams. "Arferir y gair *deddf* neu ddylanwad gorfodol,"---Walford, Barnes, Hodge, Beza, Piscator, Crellius, Grotius, De Dieu, Wolf, Rosenmuller, Stuart. "Yr wyf yn cael pa bryd bynag yr ewyllysiwyf gwneuthur y da yn ol y ddeddf,"---Rhai, megys Castalio, Bos, Erasmus, Carpzov. "Wrth y *ddeddf* y meddylir deddf Moses,"---Theophylact, Ecumenius, Theodoret, Chrysostom. "Yn hytrach, deddf ddwyfol yn gyffredinol,"---Koppe. "Yr wyf yn cael deddf neu gyfansoddiad yn fy natur,"---Calvin, Vemema. Limborch, Michaelis, Botten, Ammon. "Wrth y *ddeddf* y meddylir deddf y daioni,"---Tholuck, Knapp.

"Nid myfi," ebe'r gwrth-ddadleuwr twyllodrus—"Nid myfi a regodd y rheg a glywsoch o'm genau yn awr; nid myfi a feddwodd ddoe pan y'm gwelsoch yn cwympo i'r ffos gan feddwdod: nid myfi a darawodd fy nghymmydog pan welsoch fy nwrn yn ei gyrhaedd—nid myfi fy hun sydd yn gwneuthur un o'r drygau a gyflawnir gan fy aelodau. Gwnelwyf fi y pechod a wnelwyf, arall sydd gyfrifol, ac nid myfi." Pwy ynte, yw y gwneuthurwr o'r drygau? "O, y lletywr—y gwr dyeithr sy'n lletya ynof fi, sef rhywun a elwir *Pechod*. Efe yn

unig sydd i'w feio—efe sydd i'w gondemnio: gwrthrych tosturi yn unig ydwyf fi. Truan wyf fi; drwg yw y lletywr." Ystyriai fod y lletywr hwn wedi myned yn arglwydd ar ei holl aelodau, gan eu gosod ar ei waith drwg ei hun yn barhaus; tra na allai efe, yr hen arglwydd a hen berchenog, gael gan hyd yn nod ei aelodau ei hunan, symmud cam wrth ei alwad, na pheidio ychwaith wrth ei ewyllys. Nid oes yma ond ailddweyd yr hyn a gawsid yn adn. 17.

Mae'r gair *deddf* yn yr adnod hon wedi peri llawer o drafferth i'r Esbonwyr. Eithr y sawl a ystyrient Paul yn llafaru am dano ei hun, yn unig, oedd y rheiny. Gwir, fod y fannod o flaen y gair *deddf (nomos)*, fel pe cyfeirid at y ddeddf Foesenaidd, fel arferol; eithr pan y cyfeirir at hòno yn yr adnod nesaf, dywedir "cyfraith Duw," yr hyn sy'n arddangos nad yw y gyfraith a gawn yn yr adnod hon yr un gyfraith â'r llall. Ar ol i'r cyfeiliornwr ollwng Pechod yn lletywr, ac o ganlyniad yn arglwydd, ar ei aelodau, aeth yn naturiol i'r cyfryw arglwydd osod deddf i'r aelodau iswasanaethol a chaeth hyn: a thyna yr hyn a broffesa y dyn dan sylw megys mewn ffaith yn bod.

22 *Canys ymhyfrydu yr wyf yn nghyfraith Duw, †yn ol y dyn oddimewn.

23 Eithr yr ydwyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau, yn ‡gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl, ac yn fy nghaethiwo i ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelodau.

* "Mae dynion diadgenedledig yn tystio eu bod fel hyn,"---Rosenmuller. † Arferai Iuddewon yr oes hòno, a'r oesau diweddarach, ddywedyd fod dyn oddimewn da, a dyn oddiallan drwg, yn mhob un; gwel Jalkut Rubeni, fol. 10, 3; Philo p. 438 B. Ond, gwel ragor o gyfeiriadau Iuddewig yn Grotius, Carpzov, a Koppe, ar y lle. Deilliasai y dyb hon allan o Pythagoras a Plato, philosophyddion Groegaidd; o'r hyn gwel yn Plato Republ. 9, &c., Hierocles, a Plantus, a Josephus, ydynt wedi britho eu hysgrifeniadau o honi. ‡ "Yn gwrthryfela yn neddf fy meddwl," yw darlleniad pedwar o'r hen grwyn-fiblau henaf, ynghyd ag amryw ereill, heblaw y cyfleithadau Coptaeg, Sahidaeg, Vulgate, hen feiblau Lladin henach fyth. Felly darllenai beiblau Jerom, Clement, Ambros, a Hilarius. "Yn caethiwo deddf fy meddwl," medd yr hen groen-feibl henaf.

Ymhyfrydu *(sunêdomai)*; yma, *to delight in any thing with others:* cydlawenhau ag ereill mewn rhywbeth—"Minnau wyf un o'r rhai sydd yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw." Ereill a'i deonglant yn—"Ymhyfrydu yn hollol a thrwyadl." Nid yw y gair i'w gael yn un adnod arall.

Y dyn oddimewn *(hoesô anthrôpos)*, y meddwl, enaid. Ceir hefyd yn Eph. 3, 16; oddiwrth yr hyn y dylid cofio, fod Paul ei hun yn arferyd y gair hwn, yn gystal â'r Platoniaid; er mai eu hathrawiaeth hwy yn unig ydoedd hòno—fod y dyn oddimewn yn dda pan fyddai y dyn oddiallan yn ddrwg,

Aelodau *(ta melê)*; yr aelodau gydâ'u gilydd, neu yr holl gorff, fel ag y mae efe yn eisteddle nwydau a theimladau. Ceir yn Pen. 6, 13, 19; a 7, 5, 23; Col. 3, 5; Iago 4, 1; 1 Cor. 6, 15.

Meddwl *(nöos)*, yr egwyddor feddyliol; eisteddle y nwydau ys-

brydol, a'r moesol dueddfryd, megys yn pen. 1, 28; a 12, 2; 1 Cor. 1. 10; Eph. 4, 17, 23; Col. 2, 18; 1 Tim. 6, 5: 2 Tim. 3, 8; Tit. 1, 15, Arferir am galon, rheswm, cydwybod, mewn cyferbyniad i nwydau corfforol, yma ac yn adn. 25; Esa 10, 7, 12. *Deddf* a arferir weithiau am reol, *standard*, i farnu neu weithredu wrthi: megys yn pen. 3, 27; yma; ac yn adn. 25; a 8, 2, 7, 9, 31.

CAETHIWO *(aichmalôtizô)*, *to lead captive, subdue, bring inta subjection;* goresgyn, dwyn danodd. Ceir yn yr un ystyr yn 2 Cor. 10,5.

Gwelwn mai yn ei aelodau ef yr oedd deddf yr arglwydd, Pechod, a'i bod drwy yr aelodau yn goresgyn y dyn oddimewn, sef yr hwn a dybiai efe oedd yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw. Mor anhawdd yw cydweled â'r cyfeiliornwr hwn! Os oedd Paul yn awr, tra yn ysgrifenu yr adnod hon, yn gaeth, pa fodd y gallai efe ddywedyd yn mhen pedair adnod (8, 2) ei fod wedi ei ryddhau oddiwrth ddeddf pechod? Bod yr un dyn yn gaeth yn awr, a chwedi ei ryddhau hefyd, sydd anmhosibl.

24 Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth *gorff y farwolaeth hon?

25 Yr wyf fi yn diolch i Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Felly gan hyny, yr wyf fi fy hun â'r meddwl yn gwasanaethu cyfraith Duw; ond â'r cnawd, cyfraith pechod.

* "Sefyllfa o lygredigaeth a gwendid," medd D. Martin, Poole, Walford. "Corff y farwolaeth oedd deddf Moses,"---Slade, Rosenmuller. "Llefara Paul yn ei berson ei hun,"---Paley. "Cwyna rhag bob deddf gweithredoedd fel eu gilydd,"---Bloomfield, Theophylact. "Y corff hwn sy'n agored i farwolaeth,"---Amryw, megys Crellius, Vorst, Schoettgen, Koppe, Hardy. "Y cyflwr sy'n gorphen mewn ail farwolaeth,"---Paley. "Cyfeirir at y gosp o gylymu corff marw ar gefn y byw,"---Doddridge. Eithr nid oes namyn dychymmyg Virgil (Æn. 8, 483, &c.) dros fodolaeth y fath arferiad. "Ond gwasanaethu cyfraith Duw yr wyf fi â'r meddwl, &c.,"---Macknight.

*Ys truan, &c.*, arferir yn ffigwrol yma, ac yn Dat. 3, 17: Salm 137, 8; ond ei ystyr llythyrenol yw dyoddef llafur a chaledi, oddiwrth egnion corfforol trymion. Ni fynai y dyn hwn gyfaddef ei fod yn ddrwg; ond truan, er ei fod yn parhaus fethu cwblhau yr hyn oedd dda.

*Corff*, gair gwahanol oddiwrth *cnawd*, yr hwn a arferir yn hytrach am sylweddau y corff. Gwelwn nad oedd efe yn cwyno rhag calon ddrwg, nac ewyllys gyndyn; ond rhag ei gorff yn unig. Ei gorff oedd yn ei gyssylltu ef â marwolaeth, ac nid ei amcanion, canys yr oeddynt hwy yn berffaith wrth ei fodd, ac yn gydunol â chyfraith Duw.

Gwelwn ei fod yntau yn diolch i Dduw am rywbeth! diau, nad am gorff y farwolaeth, nac am fod ei aelodau yn gwasanaethu deddf pechod. Pe diolchasai Paul yn ei berson *ei hun*, ychwanegasai destun ac achos ei ddiolchgarwch. Eithr arferir y gair weithiau am foli, canmol, bendigo, ac addoli, megys yn pen. 1, 21, 1 Cor. 14, 17: a gall mai ei amcan oedd hysbysu ei fod yn addoli a moliannu Duw, yn gyffredinol. Ereill â'i darllenant rhwng cromfachau, fel bloedd o ddiolchgarwch ar ganol cwynion; ond, nid diogel iawn yw llechu mewn noddfa feirniadol o'r fath pan fethom gyssylltu ymadroddion.

GWASANAETHU (*douleuo*), *to be a slave or a servant, to serve*; sef gwasanaethu yn y modd mwyaf hollol. Wele grynhöad o'r holl adnodau blaenorol ar y pwnc, ynghyd. Nid tystio fod ei feddwl neu ysbryd yn tueddu at, ac yn dymuno, gwasanaethu cyfraith Duw, y mae efe; ond dywedyd yn eglur ei fod yn ei gwasanaethu drwy benderfynu yn berffaith a pharhaus, i ufyddhau iddi, er ar yr un pryd, yn peidio, neu yn hytrach methu â chael gan ei aelodau, ufyddhau iddi mewn dim. Gwylied fy anwyl ddarllenwyr rhag tybied y tâl dymuniadau da yn unig i gyfansoddi gwir Gristion. Os na byddis yn *rhodio* yn gystal ag yn dymuno, yn ol yr Ysbryd, meirw byth a fyddwn!

## CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. VIII.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) ONI wyddoch chwi, frodyr (canys wrth y rhai sydd yn adnabod cyfraith yr wyf fi yn llefaru), fod y DDEDDF yn arglwydd ar y dyn tra byddo efe byw? (2) Canys y wraig y mae iddi wr sydd yn rhwym wrth gyfraith i'r gwr, tra byddo efe byw: ond os bydd marw y gwr, y mae hi wedi ei rhyddhau oddiwrth gyfraith y gwr. (3) Ac felly, tra byddo byw y gwr, godinebus y gelwir hi, os eiddo gwr arall fydd hi; eithr os marw fydd y gwr, y mae hi yn rhydd oddiwrth y gyfraith [a nodwyd], i beidio â bod yn odinebus er yn eiddo gwr arall. (4) Felly chwithau hefyd, fy mrodyr, ydych wedi meirw gyda'r DDEDDF drwy gorff Crist, i fod o honoch yn eiddo un arall, [sef] yr Hwn a gyfodwyd o fysg y meirw, fel y dygem ffrwyth i Dduw. (5) Canys pan oeddym yn y CNAWD, gwyniau y pechodau ag oeddent drwy y DDEDDF, a weithient yn ein haelodau ni, i ddwyn ffrwyth i'r FARWOLAETH. (6) Eithr yn awr y rhyddhawyd ni oddiwrth y ddeddf, wedi ein meirw [tra] yn yr hyn [ystod, yn mha un] y'n hattelid; fel y gwasanaethem mewn newydd-deb ysbryd, ac nid yn hender y llythyren.

GWRTH-DDADL (7) Pa beth, wrth hyny, a ddywedwn ni? Ai "Pechod yw y DDEDDF?" Dim mewn un modd. "Eithr ni chymmeradwyaswn i y pechod, oni buasai drwy ddeddf: canys y trachwant nid adnabuaswn, oni buasai i'r DDEDDF ddywedyd, 'Na thrachwanta.'" (8) Ond y PECHOD, wedi iddo gymmeryd achlysur drwy y gorchymyn, a weithiodd ynof fi bob trachwant; canys tra heb ddeddf, marw ydoedd PECHOD: (9) ond myfi, tra gynt heb ddeddf, oeddwn fyw; eithr y gorchymyn a ddaeth, adfywiodd y PECHOD, ond marw wnaethum i; (10) a'r gorchymyn, yr hwn ydoedd i mi i fywyd, hwnw ei hunan a gafwyd i farwolaeth; (11) canys y PECHOD, ar ol cymmeryd achlysur drwy y gorchymyn, a'm twyllodd i, a thrwy hwnw a'm lladdodd. (12) Felly yr oedd deddf, yn ddiau, yn santaidd, a'r gorchymyn yn santaidd, a chyfiawn, a da. (13) A wnaethpwyd yr hyn oedd dda, gan hyny, yn farwolaeth i mi? Dim mewn un modd; eithr y PECHOD, fel yr ymddangosai drwy yr hyn oedd dda yn bechod, pan weithiodd farwolaeth i mi, [a'i gwnaeth;] fel y byddai y PECHOD yn dra phechadurus drwy y gorchymyn. (14) Canys nyni a wyddom mai ysbrydol yw y DDEDDF, eithr cnawdol ydwyf fi, wedi fy ngwerthu dan y PECHOD. (15) Canys nid wyf yn foddlawn i'r hyn wyf yn ei wneuthur; canys nid y peth wyf yn ei benderfynol amcanu, hyny yr wyf yn ei gyflawni; eithr y peth wyf yn ei gasâu, hyny yr wyf yn ei wneyd. (16) Gan hyny, os y peth nad wyf yn ei benderfynol amcanu, hyny yr wyf fi yn ei wneyd, yr wyf fi yn cydsynio â'r DDEDDF mai da ydyw. (17) Felly yn awr, nid myfi sydd mwyach yn gwneuthur y peth, eithr yr hwn sydd yn preswylio ynof fi, sef PECHOD. (18) Mi a wn, gan hyny, nad oes ynof fi, hyny yw, yn fy NGHNAWD i, ddim da yn preswylio; canys, er fod y penderfynol amcanu yn ymbresennoli ynof fi, cwblhau yr hyn sydd dda nid wyf yn medru arno. (19) Canys nid y daioni ag wyf yn ei benderfynol amcanu, yr wyf yn ei wneyd; eithr y drwg ag wyf heb ei benderfynol amcanu, hwnw yr wyf fi yn ei gyflawni. (20) Felly, os y peth nid wyf yn ei bender-

fynol amcanu, hwnw yr wyf fi yn ei wneyd, nid myfi sydd mwyach yn gwneuthur hyny; eithr yr hwn sydd yn preswylio ynof fi, sef PECHOD. (21) Yr wyf fi, gan hyny, tra b'wyf yn penderfynol amcanu gwneuthur y da, yn cael y ddeddf hòno ynof fi, mai y drwg sydd yn ymbressennoli ynof. (22) Canys, er fy mod yn hollol ymhyfrydu yn NEDDF DUW, yn ol y DYN ODDIMEWN; (23) gwelea yr wyf ddeddf arall yn fy AELODAU, yn gwrthryfela yn erbyn deddf fy MEDDWL, ac yn fy nghaethiwo i ddeddf y PECHOD, yr hon sy'n bodoli yn fy AELODAU. (24) Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared allan o gorff y farwolaeth hon? (25) Yr wyf fi yn talu addoliad diolchus i Dduw drwy Iesu Grist ein Harglwydd. Felly gan hyny, yr wyf fi fy hun yn ddiau â'r *Meddwl* yn gwasanaethu *Deddf Duw*, ond â'r *Cnawd, Deddf Pechod.*"

---

## PENNOD VIII.

### § 6. ATEBIAD CONDEMNIOL YR AWDWR I WRTHDDADLEUON YR IUDDEW PLATONAIDD A PHENRYDD, AG A GANIATAWYD I YMDDANGOS YN Y DOSPARTH BLAENOROL. PEN. viii, 1—39.

AR ol caniatâu i'r gwrthddadleuwr dan sylw, haeru fod ei feddwl yn rhinweddol tra'r oedd ei fuchedd allanol yn bechadurus, mae yr apostol yn troi arno, gan ei hysbysu, yr un modd ag y cyhoeddasid gan ei Arglwydd o'i flaen, mai allan o'r galon y tardda gweithrediadau, ac mai y rhai a rodiant yn ol cyfarwyddiadau yr Ysbryd, yn unig, yw y rhai diogel rhag y ddamnedigaeth (adn. 1, 2). Priodolir y cyfiawnhad hwn i'r hyn a wnaeth Crist drwy ei farwolaeth (3, 4); ac amlygir mai y sawl a feddiennir gan Ysbryd y person a aberthwyd felly, ac a brofant y cyfryw feddiant drwy ryngu bodd Duw yn eu hymarweddiad, yw y rhai sy'n eiddo iddo ef, ac a adgyfodir o'r bedd ar ddelw yr un Ysbryd, ganddo ef (5—13). Mai y rhai hyn yn unig yw plant Duw (14—16); mai ei blant yw ei etifeddion ef (17), nad faint o helbulon a ddichon eu cyfarfod cyn meddiannu eu hetifeddiaeth (18—25). Fod yr Ysbryd a breswylia ynddynt yn talu cymmaint o sylw i'w hanghenion, nes y mae efe, hyd yn nod yn eu cynnorthwyo i weddio ar Dduw (26, 27); tra mae tragwyddol benderfyniadau Duw yn sicrhau i'r unrhyw wrthddrychau, gydweithrediad pob peth er eu daioni (28), a'u tragwyddol ddiogelwch (29—39).

NID oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, *y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd.

* Gadewir oddiyma hyd ddiwedd yr adnod, allan o bump o'r crwyn-feiblau henaf, a rhai ereill, ynghyd â'r Coptaeg, Sahidaeg, Ethiopaeg, a rhai beiblau Lladin. Nid yw y geiriau yn cael lle yn awr yn y testamentau Groeg mwyaf derbyniol, megys eiddo Knapp, Mill, Semler, Bengel, Lachmann, Vater, Ruckert, Griesbach, a Scholz. Dadleua Bloomfield a Stuart drostynt. "Bod yn Nghrist, yw bod mewn undeb dirgeledig ag ef drwy ffydd,"—Cobbin, Stuart; cymharer 2 Cor. v, 17: Rhuf. xvi, 7—11; 1 Cor. i, 2. "Cyssylltir yr adnod hon â'r 6ed adnod o'r bennod flaenorol."—Crellius, Grotius, Locke, Taylor, Stuart. "Cyssylltir â diwedd y bennod flaenorol," medd Barnes, Doddridge.

GAN HYNY *(ara nun)*, yn ol hyn, mewn canlyniad i'r hyn a ddywedwyd; sef a ddywedwyd am fod y Saint yn eiddo i'r Hwn a gyfodwyd o feirw, yn pen. vii, 4, 5, 6, yn lle eu bod yn parhau o dan y ddeddf.

DAMNEDIGAETH *(katacrima), judgment against, condemnation;* barn

gondemniol yn erbyn. Diau eu bod dan gondemniad am eu pechodau, hyd nes eu rhyddheid, yn ol yr adnod ddilynol; eithr ystyrir hwynt mewn ffafr a rhyddid o hyn allan.

Cwynasai gwr y seithfed bennod rhag y farwolaeth o gondemniad a dynid arno gan ei aelodau neu ei gorff, er gwaethaf ei enaid, heb un llwybr o ddiangfa yn ei olwg; tra gorfoleddda gwr yr wythfed bennod mewn gwaredigaeth odditan y ddamnedigaeth a ddygasai pechod arno ef; ond gofala am eglurhau, mai i'r sawl oedd â'u haelodau yn gystal â'u meddwl, yn rhodio yn ol yr Ysbryd, yr oedd hi. Condemniai drwy yr un gair hwn, holl ddiogelwch gwr y seithfed bennod.

Yn Nghrist Iesu *(en Christô Iesou)*. Arferir yn y cyfeiriadau canlynol, wrth olrhain pa rai ceir cymhorth i ddeall ei ystyr:—

Ioan xv, 2, 4, 5: lle cyfeirir at fod yn Nghrist fel y mae y ganghen yn y pren; ac yntau ynom ninnau fel y mae y pren yn y canghenau. Sonir hefyd am fod ein arosiad ynddo ef yn dibynu arnom ein hunain, a'n ffrwythloniad yn hollol ddibynu ar yr unrhyw arosiad. Ychwanegir fod anffrwythlondeb yn brawf o fod y ganghen wedi tori y cyssylltiad blaenorol â'r pren; ac nid yn profi na bu hi erioed mewn cyssylltiad ag ef.

Ioan vi, 56: lle cawn fod yr hwn a dderbynio eiriau Crist, sef yr hwn a fwytao ei gnawd ac a yfo ei waed ef (gwel adn. 63), yn trigo yn Nghrist, a Christ felly ynddo yntau. Yn adn. 64, ychwanegir fel pe mai credu ynddo ef a feddylid wrth hyn oll; ac yn adn. 65, fel pe mai peth wedi ei roddi i ddyn oddiwrth y Tad oedd y credu neu ddyfodiad hyn at Grist.

Ioan xiv, 20: a ddywed fod canlynwyr Crist ynddo, fel y mae yntau yn y Tad, ac ynddynt hwythau. Eglurha yr adnod ddilynol, mai cariad at eu gilydd oedd yr undeb dan sylw.

Rhuf. xvi, 7, 11: lle sonir fod rhyw rai, wrth eu henwau, yn Nghrist o flaen yr apostol. Prawf adn. 11, debygwyf, mai dwyn yr enw o Gristionogion a feddylid wrth yr undeb hwn.

1 Cor. i, 30, a ddywed fod y Corinthiaid o Dduw yn Nghrist Iesu.

1 Cor. ix, 1, 2, a ddywed mai gwaith Paul, ynghyd â sel ei apostoliaeth, oeddynt hwy, yn yr Arglwydd.

2 Cor. v, 17, a'n hysbysa fod pwy bynag sydd yn Nghrist, yn greadur newydd, gyda chyfeiriad at bethau yr hen oruchwyliaeth.

1 Thes. iv, 16, a gyfeiria at rai yn meirw yn Nghrist. Felly 1 Cor. xv, 18; Dat. xiv, 13, Cawn yr ymadrodd yn arferedig am Gristionogion fel y cyfryw, yn 2 Cor. xii, 2; Gal. i, 22; 1 Pedr v, 14; Rhuf. xii, 5; Gal. iii, 28, &c.

Oddiwrth hyn oll gwelwn, nad beth am ddamnedigaeth yn gyssylltiedig â'r naill a'r llall o'r moddau o fod yn Nghrist, ag sydd yn y sylwadau uchod, nad oes damnio i'r sawl fo ynddo yn ol ein testun; sef y rhai fo wedi eu rhyddhau odditan arglwyddiaeth neu ddeddf pechod, drwy yr efengyl, yr hon a gyfenwid yn ddeddf Ysbryd y bywyd, yn yr adnod ganlynol.

2 Canys *deddf Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth.

* "Rhyddhaodd di," yw darlleniad dau hen feibl Groeg tra pharchus, yr hen Syraeg, a rhai beiblau ereill. "Rhyddhaodd ni," medd yr Arabaeg. "Wrth ddeddf y meddylir gosodiad, rheol,"—Stuart. "Deddf yr Ysbryd yw ei ddylanwadau,"—Stuart, Barnes, Walford. "Wrth Ysbryd y meddylir athrawiaethau Cristionogaeth," Amryw. "Nage, ond yr Ysbryd Glân,"---Chrysostom, Walford. "Wrth ddeddf yr Ysbryd y meddylir yr egwyddor newydd yn y galon,"---Hodge. "Deddf pechod a marwolaeth oedd deddf Moses,"---Hodge. "Deddf pechod yw dylanwad llywodraethol pechod,"---Barnes, Walford.

Mae *bywyd* yn Nghrist Iesu i'r hwn sydd dan gondemniad, ac mewn ystyr yn farw. Mae Ysbryd bywyd i'r cyfryw ynddo ef. Deddf yr Ysbryd hwnw yw yr efengyl, neu yr ammodau, rheol. cyfraith awdurdodol, wrth ba un y cyfrenir y bywyd. Credu yn y Mab yw y ddeddf am hyn. Dengys y cyfeiriadau uchod yn Ioan, fod y credu a'r bod yn Nghrist yr un peth, ac yn arferedig y naill am y llall: felly yma hefyd.

*Rhyddhau* dyn oddiwrth *ddeddf pechod*, yw ei osod fel nad yw efe dan ennynfa lywodraethol i ufyddhau iddo. Rhyddhau dyn oddiwrth *ddeddf marwolaeth*, yw maddeu iddo y pechod a haeddasai y farwolaeth. Cynnwysa yr efengyl y ddeddf neu reol ar hyn hefyd.

3 *Canys yr hyn ni allai y ddeddf, oherwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, †Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ‡ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd.

* "Oherwydd ei bod yn wan drwy y cnawd," nid yw yn y beiblau Ethiopaeg. "Deddf Moses, oherwydd llygredd dynion, ni allai,"---Walford, Stuart. "Y ddeddf foesol, yn ei hanallu i ryddhau oddiwrth bechod a chondemniad,"---Barnes. "Yn y ddeddf yn unig yr oedd y gwendid, Heb. vii, 18, 19."---Hodge, Bloomfield. "Wrth y cnawd y meddylir egwan natur y rhai dderbyniasant y ddeddf,"---Bloomfield. "Lladd y cnawdol chwantau oedd yr hyn a fethwyd gan y ddeddf,"---Stuart. † "Corff ymddangosiadol yn unig oedd ganddo,"---Y Docetae. "Yn gyffelyb i gnawd pechod,"---Bloomfield. "Yr ystyr yw, ddarfod ymddwyn ato fel at ddyn pechadurus,"---Belsham. ‡ "Efe a ddanfonwyd oherwydd pechod; hyny yw, i symud ymaith wendid moesol a seremonïol Iuddewon a Chenedloedd, ac i'w harwain i gyflwr o gyfiawnhad a ffafr,"---Belsham. "A thrwy aberth dros bechod,"---J. Williams, Barnes, Hodge, Whitby, Hammond, &c., &c. "I ddileu pechod, drwy ei esiampl," medd Taylor, a Crellius. "Condemniodd bechod yn nghorff Crist," medd Bloomfield, a Reiche. "Condemniodd ef drwy ei ladd ynom ni,"---Stuart.

*Y ddeddf.* Rhag tybied o neb mai am ddeddf Moses y meddyliai efe yn yr adnod flaenorol, efe a nododd y deddfau hyny drwy eu galw yn "ddeddf pechod," "deddf marwolaeth," a "deddf Ysbryd y bywyd:" yma efe a ddywedodd y *ddeddf*, gan ddodi y fannod o'i blaen. Ond, pa ddeddf a feddylia efe? Eithr anghymhwys yw gofyn pa ddeddf o eiddo Moses oedd, tra nad oedd ganddo ef ond un, yn ol barn yr apostolion, o leiaf. Yr hyn ni allai y ddeddf oedd "condemnio pechod yn y cnawd."

*Trwy y cnawd:* naill ai trwy chwantau pechadurus dynion, pa rai a elwir, meddant, yn gnawd; ai trwy gnawdolrwydd y ddeddf, canys dywedir mai cyfundrefn gnawdol ydoedd hi; ai drwy gnawd, neu gorff

dynol, tebyg i eiddo ein Harglwydd. Mai yr olaf a feddylid sydd debycach, oddiwrth fod yr un adnod yn galw corff Crist yn gnawd yn mha un y condemniwyd pechod, gan brofi mai rhy wan i allu condemnio pechod drwy aberth o gorff dynol, neu ddynoliaeth, ydoedd Moeseniaeth. Pan ganfu Duw fod y ddeddf yn rhy wan i ddwyn allan yr aberth dynol hwn, efe a ddanfonodd ei Fab yn y cnawd neu ddynoliaeth hòno, yr hon oedd gyffelyb i ddynoliaeth bechadurus mewn pob peth ond ei phechod: a thrwy farw o Grist felly dros bechod, Duw drwy y ddynoliaeth hòno a gondemniodd bechod. Ystyrir Pechod yma etto, fel yn y ddwy bennod flaenorol, yn arglwydd, gan yr hwn yr oedd meddiant ar fywyd dynion, ei gaethweision; ac yna cawn gynllun Duw i'w gondemnio yntau, gan yr hwn (sef pechod) yr oedd hawl gondemniol ar bechaduriaid. *Am bechod;* neu drwy osod ei Fab ei hun can belled â'r natur hòno a elwid yn "gyffelybiaeth cnawd pechadurus," yn y sefyllfa a elwid yn "dros bechod:" sef fel y gwyr darllenwyr yr hanes aberthawl drwy y ddau Destament, ei osod yn aberth drosto, ac i farw fel y cyfryw: drwy hyn oll, meddaf, y daethpwyd i ben â chondemnio arglwydd dienyddol dynolryw, se Pechod. *Condemnio pechod,* eilwaith, sydd ymadrodd i'w ddeall mewn cyssylltiad â'r holl adnod. Rhaid fod pechod yn parhau mewn awdurdod hyd nes y collai efe ei hawl i ddienyddio pechadur. Nid oedd dim ond Iawn dros bechod a allasai fyned â'i hawl hon oddiarno. Ei gondemnio ef i hollol ddifodiad fel arglwydd dwyreinol ar fywydau, a feddylir ynte. Mae dynion ag oeddynt heb yr Iawn yn feirw anobeithiol byth, yn awr yn mwynhau bywyd o obaith; a hyny oherwydd fod damnedigaeth wedi ei symud drwy aberth Crist. Nid ydym i dybied fod dim, gyda golwg arnom ni, yn aberth Crist, yn mhellach na sicrhau rhyddid i ni ar ammodau deddf Ysbryd y bywyd. Mae y byd i gyd yn rhydd oddiwrth anobaith; ond y crediniol yn unig sydd yn rhydd bersonol ac mewn ffaith, oddiwrth ddamnedigaeth haeddiannol ei bechodau.

4 Fel y cyflawnid *cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd.

* "Genym ni,"---Stuart, J. Williams. "Drosom ni fel Iawn,"---Rhai. "Ynom ni yn egwyddorol,"---Rhai. "Wrth gyfiawnder y ddeddf y meddylir yr hyn ofynid ganddi,"---Whitby, Bloomfield, Slade, Taylor, Locke, Turner, Hodge. "Nage; ond y gwobrwyon a addawai hi, Lef. 18, 5."---Ereill.

Cyfiawnder *(dicaiôma), a decree, law, ordinance, precept;* gosodiad. Arferir yn Luc i, 6; Rhuf. i, 32, am gyfiawnder Duw, neu ei ofynion yn ol deddf natur: yn ii, 26, ac yma, am ufydd-dod i'r gyfran foesol o ddeddf Moses. Un o amcanion condemnio pechod ar y groes, oedd cael dynion i garu Duw, &c., yn ol gofynion Moses; eithr nid yw efe yn dywedyd mai hyn oedd yr holl amcan mewn golwg. Y mae Crist ei hun yn galw am uwch moesoldeb na dim o fewn y gyfraith.

*Ynom ni,* yw trwyom ni, fel gweithredyddion.

5 Canys y rhai *sydd yn ol y cnawd, am bethau y cnawd y

maent yn syniaw: eithr y rhai sydd yn ol yr Ysbryd, am bethau yr Ysbryd.

6 Canys †syniad y cnawd, marwolaeth yw; a syniad yr Ysbryd, bywyd a thangnefedd yw.

* "Ydynt dueddol i bethau y cnawd,"---Walford, Schleusner. "Dan awdurdod trachwantau y cnawd,"---Barnes, Stuart. "Gair yw hwn am y rhai dibroffes," Koppe. "Syniaw sydd air am y farn, ynghyd â serchogiad yr ewyllys,"---Taletus. † "Meddwl cydgordiol â thrachwantau cnawdol,"---Stuart. "Arferir marwolaeth a bywyd, fel effeithiau am achosion,"---Bloomfield. "Ochri gyda'r cnawd," medd Walford.

Syniaw *(phroneo)*. Yn y Testament Newydd arferir am ysgogiad y meddwl; am fod â'r cyfryw feddwl am beth; ac, am deimlo fel ar fel tuag at beth neu berson. Yma, ei ystyr yw, gosod y meddylfryd ar, a thueddu at bethau Phariseaidd, drygionus yr oes; sef, eu trachwantau caniataol, a'u defodau arwynebol i'w cuddio hwynt.

*Marwolaeth yw*. Nid ufyddhäai y Phariseaid hyn byd yn nod i ddeddf Moses, er ei holl ymffrost ef. Yr oedd eu trachwantau yn haeddu marwolaeth gan eu Moses eu hunain, a pha faint mwy gan Grist, i'r hwn y mae gymmaint uwch safon moesoldeb.

*Syniad yr Ysbryd*, yw y meddylfryd a gartrefo gyda phethau deddf Ysbryd y bywyd, sef yr efengyl.

7 *Oblegid syniad y cnawd sydd elyniaeth yn erbyn Duw; canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw: †oblegid nis gall chwaith.

* "Nid yw yr enaid yn anianyddol lygredig; ond ei chwantau a'i feddylfryd yn unig,"---Barnes. "Mae natur pethau yn peri i'r syniadau cnawdol fod yn elyniaeth yn erbyn Duw, canys pan heb fod felly, nid y syniadau hyny ydynt,"---Stuart. † "Oblegid nis gwna ychwaith,"—Bloomfield. "Oblegid nis gall yn llythyrenol hyny,"---Luther. "Pa fodd y gall eira fod yn dwym? canys pan dwymer, nid eira fydd efe,"---Awstin. "Ni ddywed yr apostol na all y dyn drwg droi yn ddyn da, ond nad yw efe yn dda tra mae efe yn ddrwg,"---Chrysostom. "Ni all y cyfryw ddechreu y gwaith o ymddiwygiad, mwy na'r gareg ei hun,"---Carpzov. "Cyfeirir, nid at yr enaid, ond at y syniad,"---Barnes, Hodge.

*Syniad y cnawd* oedd yn cynnwys cymmaint o anufydd-dod i Dduw, dan Moses a Christ, fel yr oedd yn drwyadl elyniaeth tuag ato. Mor bell â hyn yr aethai cyfundrefn Moses yn nwylaw y Phariseaid dan sylw. Rhybyddion a cheryddon ein Harglwydd iddynt a arddangosasant pa mor erchyll oedd eu buchedd y pryd hyny; ond dringodd yr oes ganlynol yn uwch eilwaith mewn eofnder, trais, trachwant, a rhagrith. Nid dywedyd fod yr enaid na'i gynneddfau yn elyniaeth fel hyn, y mae'r apostol; ond fod y syniad dan sylw felly.

*Nis gall chwaith;* sef, nis gall gelyniaeth fod yn ddarostyngedig, hyd yn nod i isel foesoldeb deddf Duw i Moses. Pe gallai hyny fod, yna gallai gelyniaeth fod yn gariad. Nid son am y dyn, ond am y syniadau cnawdol sydd ynddo, yr ydys.

8 A'r rhai *sydd yn y cnawd, ni allant ryngu bodd Duw.

* "Sydd yn rhodio yn ol y cnawd,"---Conquest. "Gan hyny, ni allant, &c.,"---J. Williams, Walford, Barnes. "Ni allant fod wrth ei fodd tra felly,"---Hodge, Bloomfield, Stuart. "Nid yw yr ymadrodd yn arddangos na allant wella,"---Barnes. "Megys na all deiliaid gwrthryfelgar foddhau eu brenin,"---Grotius.

"Nid yn unig, ni all y syniadau Phariseaidd dan sylw (ebe'r apostol) fod yn ddim gwell na gelyniaeth yn erbyn Duw; eithr ni all y Phariseaid eu hunain, y rhai a'u proffesant, ac a'u coleddant, ryngu bodd iddo mewn dim a wnant ychwaith, tra b'ont yn dal at y fath syniadau â'r rhai yna." Melldithiai yr egwyddorion Phariseaidd hyn, gan gymmaint eu hysgelerder, bob peth a allai eu coleddwr ei gyflawni. Nid oedd ei bethau goreu—y rhinweddau gorchymynedig gan Dduw, pan ddygwyddai iddo eu cyflawni, yn boddio Duw, oherwydd fod gwraidd cnawdolrwydd ei gau-grefydd yn mallu a dryg-sawrio ei holl amcanion. Eithr, pe troai y cyfryw ragrithiwr oddiwrth ei gnawdolrwydd, a chofleidio trefn yr efengyl, nid 'yn y cnawd' y byddai. Ac, os fel hyn y dywed yr apostol am y rhai hyny, oherwydd eu bod yn llochi trachwantau, dan gysgod defod enwaediad, cyfiawnder personol Abraham, a defodau dychymmygol y sect, yr un modd y dywedasai efe am yr unrhyw ddynion trachwantus yn ein hoes uinnau, y rhai a lochesant drachwantau y cnawd, dan gysgod rhyw gau-dybiau am gyfiawnder Crist, gyda'r Ymneillduwyr Protestanaidd; neu dan gysgod croes-dalcenawg y bedydd a chymmun gwely angeu, gyda'r Llanyddwyr; neu dan gysgod yr hyn a elwir yn grefydd Natur yn ngoleu gras, gan y bobl hanner-baganaidd sy'n preswylio ar ymylon moddion gras efengyl. Cyfiawnder Duw yn Nghrist oedd lloches yr apostol. Ysbryd Crist, sef y teimlad moesol newydd a ddysgleiriodd ar ein byd, o wyneb Haul y cyfiawnder, oedd teimlad trwyadl ei grefydd ef. Serch anniffoddadwy at y ddelw hon a'i hannogai ef—a'i parhaus annogai ef, i ymwthio drwy bob rhwystrau i'w hefelychu, ac i gyflawni campau o hunan-ymwadiad, oddiar garedigrwydd calon at y gwr a gymmerth arno ei gondemniad ef; yr hyn nid oedd, eilwaith, ddim oll ond ymdebygoliad i'r ddelw o gariad ac ewyllys da, ag a oleuasai ein byd tywyll, dros y byth-gofus dair blynedd hyny, o fywyd a marwolaeth Pen Mawr y gyfundrefn.

Ddarllenydd, rhaid i ti a minnau feddu yr un cyfiawnder, teimlo yr un Ysbryd, a dangos yr unrhyw gampau o faddeugarwch a hunanymwadiad, yn ol ein galluoedd, â hyn; onide, gyda'r crefyddwyr sy'n "cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd" y'n rhestrir yn awr gan Grist, a llai na'r dyferyn dwfr oer hwnw fydd gwobr ein crefydd yn ei diwedd! Os yn ol yr hyn o oleuni sydd yn dysgleirio oddiwrth "ei dragwyddol allu ef" y bernir y pagan; ac os yn ol yr hyn o deimladau Duw a ellid eu darllen yn nghymmanfa felltenawg Sina a'i chyfres gwyrthiau dilynawl, y bernir yr Iuddew; yn ol yr hyn o'i deimladau Ef ag a welir ar Galfaria y bernir ni. Enaid anwyl! mae *concentration* —mae cydgasgliad pob pelydrau o oleuni a fedd Haul y nef o foesoldeb ei hun, yn taro ar dy lwybr di—ar dy grefydd di—ar dy hunanymwadiad—ac O! rhaid ychwanegu hefyd, ar dy bechod di! *Mae rhyw greaduriaid a elwir* dynion *i'w cael, yn caledu cybydd-dod ac anfaddeugarwch yn ymyl Calfaria!* O holl siarad bydoedd angylaidd â'u

gilydd—o holl gyfrinach y Personau dwyfol â'u gilydd, y gair yna sy'n cynnyrchu y syndod penaf. Mae y dosparth gogoneddus, sy'n sefyll â'r naill droed ar y môr, a'r llall ar y tir, gan eu maintioli—y maent hwy yn curo eu dwyfronau canaid wrth glywed y newydd galarus yna! Digon i dynu dagrau dros ruddiau dysglaer haul—digon i droi anfeidrol gariad yn ddial—yw y fath wyrth o gybydd-dod â hwn—y fath uffern o anfaddeugarwch â hwn! Byddai dim ond y cywilydd a ymferwa yn oesol dros un o'r mynwesau sy'n nyth i'r pechod hwn, yn ddigon i wisgo pob gwedd o fewn y nef ei hunan â gwrid tragwyddol! Ac etto, gwyddys fod yn gynhes gan waed Cymreig y fath galonau â hyn!

9 Eithr chwychwi nid ydych *yn y cnawd, ond yn yr Ysbryd, od yw Ysbryd Duw yn trigo ynoch. Ac od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef.

* "Ysbryd Crist yw yr Ysbryd a gyfrenir gan Grist, neu yr hwn a'n gwna yn debyg iddo ef,"---Stuart. "Yn y cnawd, yw bod dan oruchwyliaeth gnawdol y ddeddf," Hammond, Locke, Slade. "Bod dan lywyddiaeth chwantau cnawdol ydyw," medd Chrysostom, Grotius, Bloomfield, Turner, Barnes. "Wrth Ysbryd Crist y meddylir y trydydd Person yn y Drindod," medd Theophylact, Bloomfield, Barnes, Hodge, Walford. "Nage; ond tuedd dduwiol ydyw yr ystyr,"---Rosenmuller, Middleton. "Gan fod Ysbryd Duw yn trigo, &c.,"---Belsham, "Triga yr Ysbryd Glân yn nghalonau Cristionogion, 1 Cor. 3, 16, 17; a 6, 19; 2 Cor. 6, 16; Eph. 2, 21, 22; Gal. 4, 6; ond nid y'm i dybied fod y preswyliad yn un personol,"---Barnes.

*Yn yr Ysbryd.* Pa beth yw ystyr yr ymadrodd hwn? Ai cyfeiriad yw at fod yn yr Ysbryd Glân, fel yr oedd y prophwydi dan ei ddylanwad gwyrthiol; ynte at fod dan ei ddylanwadau grasol i buro eu calonau; ai ynte y grefydd Gristionogol, neu ei theimladau, ynte pa beth yw yr ystyr o'r ymadrodd hwn? Gan na ellir gwneyd cyfiawnder â'r pwnc yn y fan yma, gwel y Traethawd ar y gair *Ysbryd* o fewn yr Epistol hwn, yn niwedd y gwaith.

10 Ac *os yw Crist ynoch, y mae y corff yn farw, oherwydd pechod; eithr yr ysbryd yn fywyd, oherwydd cyfiawnder.

* "Gyda golwg ar bechod---ar gyfiawnder," medd J. Williams. "O ran pechod ---o ran cyfiawnder," medd Conquest. "Yn agored i farw fel ereill," medd Walford, Hodge. "Wrth y corff y meddylr y cnawdol chwantau," medd Erasmus, Piscator, Locke, C. Schmidt, Stuart. "Er fod y corff i farw, mae yr enaid i fyw,"---Hodge, Tholuck, Flatt, Awstin, Calvin, Beza. "Wrth Grist yma y meddylir ei Ysbryd," Barnes, Stuart. "Er fod y corff i farw oherwydd pechod y dyn cyntaf, mae yr ysbryd i fyw byth drwy gyfiawnder yr ail Adda,"---Doddridge. "Wrth y corff y meddylir y dyn cyn ei droedigaeth, yr hwn sy'n farw heb ddim elfen bywyd ynddo,"---Barnes, Bloomfield. "Wrth yr 'Ysbryd' y meddylir y dyn newydd; 'oherwydd cyfiawnder,' yw drwy gynllun cyfiawnhaol Crist,"---Barnes, Bloomfield. "Mae y corff yn farw tuag at bechod: ni wrendy arno,"---Origen, Theodoret, Clarius, Grotius, Raphel, Taylor, Melancthon, Bucer.

*Yn farw—yn fywyd.* Adnod led dywell yw hon; y mae wedi peri trafferthion mawr i'r esbonwyr ar yr hen gynllun o ddeall yr epistol hwn.

(a) Dywedir mai yr ystyr yw marw ysbrydol. Ond, pe hyny yr ystyr, rhaid fod cyrff y saint yn feirw mewn camwedd a phechod, tra mae eu heneidiau yn fyw oherwydd cyflawnder. Eithr hefyd, sonia adn. 11 am gorff Iesu ei hun yn farw fel hyn, yr hyn ni bu efe erioed yn ysbrydol, mewn pechodau.

(b) Ereill a ddywedant mai yr ystyr yw, fod y corff yn farw tuag at bechod, fel nas gellir ei ennill i bechu. Ond, pa gyferbyniad a wneir felly rhwng dwy fraich yr adnod? Dywedir fod yr ysbryd yn fywyd. A pha beth llai na bywyd yw fod y corff yn rhy dduwiol i bechu? Y mae yr esboniad hwn yn gosod yr apostol i arferyd y gair *marw* a'r gair *bywyd* i arddangos yr un peth â'u gilydd.

(c) Esboniad arall ydyw:—"Gwir yw, fod eich cyrff i farw yn naturiol, oherwydd y pechod hwnw sydd dan sylw yn pen v, 12—21; ond y mae eich hysbryd yn fywyd oherwydd y cyfiawnder sydd dan sylw." Eithr ymddengys y gall gwrthddadl gyfodi yn mynwes y darllenydd, fod yr esboniad hwn yn dangos y difodasid yr ysbryd oni buasai gyfiawnder Crist. Gwell genyf adael yr hyn sydd i'w ddywedyd am ganlyniadau camwedd Adda, hyd y TRAETHAWD ar Bechod Gwreiddiol, ar y diwedd; etto, rhaid i mi gyfaddef mai at y deongliad hwn yr wyf yn tueddu yn awr.

*Os yw Crist ynoch*, ebe efe. Rhaid gan hyny, fod rhywbeth yn y *bywyd* hwn, ag nad yw yn y bywyd a gaiff yr annuwiolion yn yr adgyfodiad. Ond, pa anhawsdra all fod mewn meddwl, fod yr apostol yma yn cyferbynu y farwolaeth a gafwyd drwy gamwedd Adda, hyd yn nod i'r saint eu hunain, gyda'r bywyd a gaiff eu hysbryd drwy gyfiawnder yr ail Adda?

11 Ac os Ysbryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw sydd yn trigo ynoch; yr hwn a gyfododd Grist o feirw a fywiocâ hefyd *eich cyrff marwol chwi, trwy ei Ysbryd yr hwn sydd yn trigo ynoch.

* "Oherwydd ei Ysbryd, &c.," yw y darlleniad uchaf ei awdurdod, oherwydd felly y mae mewn amryw o'r ysgrifiyfrau henaf, a'r nifer liosocaf o'r rhai diweddarach, yn nghyda'r hen Syriaeg, Arabaeg, Sahidaeg, Vulgate, a hen gyfieithadau Lladin ereill; ac felly y darllenai Origen. Epiphanius, Photius, Methodius, Irenaeus, Tertullian, ac amryw dadau ereill. Hwn a ddewiswyd i'w osod yn nhestamentau Groeg Erasmus, Stephens, Mill, Bengel, Griesbach, Koppe, Knapp, a Scholz. "Cyfeirir at fywiocad ysbrydol drwy ras,"---Stuart, Barnes, Calvin. "Na wneir; ond at fywiocâd ein cyrff yn unig,"---Reiche, Koppe, Rosenmuller, Wetstein, Schoettgen, Hodge, Walford.

Ychwanega yr adnod hon y fraint a gaiff eu cyrff hefyd, megys y dangosodd adn. 10 fraint eu hysbrydoedd.

*Ysbryd yr hwn, &c.* Ysbryd y Tad yw hwn. Arferir y cyssylltiad i ddangos mai yr un gweithrediad o eiddo Duw, ac mai yn yr un cynllun y gweithredir, ag yn y grym a gyfododd Grist o'r bedd. Yr un ysbryd dwyfol ag a breswylia yn mysg y saint a gyfyd eu cyrff o'r bedd, ag a gyfododd gorff Crist hefyd fel y blaenffrwyth.

Nid wyf yn gallu cydweled â Stuart ac ereill, i feddwl fod yma gyfeiriad at fywiocâu ein cyrff yn ngwasanaeth crefydd yn unig; ond yn hytrach at farwolaeth gondemniol, ac adgyfodiad rhyddhaol odditan condemniad hwnw, i Grist, i arddangos mai drwy yr un drefn, a'r un

gweithrediad o eiddo yr Ysbryd yn y drefn hono, y rhyddheir ein cyrff ninnau o'r bedd. Geilw adn. 1 , y gras hwn fel crynodeb yn *gyfiawnder*, gan ddangos mai o'r un cyfiawnder mawr yr arbedwyd dynoliaeth rhag difodiad, a'r saint rhag cosp dragwyddol ei wrthodwyr yn y diwedd.

*Cyrff marwol*, sydd gyfeiriad at ein cyrff wedi meirw fel ein heneidiau gyda Christ, o ran y marw condemniol a gawsom yno ar y groes. Cyrff marwol y geilw Pau hwynt yn aml. Yn wir, dyna ystyr yr ymadrodd hwn ganddo ef yn gyffredinol. Ond bydd anghen am fywiocâu y cyrff hyn etto, ar foreu yr adgyfodiad. Ond gwel ar pen. 6 12.

*Ynoch.* Pa un ai ynoch fel personau, ynte yn eich mysg fel cymdeithas, a feddylir. Goddefa y gair y naill ystyr fel y llall. Am yr ystyr yn y lle yma, gwel Traethawd ar *Ysbryd* ar y diwedd.

12 Am hyny, frodyr, dyledwyr ydym, nid i'r cnawd, i fyw yn ol y cnawd.

13 *Canys os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff drwy yr Ysbryd, byw fyddwch.

* "Arferir y gair cnawd am y sylwedd bywiog, cnnynadwy, ynom, a'r gair corff am y cyfan o'r rhan anifeilaidd gyda'u gilydd,"---Reiche. "Yr un ystyr sydd gan Paul yma i'r ddau air," medd Stuart. "'Yn ol y cnawd,' yw yn ol ei drachwantau ef," Carpzov. "Meirw, neu druenus fyddwch yn y byd a ddaw,"---Rosenmuller. "Trwy yr ysbryd, yw trwy y grefydd Gristionogol,"---Rosenmuller. "Wrth weithredoedd y corff, meddylir ei deimladau, ei nwydau, a'i ddymuniadau hefyd, yn gystal a'i gyflawniadau,"---Koppe, Bloomfield. "Wrth farweiddio y meddylir aberthu neu ddystrywio, yn ol yr arferiadau Iuddewig o'r gair,"---Schoettgen. "Wrth weithredoedd y corff, cyfeirir at fuchedd y Rhufeiniaid cyn eu troedigaeth yn unig,"---Crellius. "Marweiddo gweithredoedd y cnawd, yn lle corff," yw darlleniad amryw hen gopïau Groeg, y Slavonaeg, Vulgate, hen rai Lladin ereill, ynghyd â beiblau Origen, Irenaeus, Tertullian, Cyprian, Ambrose, Jerom, Morgan, Beda, &c.; ond dros y darlleniad arferedig y mae yr awdurdod drymaf. "Yr ystyr grammadegol o adn. 12 yw, Dyledwyr ydym i beidio byw yn ol y cnawd, er dim,"---Fritsche, Winer.

14 Canys y *sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw.

* "Y rhai a rodiant yn ol Ysbryd Duw," medd y Sahidaeg. "Wrth y gair arweinir, arddangosir nad oes un gorfodaeth ar yr ewyllys, ond ymollyngiad gwirfoddol, y dyn ei hun sy'n cerdded,"---Estius. "Cyfeirir yma at ddyianwad dwyfol neillduol ac effeithiol,"---Stuart.

*Dyledwyr ydym.* "Yr ydym yn ddyledwyr, ond nid i'r *Cnawd*—aid i'r gyfundrefn Phariseaidd, i fyw yn ei hol hi." Arddangosodd yr apostol nad drwy y *Cnawd* y cawsent eu bywyd cyfiawnhaol, nac y cânt eu bywyd etto o fedd, nac y caiff eu hysbryd fywyd cyfiawnder (adn. 10) mewn cilfyd; ac am hyny, os cânt yr holl fendithion hyn, eu bod i ryw gynllun yn fawr ddyledwyr; eithr nid Phariseaeth yw y cynllun hwnw.

*Y corff.* Wele brawf mai fel cyfundrefn yr arferai efe y gair *Cnawd;* canys gweithredoedd o ufydd-dod i drachwantau y corff yn fwy na'r

ysbryd, oedd yn damnio Phariseaid yr oes hono; tra yr oedd crefydd gnawdol aml sect baganaidd yn cynnwys eilunaddoliaeth, a chenfigen, fel y gwelir yn Gal. 5. 20. Pechodau oedd y rhai hyn nas cynnwysir yn y *Cnawd* a flinai eglwys Rhufain. Pe gwadem fod y gair *Cnawd* yn yr epistol hwn yn cyfeirio at gyfundrefn o grefydd, gorfyddid ni i ganiatâu, naill ai nad yw ysbryd dyn yn gallu pechu dim ond trachwantau ei gorff, neu fod Paul yma yn esgusodi pechodau y meddwl gyda'u gilydd, neu ei fod yn ysgrifenu mor annhriodol â galw pechodau corff ac ysbryd i gyd, ac heb wahaniaeth, yn *gnawd*. Tebycach yw, ei fod yn dadlu yn erbyn yr hyn a flinai eglwys Rhufain yn yr oes hono. Dengys ei ddadleuon athrawiaethol mai Phariseaeth oedd yn peri y blinder hwnw; a gwyddis drwy bob hanes am y grefydd gymysglyd hòno, mai cuddio trachwantau corfforol â defodau allanol. oedd ei phrif gamp.

MARWEIDDIO *(thanatoô), to cause to be put to death, to deliver over to death;* peri gosod i farwolaeth, bwrw i farwolaeth. Nid yw y gair egwan, *marweiddio*, na'r un cyffelyb, *mortify*, yn ddigon grymus. Cynnwysa y gair benderfyniad i ladd yn y fan, ac nid yn raddol. Nid oes oediad o fynyd ynddo. Er mwyn deall ei wir ystyr, troed y darllenydd i'w arferiad yn Matt. 10, 21; a 26, 59; a 27, 1; 2 Cor. 6, 9; 1 Pedr 3 18; Rhuf. 7, 4. Gwelwn fod holl drachwantau ein rhan anifeilaidd i'w lladd genym, ar ein dyfodiad i stad fywiol crefydd Crist. Os eu hanner ladd, a'u marweiddio yn unig a gânt, meirw yn hollol a fyddwn ni am eu harbed hwynt. Edryched caethion blysiau bwyd, diod, gorphwysdra, ymarferion ystlenaidd, &c. at hyn; canys yr un peth yw ag edrych at eu bywyd. Mae ein bywyd dan gyfundrefn Crist Iesu yn fywyd anfeidrol werthfawr a gogoneddus i ni; ond os ydyw, mawr yw y gorchwyl i'w gyrhaedd; trom yw y llaw raid fod ar holl chwantau cyfreithlon y gyfran anifeilaidd o honom. Nid yw cig a gwaed i etifeddu teyrnas Duw fry; ac nid yw eu trachwantau i'w hetifeddu hi hyd yn nod yma, ychwaith. Cofiwn fod esmwythder, byd da, a holl gnawdolrwydd yr hen oruchwyliaeth—ïe, a holl *fi fy hun* y Salmau eu hunain, wedi darfod dan y Testament Newydd. Cariad cyffredinol sydd yn lle eu Dïalgarwch hwynt. *Y llaweroedd, y byd, y pawb*, sydd yn lle eu *fi fy hun, fy enaid fy hun, a'u Seion eu hun*, hwynt. Teimladau yr epistolau sy'n lle teimlad y Salmau. Teimladau Calfaria sydd yn Nuw yn lle teimlad Sina; a theimladau Crist Ioan a Phaul sydd i fod ynom ninnau, yn lle teimlad Moses a Dafydd ac Asaph. Yn lle teimladau "ELSHADAI, Duw Abraham, Isaac, a Jacob," a theimladau nes, (ond rhy bell er hyny,) "Jehofa, Duw Israel," "JEHOFA TZEBAOTH, Arglwydd y lluoedd;" teimladau "Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist," "ein Duw a'n Tad ni oll," raid fod ein teimladau ni, plant a meibion Duw.

*Arweinir (agô) to lead, to induce, to incite, to guide;* denu, annog, ennill, arwain. Gwel Rhuf. 2, 4; 1 Cor. 12, 2; Gal. 5, 18; 2 Tim. 3, 6. Yr wyf yn cydweled â'r dysgedig Stuart, fod yma gyfeiriad eglur at ddylanwad *neillduol* o eiddo Ysbryd Duw; canys os nad oes dim heblaw perswadiad cyffredin y gwirionedd yn cael ei osod ar waith i arwain plant Duw, pa fodd y rhagorant ar ereill sy'n mwyn-

hau yr un arweiniad? a pha faint o werth ei channol gan yr apostol fel braint y plant, a fuasai yr hon a fwynhasid gan holl wrandawwyr efengyl fel eu gilydd? Os dywedwch, "Y gwahaniaeth sy'n gynnwysedig yn y ffaith o fod y rhai blaenaf yn *ufyddhau* i'r perswadiad, tra mae yr olaf yn ei *wrthwynebu.*" Yr wyf yn ateb fod y ffaith yn wirionedd; ond, nid yw er hyny yn cyrhaedd pegwn yr anhawsdra. Pa fodd y mae y naill yn dod i dderbyn y perswadiad tra mae y llall yn ei *wrthwynebu?* Pa beth yw yr achlysur *cyntaf* o hyn? Os dywedwch "fod natur lygredig yn arwain yr anedifeiriol i ymgaledu;" yna yr wyf yn gofyn, Onid oedd gan yr edifeiriol yr unrhyw natur lygredig cyn eu hedifeirwch? Pa beth, gan hyny, yw yr achos *effeithiol* o fod y naill yn ufyddhau mwy na'r llall? Priodola ein testun yr achos i ddylanwad Ysbryd Duw. A bod y dylanwad hwn yn *neillduol,* a welir oddiwrth y ffaith, nas gellir ei ystyried yn gyffredin ar bob dyn i'r un graddau, onide, y caffai pob dyn ei argyhoeddi. Eithr, gan mai y ffaith yw, nad ydynt felly, y canlyniad naturiol ydyw, fod dylanwad yr ysbryd yn neillduol *(special)* ar bob un a argyhoeddir. Felly Dr. Stuart.

15 Canys *ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; †eithr derbyniasoch Ysbryd mabwysiad. trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad.

* 1 Cor. 2, 12; Heb. 2, 15; Act. 15, 10. "Cyfeirid at ofn marwolaeth, megys yn Heb. 2, 15,"—Stuart, Locke, Pearce. "Cymharu y mae efe ysbrydoedd y ddwy oruchwyliaeth,"—Ecumenius, Theophylact, Chrysostom. "Ystyr y gair *ysbryd* yn yr holl adnod, yw teimiad,"—Grotius, Jaspis. "Ei ystyr gyda'r gair *mabwysiad* yw yr Ysbryd Glân,"—Wolf, Olearius. "Cyfeirir at ysbryd gwasaidd, ac nid ofn marwolaeth,"—Chrysostom, Rosenmuller, Barnes, Hodge. "Cyfeiria at yr ofn a feddiannai yr addolwyr Paganaidd,"—Rosenmuller. † "Mabwysiad plant," yw darlleniad y Vulgate, ynghyd ag amryw hen gyfieithiadau Lladin ereill. Ond "mabwysiad plant Duw," oedd beibl Morgan ac ereill o'i gyfoeswyr. "Trwy yr hwn yr ydym yn galw y Tad yn dad i ni," medd yr hen Syriaeg. "Dylasai y gair fod yn *maboldeb* yn lle mabwysiad,"—Koppe, Bloomfield, "Gelwid plant mabwysiedig gan y Paganiaid Groegaidd yn blant Duw, oherwydd y ddefod grefyddol gydfynedol â'u trosglwyddiad. Felly y gelwir plent bedydd gan y Saeson, yn God-son, a'r tad mabwysol yn Godfather,"—Schleusner. "Yr ystyr yw, 'O dad, O dad,'"—Grotius, Drusius, Schoettgen. "Ychwanegwyd y gair Groeg *pater* (tad) fel deongliad o'r gair Syriaeg *Abba,*" Bloomfield, Beza, De Dieu. "Arferodd yr apostol y gair yn y ddwy iaith i ddangos fod Duw yn dad yr un mor anwyl i'r naill genedl ag i'r llall—i'r cenedloedd ag i'r Iuddewon,"—Doddridge, Toletus. "Arddengys y galwai y naill a'r llall yn eu hiaith eu hunain, ar Dduw fel ar eu tad,"—Awstin, Calvin. "Ad-ddywedir y gair er mwyn dangos allan yr anwylder plentynaidd a feddiannai yr addolydd,"—Theodoret.

Caethiwed *(douleia)*; a Mabwysiad *(uiothesia)*, a osodir yma yn gyferbyniol i'w gilydd; ac ysbryd neu deimlad y naill mewn cyferbyniad i eiddo y llall.

Caethiwed, *slavery, bondage,* yw y gair arferedig am gyflwr Israel dan Pharao, (Exod. 6, 6), ynghyd ag am gaethiwed neu gaethwasanaeth yn mysg y cenedloedd paganaidd. Dywed Paul ei hun yn Gal. 4, 24, a 5, 1, mai caethiwed *(douleia)*, oedd cyflwr Israel dan gyfammod Sina, ac mai iau caethweision oedd eu gwasanaeth dan Jehofa, eu Duw gwladol a'u brenin.

MABWYSIAD, *the placing as a son, adoption, sonship;* gosod i fod fel yn blentyn, maboldeb, sydd air arferedig yn y Testament Newydd, ac am stad y rhai a ddyrchefir gan Dduw, fel personau neu fel cenedl, i feddiannu yr un breintiau mewn cymhariaeth ag ereill, ag a fwynha plant boneddwr dwyreiniol yn ymyl y caethweision. Arferir yn pen. 9, 4, am berthynas *wlădol* cenedl Israel â Duw, rhagor un genedl arall.

Mae teimladau addolwyr cyfammod Sina yn hollol wahanol i'r eiddo addolwyr y cyfammod newydd. Tra galwent hwy eu *crefydd*, yn wir, yn ofni Duw a chilio oddiwrth ddrygioni, gelwir ein crefydd ni yn gariad a hunanymwadiad. "Addolaf tuâ'th deml santaidd yn dy ofn," medd y naill. "Fel y mae dy ofn y mae dy ddigter," medd y llall: a "Dysg i ni *felly* gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb," medd efe eilwaith. Cyfrif eu dyddiau dan frawychu, oedd y fath gyfrif â hwn. "Bydded ei ofn ef arnoch, a bydded efe yn arswyd i chwi," ebe Esaia ei hun; tra cyfyd Paul yn hyf, gan ddywedyd, "Ni roddes Duw i *ni* ysbryd ofn, ond ysbryd nerth, a chariad, a phwyll."

"Ofn yr Arglwydd, hyny ydyw doethineb," ebe Job. "Deuwch blant gwrandewch arnaf, a dysgaf i chwi ofn yr Arglwydd," ebe Dafydd. "Ofn yr Arglwydd yw dechreuad doethineb," ebe ei fab doethaf ef ar ei ol. "Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn ofn, ac ymlawenhewch mewn dychryn," ebe Dafydd drachefn. "Yr wyf fi yn ofni ac yn crynu," ebe Moses ei hun, cyfryngwr uchel y cyfammod. Ond, "yn hyn y perffeithiwyd ein cariad ni (ebe Ioan) fel y caffom hyder ddydd y farn; oblegid megys ag y mae efe, yr ydym ninnau yn y byd hwn." Os yw efe yn cael nesu at y Tad yn ddiofn, felly ninnau hefyd, hyd yn nod yn y byd hwn.

"Ofnwch yr Arglwydd, ei Saint ef," ebe arall. "Nid oes ofn mewn cariad," ebe'r disgybl anwyl: "Mae perffaith gariad yn bwrw allan ofn. A'r hwn sydd yn ofni, ni pherffeithiwyd mewn cariad." "Yn yr hwn y mae i ni hyfrdra, a dyfodfa mewn hyder, drwy ei ffydd ef;" ac "awn yn hyderus at orseddfainc y gras," oedd ymadroddion plant y Testament Newydd.

Etto, nid rhyfyg oedd eu hyfdra:—"gyda gwylder a *pharchedig* ofn:" nid yr hen ofn brawychus, ond yr ofn mabaidd, yw efe: ofn hyfryd, ofn yn tynu yn mlaen, ac nid ofn caethwas, yn tynu yn ol. Yr oedd saint yr hen oruchwyliaeth wedi bod "dros eu holl fywyd" dan y teimladau caethiwus hyn.

Ymddengys fod teimladau Duw yn cyfnewid i ganlyn ei oruchwyliaethau. Teimladau meistr gynt—Tad yn bresennol. Yr oedd efe hefyd yn cyfranu teimladau yr oruchwyliaeth i fynwesau ei addolwyr derbyniol dan yr oruchwyliaeth hòno; felly y cyfrana efe hefyd yn awr. Sylwer hefyd ar y gair *derbyn*, yr hwn sy'n cyfeirio o leiaf at weithrediad o eiddo Duw ar y teimlad.

ABBA, yn Hebraeg AB, yn y Galdaeg ABBA; O Dad! Fe allai ddarfod i'r apostol ddyblu y gair, er mwyn dangos yn iaith yr Iuddew ac yn iaith y Groegwr hefyd, fod y naill fel y llall yn cael nesau at Dduw, fel y nesâ plant anwyl a hyderus at eu Tad. Ceir y gair yn Marc 14, 36, a Gal. 4, 6.

16 Y *mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw.

17 †Ac os plant, etifeddion hefyd; sef etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ: os ydym yn cyd-ddyoddef gydag ef, fel y'n cyd-ogonedder hefyd.

* "Yn dwyn tystiolaeth i'n meddyliau,"—Stuart. "Cyfeiria yr 'Ysbryd hwn' at yr Ysbryd Glân,"—Flatt, Bloomfield, Barnes, Tholuck, Chrysostom. "Drwy gyfranu ysbryd neu deimlad maboldeb ynom, y cyd-dystiolaetha efe,"—Stuart. "A thrwy effaith y teimlad hwnw,"—Barnes. "Mae y teimlad mabaidd hwn yn, &c.," Belsham. "Cyfeirir at sicrwydd cyfranedig yn y meddwl,"—Hodge. † "Gan ein bod yn cyd-ddyoddef ag ef,"—Walford. Act. xiv, 22; Phil. i, 29; 2 Tim. 2, 11, 12.

*Yr ysbryd hwn*, gan gyfeirio at yr ysbryd mabwysiad a dderbyniasent gan Dduw. Er fod Tholuck, Flatt, a Stuart yn ystyried y gair *ysbryd* yn yr ymadrodd hwn, yn sefyll am Ysbryd Duw, ni allaf fi eu dilyn heb ddywedyd mai efe oedd yr ysbryd caethiwed hefyd; neu, o leiaf, os rhyw fod ac nid teimlad yw ysbryd mabwysiad, mai bod ac nid teimlad yw ysbryd caethiwed hefyd. Tebygwyf nad ydym yn cael un ysgrifenydd medrus yn arferyd y gair *ysbryd* am deimlad, yn y naill linell, ac yn arferyd yr un gair am *fod* yn y linell ddilynol.

Ond pa fodd y ceir dau ysbryd yn y Cristion ar yr un pryd, ac heb gyfrif yr Ysbryd Glân yn un o honynt? Cwestiwn yw hwn sydd wedi peri cryn ddyryswch. Ond sylwer ein bod yn cael y gair ysbryd yn yr adnod hon am deimlad, a bydd y dyryswch yn lleihau. Mae teimladau genym ni ein hunain uwch ben tystiolaethau y Testament Newydd; ac y mae Duw pan y bo efe yn maddeu ein pechodau, yn cyfranu i'n calonau, neu ein meddyliau, deimlad o faboldeb ato ef ei hun, ac o ymddiried crediniol ei fod yntau yn Dad i ninnau. Neu mewn geiriau ereill, y mae ein meddwl *ni* uwchben y gwirionedd, yn tystio mai plant Duw ydym, er nad ydym ar y pryd yn teimlo yr ymserchogiad a'r hyder perthynol i'r meddwl hwnw; eithr lleinw Duw ein calonau â'r hyfder a'r dyfodfa mabaidd dan sylw, a thyna y ddau deimlad yn cyd-dystiolaethu â'u gilydd.

Pe Ysbryd Duw fyddai yr Ysbryd Mabwysiad hwn, fel y mae efe yn Berson dwyfol, yna ei ddoniau gwyrthiol a fuasai mewn golwg. Ei ddatguddiadau gynt yn peri braw ac arswyd, tra yr oedd y rhai presenol i'r gwrthwyneb. Eithr, gan nad oedd holl blant Duw yn eu meddu, a chan mai ysbryd y saint fel y maent yn *blant* i Dduw, sydd dan sylw, tebycach mai ysbryd grasol o deimlad, fel yr eglurwyd, ydyw.

*Cyd-etifeddion â Christ.* Os cyd-blant â'r cyntafanedig, yna cyd-etifeddion ag ef; os cyd-etifeddion, yna cyd-oddefwyr ag ef; os cyd-oddefwyr, yna cyd-ogoneddigion ag ef hefyd. Dyma risiau breintfawr Cristionogaeth. 1. Plant fel a chyda Christ. 2. Etifeddion fel a chyda Christ. 3. Dioddefwyr fel a chyda Christ. 4. Gogoneddigion fel a chyda Christ. Am y ffordd drwy ba un yr ennillodd Crist ei etifeddiaeth, Gwel Phil 2, 8, 9; Heb. 2, 9, 10; a 5, 7, 8, 9.

*Cyd-ddioddef:* nid dioddef fel efe yn unig a feddylir, ond dioddef ar yr un pryd ac yn yr un lle. Ystyrid ei fod ef yn dioddef yn ei achos;

dywedir ei fod ef y pryd hyny yn cael ei ail-groeshoelio, &c. Pa bryd bynag y gwelir achos Crist yn dioddef mewn ardal, a'i phreswylwyr yn ymlechu rhag dioddef gydag ef, nid plant Duw mohonynt. Dywed yr adnod hon yn eglur nad ydynt i gael byth gyfran o ogoniant Crist. Pa gyssondeb mewn gwisgo coron dyoddefwr am ben proffeswr a ofnai ddyoddef dim? Ni fyddai un dylanwad gan y fath annhrefn â hyny, ond peri i'r bydoedd dybied, gan fod y naill o'r plant—o'r milwyr, yn cael gwisgo coron dyoddefwr heb ddyoddef dim, mai yr un modd yr oedd hefyd y cyntaf-anedig—Cadben Iachawdwriaeth ei hun, yn gwisgo ei goron yntau.

FEL *(ina)*, fel o amcan, yn gystal ag o ganlyniad. Yr amcan wrth adael i ni wingo dan y dyoddefaint yma, yw fel ein gogonedder rhag-llaw. Os oes y fath gyssylltiad a hyn rhwng dioddef dros Grist gyda'i achos, a mwynhad o ogoniant nefol Crist yn nghragwyddoldeb, ddar-llenydd, pa beth debygit ti a ddaw o grefydd y rhai hyny, sy'n osgoi hyd y nod cyhoeddi egwyddorion puraf, penaf, y deyrnas, rhag y dy-oddef a ddilynai hyny arnynt! O Gristionogaeth, cyfundrefn uchel ei safon wyt ti; ond anfeidrol ogoneddus wyt mewn cyssylltiad â'th safon, er hyny!

18 Oblegid yr ydwyf yn cyfrif, *nad yw dyoddefiadau yr amser presennol hwn, yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant †a ddatguddir i ni.

* "Dyoddefiadau cyffredinol y fuchedd hon,"—Stuart, Barnes. "Dyoddefiadau yr oes hon dros Grist, fel merthyron,"—Rhai. † "A ddatguddir ynom ni,"—J. Williams. "Nid yw safon neu *standard* y naill yn teilyngu mesuriaeth yn ymyl *standard* y llall,"—Winer.

*Eu cyffelybu* o ran mawredd neu bwys, canys nid oes fodd cyffelyb y dioddefiadau â gogoniant mewn un modd arall. Os yw gogoniant y nef yn gymmaint, nes y bydd yr holl ferthyron, pa rai a fuant dros eu hoes, ymron, yn dioddef newyn, noethni, peryglon, carcharau, dirdyn-iadau, ac angeu gwaethaf ac erchyllaf a allai dychymyg elyniaethus Rhufain Baganaidd a Rhufain Babaidd ar ei hol, eu dyfeisio—nes y bydd yr holl ferthyron hyn, meddaf, yn cyd-dystio, y fynyd ei datguddir iddynt, mai anfeidrol fwy ydyw, na maint yr holl ddioddef i gyd, rhaid y bydd yn ogoniant annhraethadwy!

19 *Canys awyddfryd y creadur sydd yn dysgwyl am ddatgudd-iad meibion Duw.

20 †Canys y creadur sydd wedi ei ddarostwng i oferedd; nid o'i fodd, eithr oblegid yr hwn a'i darostyngodd:

21 ‡Dan obaith y rhyddheir y creadur yntau hefyd, o gaethiwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw.

22 §Canys ni a wyddom fod pob creadur yn cyd-ocheneidio, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hwn.

23 ‖Ac nid yn unig y creadur, ond ninnau hefyd y rhai sydd

genym flaenffrwyth yr Ysbryd; yr ydym ninnau ein hunain hefyd yn ocheneidio ynom ein hunain, gan ddysgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth ein corff.

* "Awyddfryd y ffydd," yw darlleniad rhai croen-feiblau Groeg. "Am ddatguddiad Mab Duw," medd y beibl Armenaeg. "Wrth y CREADUR y meddylir holl ddynolryw,"—Dr. E. Robinson, Stuart, Awstin, Locke, J. A. Turretin, Semler, Rosenmuller, Ammon, Usteri, Keil, Whitby, Taylor, Heumann, Macknight, Oertelius, Doederlin, Turner, Jaspis, Schoettgen, Bloomfield. "Nage: ond yr holl greadigaeth,"—Conquest, Belsham. "Yr angylion a feddylir," medd rhai. "Eneidiau, sef egwyddor ysgogiadol y byd planedawl," medd ereill. "Adda ac Efa, canys hwynt-hwy oedd gwaith uniongyrchol y gallu creadigol," medd ambell un. "Eneidiau credinwyr ydyw, ar wahan oddiwrth eu cyrff," medd rhai. "Cyrff y credinwyr; sef eu cyrff meirw, yn wahaniaethol oddiwrth eu heneidiau," medd ereill. "Cristionogion yn gyffredinol yw," medd Nosselt, Davidson, ac ereill. "Dynion colledig yn gyffredinol," medd amryw. "Dynion colledig yn neillduol, naill ai o'r Iuddewon neu o'r cenedloedd," medd rhai. "Yr holl greadigaeth, oddieithr bodau cyfrifol," medd Chrysostom, Theophylact, Ecumenius, Jerom, Ambros, Luther, Koppe, Flatt, Doddridge, Tholuck, Reiche, Hodge, Hilarius, Aquinas, Theodoret, Grotius, Capellus, Paraeus, Mosheim, Lakemacher, Carpzov, Danhawer, Jacobi, Michaelis, Bolten, Rosenmuller, "Y greadigaeth fywiol, ysgogiadol ydyw,"—Walford. "Natur adnewyddol y Cristion yw,"—Barnes. "Cristionogion newydd gael eu troi i'r ffydd a feddylir,"—Hammond, Le Clerc, Schleusner, Wetstein. † "Duw a'i darostyngodd ef, drwy gospi dynolryw am bechod Adda,"—Bloomfield, Koppe, Rosenmuller, Taylor, Macknight. "Cyfeirir at eilunaddoliaeth y byd, drwy Satan neu Adda,"—Marck, Baumgarten, Carpzov, Tertullian, Luther. "Er fod dynolryw wedi eu darostwng fel hyn, y maent etto mewn stad o obaith,"—Turner, Hammond, Locke, Bloomfield. "Cyfeirir at gyflwr presennol y Cristionogion dan erlidigaethau, &c.," Barnes. "Yr hwn a'u darostyngodd yw Crist ei hun,"---Barnes. "Cyfeirir at ddarostyngiad yr holl greadigaeth ddynol i boenau ac angau,"—Walford, Hodge. "Gan yr hwn a'i darostyngodd ef,"---J. Williams. ‡ "Gogoniant Mab Duw," yw y beibl Armenaeg. "Caethiwed cyflwr llygredig,"---J. Williams. "Mae dynion yn gyffredinol yn hiraethu am ddedwyddwch,"---Stuart. "Cyfeirir at hiraeth holl natur fywiol am adnewyddiad,"---Walford. "Nage; ond at y cyfryw deimlad yn y saint,"---Barnes. § "Ac mewn poenau esgor hyd y pryd hwn,"---Newcome, Wakefield, Belsham, Calvin. "Mae pob dyn hyd y pryd hwn wedi bod yn cwyno dan faich cystudd ac angeu,"---Stuart. "Ocheneidio a gofidio," yw darlleniad y Vulgate, ynghydag amryw gyfieithadau Lladin ereill. † Gadewir allan y gair "mabwysiad" o rai ysgrif-gopiau tra hen; tra darllena y Vulgate, a rhai ereill, "mabwysiad plant Duw." 2 Cor. 5, 2, 4; Luc 20, 36. "Yr Ysbryd fel blaenffrwyth y cynauaf nefol, yr hwn a ddilyna mewn amser a ddaw,"---Winer, Chrysostom, Theodoret, Basil, Keil, Stuart. "Cyfeirir at ddoniau gwyrthiol yr Ysbryd," medd rhai. "Cyfeirir at berffeithiad mabwysiad y bedydd,"---Bloomfield.

CREADUR *(ktisis)*. Arferir am y weithred o greu, yn gystal ag am greadur, neu greadigaeth. Arferir am wahanol fathau o greadigaeth, megys pethau creuedig; y greadigaeth resymol, dynion; a'r greadigaeth newydd yn Nghrist Iesu, Cristionogion. Gan fod yr ymadrodd hwn, o debyg, yr un sydd wedi peri mwyaf o drafferth i'r esbonwyr o holl ymadroddion yr apostol hwn, teilynga sylw helaeth. Eithr gorfyddir ni i ganiatau i'r pwnc DRAETHAWD ar ddiwedd y gyfrol. Gwnawn yn unig ryw sylwadau beirniadol yn awr, o berthynas i elfenau anhebgorol y *creadur* dan sylw.

1. *Mae efe wedi ei ddarostwng i* OFEREDD *(matiaotes)*, *vanity, emptiness ;* gwagder. "Chwyddedig eiriau *gorwagedd,*" 2 Pedr 2, 18. "Pa hyd yr hoffwch *wegi ?*" Psalm 4, 2. "Cwbl *wagedd* yw pob dyn." 39, 5. "Yn *oferedd* eu meddwl, Eph. 4, 17. Ei ystyr yw oferedd, gwagedd, byr-hoedledd, breuolder.

2. EI DDAROSTWNG *(upotasso) i oferedd a gafodd y ctisis hwn, o'i anfodd*, gan ryw beth neu fod arall. Ystyr y gair hwn yw, *to put under, to subordinate, to make subject*, megys yr oedd "ysbrydoedd y prophwydi yn ddarostyngedig i'r prophwydi" (1 Cor. 14, 32) ; a megys yr oedd "y gwragedd i fod yn ddarostyngedig yn yr eglwysi (34) ; a megys y darostyngir pob peth dan draed Crist (15, 27) ; a megys ag y "darostyngwyd pob peth" yn yr eglwys dan ei draed ef eisoes (Eph. 1, 22.) &c. Nid yw y gair, fel y gwelir, yn mynu yr arwyddocad o ddarostwng gorfodol ; etto, dyna y modd y bu gyda'r *ctisis* dan sylw, canys dywed Paul "nad o'i fodd" y darostyngwyd ef. OHERWYDD *(dia with Acc.) ;* yr achos cynhyrfiol, annogaethol, o'r darostyngiad hwn, oedd yr hwn a'i darostyngodd ef, ac nid ei ewyllysgarwch ef ei hun. Gall yr amcan fod er mwyn, neu er llesad yr hwn a'i darostyngodd ef, o ran yr iaith a arferir.

3. *I ryw stad a elwir yn* "gaethiwed llygredigaeth" *y mae y ctisis hwn wedi ei orfodol ddarostwng.* CAETHIWED, *bondage*, caethwasanaeth. LLYGREDIGAETH *(phthora)*, *spoiling, corruption, destruction*, anurddiad, dinystr, trosi peth i gyflwr gwaeth ; megys y rheiny "i'w dàl a'u *difetha*" yn 2 Pedr 2, 12 ; megys y llygredigaeth yn mha un y cleddir cyrff y saint, (1 Cor. 15, 42, 50). "Yr hwn sy'n gwaredu dy fywyd o ddistryw," ebe Salm 103, 4 ; sef, y llygredigaeth hwnw a fed dyn o'i gnawd ei hun, yn ol Gal. 6, 8. Dichon fod i'r gair ystyr ffigwrol yn Col. 2, 22, lle dywed Paul fod y pethau dan sylw oll yn llygredigaeth wrth eu harfer : a thebycach fod 2 Pedr 1, 4, "y llygredigaeth sy'n y byd drwy drachwant," yn gyfryw ; ynghyda 2, 12. Nis gallaf benderfynu pa un o'r ddau fodd ei deonglir yn ein testun, cyn gwybod priodol ystyr y gair *creadur* ynddo.

4. *Rhyddheir y* CTISIS *hwn o'r cyfryw gaethiwed* ag a ddesgrifir dan ein 3ydd sylw, *i ryddid gogoniant plant Duw.* RHYDDID *(eleutheria)*, a arferir am ddod allan o gaethiwed deddf Moses, trachwantau, a nwydau, &c. Nid yw efe yn dywedyd "gogoniant," ond *rhyddid* y gogoniant ; wrth yr hyn y deallir rhyddid gogoneddus. Pa un ai y rhyddid a gafodd plant Duw odditan gyfraith Moses, ynte y rhyddid a gânt o'r bedd, a feddylir ? Rhyddid *gogoneddus*, sydd air yn enwogi y rhyddid hwn ar bob rhyddid arall. yr hyn a'm tuedda i'w ystyried am y rhyddid diweddaf, yr hwn fydd yn ddiau, y gogoneddusaf o bob rhyddid. Mae y *ctisis* i gael mwynhad o'r rhyddid dyfodol hwn.

3. *Mae y* CTISIS *hwn yn awyddus ddisgwyl am ddatguddiad meibion Duw.* AWYDDFRYD *(apocarodokia)*, *to look away towards any thing with the head bent forward ; to await, to expect earnestly :* edrych ar beth gan estyn y pen ymlaen tuag ato, disgwyl yn awyddus. Felly y ferf. Ceir yr enw cadarn deilliedig o honi, hefyd, yn Phil. 1, 20. Pa un ai llythyrenol ynte ffigwrol yw y gair yn ein testun, a welir wrth ol-

rhain ystyr y prif air, *ctsis*, creadur. Ymddengys hefyd fod y creadur pan ei darostyngwyd, mewn gobaith mai ei ryddhau a gaffai efe ar y cyfnod dedwydd a ragnodwyd.

6. *Mae yr* HOLL CTISIS, *neu greadigaeth, yn ufuddhau a chydofidio* hyd amser ysgrifeniad y llythyr hwn, ac o debyg, hyd yn bresennol hefyd. Cydocheneidio â phwy? nid â'r creadur a ragnodwyd; dywedyd fod yr holl greadigaeth yn cydofidio â'r greadigaeth—pob creadur yn cydofidio â'r creadur—pob *ctisis* yn cydofidio â'r *ctisis*, fyddai dywedyd hyny. Rhaid gan hyny, mai "pob creadur yn cydofidio â'u gilydd" yw y meddwl. CYDOFIDIO *(sunadinô)* bod mewn poenau esgor gydâ'u gilydd.

7. *Yr oeddynt hwy eu hunain*, sef y rhai a gawsent flaenffrwyth yr Ysbryd, *dan yr un poenau.* Y rhai hyn oedd y rhai bedyddiedig â'r Ysbryd ar y Pentecost. Dyna flaenffrwyth y cynhauaf graslawn hwn. Neu, fe allai, er nad mor debyg, feddyliwyf mai prif-ddoniau yr Ysbryd oedd y blaenffrwyth hwn. Eithr y gyfran a dorid i lawr gyntaf o'r cynhauaf, ydoedd y blaenffrwyth yn gyffredin. Gwelwn nad oedd yr apostolion o fewn cylch y gair *ctisis*, creadur, canys wele hwynt yma ar wahan. *Mabwysiad* y corff, sef ei brynedigaeth waredol. Gelwid y bodau nefol drwy yr Hen Destament yn feibion Duw. Yn yr adgyfodiad gwneir corff priddlyd a marw y sant yn fab i Dduw, fel y cyrff nefol ereill. Mab i Dduw o ran *hawl* yw efe heddyw—yna, o ran meddiant. Gwelwn, gan hyny fod *y creadur*, a'r *pob creadur*, a'r *ninnau hefyd*, yn ocheneidio ac yn disgwyl am yr unrhyw waredigaeth ddyfodol, sef gwaredigaeth cyrff y saint o fod yn feibion llygredigaeth bedd, i fod yn nefol, fywiol blant i Dduw.

Bydd y *saith* nodau hyn, o eiddo Paul, ar y *creadur* yn ein testun, yn gymhorth i'r darllenydd ei adnabod, i aros ein TRAETHAWD manylach ar y pwnc, yn niwedd y gwaith.

24 *Canys trwy obaith y'n hiachawyd. Eithr y gobaith a welir nid yw obaith: oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth y mae etto yn ei obeithio?

25 †Canys os ydym ni yn gobeithio yr hyn nid y'm yn ei weled, yr ydym trwy amynedd yn dysgwyl am dano.

* "Nid oes genym hyd yma ond iachawdwriaeth mewn gobaith,"---Grotius, Rosenmuller. "Rhoddwyd ni ar ffordd iachawdwriaeth, a feddylir,"---Chrysostom, Slade.

HIACHAWYD *(esothemen)*, cadw, gwaredu, o berygl, colled, dinystr, &c. Hwn yw y gair cyffredin am iachawdwriaeth drwy Grist. "Gyda gobaith am, neu drwy gydblethu y waredigaeth â gobaith am waredigaeth y corff, y gwaredwyd ein henaid." Nid ydym yn gobeithio am waredigaeth gyflyrawl yr enaid. Mae hono mewn gafael. Nid oes dim damnedigaeth cyflwr yn awr. Ond yr ydym heb gyrhaedd gwaredigaeth neu brynedigaeth y corff: etto yr ydym trwy amynedd yn disgwyl y prynedigaeth hwnw. Fe allai fod yr apostol yn cyfeirio hefyd at ocheneidiau eu cyrff dan yr erlidigaethau a oddefent, gan gyferbynu y dioddefiadau hyny â'r gobaith oedd o flaen yr un cyrff, am fwynhad o

sefyllfa ogoneddus plant nefol Duw ar ol yr adgyfodiad. Athrawiaeth lawn o gysuron yw hon i'r rhai y mae parodrwydd i oddef dros Grist yn eu crefydd; i'r lleill, nid yw ond fel gwreiddyn o dir sych a diflas.

26 A'r un ffunud y *mae yr Ysbryd hefyd yn cynnorthwyo ein gwendid ni. Canys ni wyddom ni beth a weddiom, megys y dylem: eithr y mae yr Ysbryd ei hun yn erfyn †drosom ni ag ocheneidiau annhraethadwy.

* "Cyfeirir at yr Ysbryd Glân,"—Erasmus, Beza, Estius, Paraeus, Grotius, Wolf, Taylor, Schlitingius. "Cyfeirir at y dull newydd o feddwl a gawsent drwy yr efengyl," Rosenmuller, Crellius, a'r Undodwyr yn gyffredinol. "Arferir y gair *Ysbryd* am ddawn gweddi,"---Chrysostom, Theophylact. "Ysbryd Duw yw enaid ein henaid ni,"---Fenelon. "Nid fel y mae efe yn un o'r Tri Bendigedig yr ocheneidia yr Ysbryd fel hyn; ond trwy ei ddylanwad arnom ni; yr hwn sydd mor hollol eiddo iddo ef, nes y gellir llefaru am dano fel y gweithredydd cynhyrfiol,"---Awstin. † *Trosom ni*, a adewir allan o'r pump ysgrifau Groeg henaf oll, heblaw o rai diweddarach, yr Armenaeg, a rhai beiblau Lladin.

*Yr un ffunud* ag y mae gobaith yn ein cynnorthwyo dan erlidigaethau, y mae'r Ysbryd hefyd yn ein cynnorthwyo dan ein gwendidau.

*Yr Ysbryd.* Ond pa ysbryd? ai ein hysbryd ein hunain? ynte ysbryd mabaidd? ynte Ysbryd Duw? Mae sefyll cryf wedi bod dros bob un o'r tybiau hyn. Onid yw y *galon* a chwilir gan Dduw yn cael ei dwyn i mewn fel yn cyfystyr â'r *ysbryd* yn nechreuad yr adnod? Hefyd, yn mha le drwy yr holl ysgrythyr yr arddangosir fod Ysbryd Duw yn erfyn dros y saint? Rhesymau cryfion yw y rhain dros dybied mai ysbryd mabwysiad adn. 16, 17, yw yr ysbryd cynnorthwyol hwn; ac etto, nid ydynt, debygwyf, mor gryfion â'r rhai gwrthwynebus.

CYNNORTHWYO *(sunantilambanetai), to take hold in turn with any one*, cydgydio ag un arall mewn gorchwyl. "Dywed wrth fy chwaer am gydafael â mi yn y drafferth," ebe Martha. Ioan 10, 40. "Yr hwn y sicrheir fy llaw gydag ef," ebe Jehofa yn Psalm 89, 21. "Hwynt hwy a ddygant y baich gyda thi," ebe efe wrth Moses, am yr henuriaid cynnorthwyol, yn Exod. 18, 22. Dyna yr holl arferiad ysgrythyrol o'r gair, am a wn yn awr. Tystia yr ymadrodd hwn fod llaw gan yr ysbryd dan sylw yn y weddi, ac mai cydafael ynddi—yn ei hocheneidiau a'i phethau â'r gweddiwr, y mae efe.

TROSOM NI *(uper émôn), for the sake of*, er mwyn un, yn yr ystyr o amddiffyniad, gofal, ffafr, neu fuddioldeb; megys pe yn ymblygu uwch ben un, gan ei gysgodi rhag yr hyn a allai ddisgyn arno a'i niweidio. Gwelwn, yn

1 Mai yn yr ystyr yr ydym ni mewn "gwendid," y mae efe yn gynnorthwywr.

2. Mai ein hanwybodaeth am destun cymhwysaf i'n gweddi yw y gwendid a nodwyd, ac mai cynnorthwyo gwendid anwybodaeth yw cyfranu gwybodaeth yn yr hyn fo'n ddiffygiol.

3. Gan mai gwneuthur erfyniadau yw gweddi, mai cyd-erfyn â ni y mae yr Ysbryd hwn wrth ein cynnorthwyo. Diau y gallasai efe greu meddyliau ynom heb gydocheneidio un radd â ni, ond fel arall y de-

wisa efe weithredu, a diammau mai hòno yw y ffordd fwyaf effeithiol. Gwelwn y gwahaniaeth rhwng eiriolaeth Crist ac eiddo yr Ysbryd. Gerbron yr orsedd fry y mae y naill; ond ynom ni, lle ffurfir yr erfyniau, y mae y llall.

4. Fod yr Ysbryd pan ar waith ynom fel hyn, yn ein cynnorthwyo i ffurfio dymuniadau mor bur, mor bell, mor eang, ac mor gymhwys i'n hanghenion, fel nad ydynt o fewn cyrhaedd un iaith ddynol a ddysgasom. Cyfyng yw iaith ddynol y cyffredin o ddynion, ïe, myrdd mwy cyfyng nag sy'n eisieu i gyfleu eu hanghenion a'u cwynion gerbron Duw, a myrdd mwy cyfyng hefyd nag sy'n anghenrheidiol i fod yn gyfryngau priodol erfyniau am y bendithion lliosog ac annhraethol sy'n erfyniau yr Eiriolwr arall sydd drostynt fry. Os yw efe fry yn gofyn cymmaint erom, fel na allai ein haith gyfyng ac anmherffaith ni, ped arferai hi, ateb y dyben yn ei enau; onid oes eisieu i ninnau isod ffurfio erfyniau hefyd eangach na chylch ein geiriadur bach? Ond, pwy a all? Yma daw yr Ysbryd ei hun, yn y cymmeriad o Ysbryd Crist, ac â'n harwain at y meddylddrychau priodol. Gweddi ddirgel raid i hon fod, canys mae ei hocheneidiau yn annhraethadwy; nid oes traethu arnynt. Ond pa fodd y gelwir hyn oll yn erfyn *trosom* ni? Yr ateb yw, mai er ein llesâd, cynnorthwyad, ac amddiffyniad, y mae y gwaith. Nid yn ein lle, fel y bu Crist farw drosom. Mae dau ystyr i'r gair *trosom* hwn.

27 *A'r hwn sydd yn chwilio y calonau a wyr beth yw meddwl yr Ysbryd; †canys y mae efe yn ol ewyllys Duw yn erfyn dros y saint.

* Salm 7, 9; Diar. 17, 3; Jer. 11, 20; Dat. 2, 23. † "Mae efe tuag at Dduw, gerbron Duw, yn erfyn,"---Winer. "Cyfeiria y gair hwn *erfyn* at holl swydd dadleuwr dros arall mewn llys,"---Pye Smith. "Ei fod ef, yn ol ewyllys Duw," medd J. Williams. "Yn ol ewyllys Duw," medd yr hen Syriaeg, Chrysostom, Flatt, Tholuck.

*Yr hwn sydd yn chwilio, &c.*, sydd enw cyffredin ar Dduw, yr hwn sydd hollwybodol, ac yn gosod ei wybodaeth mewn dull neillduol, ar sylw ac ymchwil: cymharer Salm 7, 9: Jer. 11, 20; Act. 1, 24. Yn Dat. 2, 23, dywed wrth eglwys Thyatira.—"Yr holl eglwysi a gânt wybod mai myfi yw yr hwn sydd yn chwilio yr arenau a'r calonau." Ymddengys yn eglur oddiwrth yr adnodau hyn mai *Un* chwiliwr calonau sydd: "*Yr Hwn* sydd yn chwilio," meddant. Yn awr, ymddengys fod o leiaf ddau yn meddu y briodoledd oruchel hon, neu ynte fod y ddau mewn rhyw ystyr yn Un. Y naill yw ELOHIM cyfiawn Dafydd, sef JEHOFA TZEBAOTH Jeremi; a'r llall yw etholydd apostolion yr eglwys gyntefig (Act. 1, 24), sef "un tebyg i Fab y dyn," (Act. 1, 13), "yr hwn a fu farw, ac sy'n awr yn fyw" (adn. 18). Eithr gan mai Un chwiliwr calonau y sydd, rhaid mai yr hwn a elwid *Mab y dyn* oedd *Duw* a *Jehofa* y prophwydi; y Chwiliwr calonau ei hun.

MEDDWL *(phronema), what one has in mind, what one thinks and feels; mind, thought, feeling;* sef, yr hyn y mae un yn ei feddwl a'i deimlo. Ceir yn adn. 6, a 7; ond nid yn un lle arall o'r Testament

Newydd. Ni raid i feddwl, hyd yn nod annhraethadwy feddylddrychau yr Ysbryd, wrth gael eu gwisgo mewn geiriau, cyn eu deallir gan Grist, canys y mae efe yn chwiliwr y galon ei hunan.

YN OL EWYLLYS DUW *(kata Theon)*. Rhaid, debygid, mai yn ffigwrol yr arferir yr ymadrodd hwn, i arddangos y *dull* yn mha un y saif yr eiriolwr hwn tuag at Dduw. Yr ystyr yw *yn ol* Duw, yn *gydunol â* Duw; neu yn hytrach, medd Winer (Gram. § 53, *(d)* ) *gerbron* Duw. Dealled y darllenydd mai y cyfieithwyr a roisant y gair *ewyllys* i mewn, er mwyn arddangos eu hesboniad eu hunain o'r gair.

*Erfyn dros, &c.* Pwy sydd "drosom ni" yn erfyn, drwy gynnorthwyo isod ein gwendid anwybodus ni? "Yr Ysbryd ei hun." Pwy sydd "gerbron Duw," sef yn y nefoedd fry, (canys ymadrodd am y presenoldeb nefol ydyw efe) "yn erfyn drosom ni," drwy gynnorthwyo derbyniad ein gweddiau? Yr hwn sydd dan yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon yn llenwi y swydd o "Chwiliwr y calonau." Oddiwrth hyn oll, gwelwn fod yn anhebgorol i holl eiriau ac ocheneidiau ein gweddi gael eu hystyried, a'u hail-erfyn gan Grist gerbron yr orsedd fry; onide, paham y sonir mewn cyssylltiad â'r pwnc, ei fod ef yn gwybod y meddwl a ffurfier gan yr Ysbryd ynom?

*Y saint*, sydd air am y gwir weddïwyr. Paham nad erfyniai efe dros y byd? Onid yw efe yn eiriolwr i'r holl fyd? Ydyw, yn eiriolwr gogyfer â hwynt, ond nid yw efe yn eiriol byth air *drostynt*, a'r achos yw, am nad ydynt yn ei osod ar waith. Mae efe yn dala ei waed, fel archoffeiriad mawr, yn ei law ge bron yr orsedd, a'i barodrwydd i'w offrymu sydd gymmaint dros y naill weddi â'r llall. Dyna yw y "marw dros bawb." Mae ei efengyl yn galw ar yr holl fyd i ddod â'i bechodau i'w clirio gan Dduw fel Duw yn Nghrist—fel Duw yn eistedd ar y Trugareddfa-wr gosodedig hwn: pwy bynag a ddel felly; ïe, os daw pawb, maddeuant rhad a gyfrenir. Dyna yw "Iawn dros bechodau yr holl fyd." Nid oes neb yn cyflwyno gweddi iddo ond ei "saint"—canys saint y gelwir "yr holl fyd" pan wnant hyny—ac am hyny, "erfyn dros y saint" y mae yntau; canys hen elynion euog wedi dod yn saint edifeiriol ac anwyl ydynt. Gwelwn gymhwysder geiriau Ioan (1 Epist. 2, 2) "Y mae genym *ni* Eiriolwr." Ond "y mae gan bechodau *yr holl fyd* Iawn drostynt." Nid yw efe yn dywedyd—"Y mae *i ni* Eiriolwr," canys y mae efe yn eiriolwr *i'r* holl fyd, os dyru yr holl fyd erfyniau yn ei law i'w heiriol; tra ar yr un pryd, *gan* y rhai sy'n ei osod ef ar waith y mae efe yn eiriolwr. Mae y dadleuwr llysol *i'r* holl wlad, ond *gan* y blaid â'i rhoddes ef ar waith y gellir dweyd ei fod yn eiddo. Bod yn *Iawn* yw bod yn orsedd i Dduw cyfundrefn y Ffydd eistedd arni yn faddeuwr a chyfranydd trugaredd i bechaduriaid yn rhad. Nid yw yr orsedd hon, na Duw arni, yn gwneyd un cilwg ar neb, ond yn gwenu ar yr holl fyd. Dyna yw yr "Iawn dros bechodau yr holl fyd." Allan o'r "holl fyd" hwn mae lliaws yn nesâu am drugareddau pwrcasedig yr orsedd. Ar eu hedifeirwch, a'u hymostyngiad, a'u taer gais, troir hwynt o'r neilldu i'r santeiddiolaf, lle mae ffynnon i'w "santeiddio a'u glanhau." Effaith cariad yn unig yw y ddarpariaeth werthfawr hon. Dyma yr hyn

a elwir yn "carodd Crist ei eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti (sef rhyngddi â chosp ei phechodau) fel y santeiddiai efe hi, &c."

Felly y mae Crist yn Iawn, yn marw, yn orsedd gras, yn llawn cariad o ewyllys da *(agapao)—i'r holl fyd.*

Felly hefyd y mae ei amcan ef o santeiddio, cyflwyno gweddiau, achub, maddeu i, cyfiawnhau, a gogoneddu, a bod yn llawn cariad o ymhyfrydiad at *(phileo)* yr holl saint, yr eglwys, ei ddefaid, ei etholedigion.

Felly etto, y mae yn briodol, a hollol naturiol, iddo wahodd y dosparth cyntaf—"yr holl fyd," ymlaen i sefyllfa yr ail ddosparth—"yr eglwys," canys y mae marwolaeth Crist yn gymmaint drostynt â'u dwyn i ryddid gobaith y bywyd; a'r Iawn yn gymmaint iddynt ag yw efe i neb arall, canys gorsedd gras, neu Drugareddfa-wr i Dduw y Ffydd—i Dduw Rhad Ras i eistedd arni fel Rhad-ras-Dduw y Byd, yw efe. Gwel ar Pen. 3, 25.

Felly etto hefyd, y mae "yr holl fyd" hwn yn ystyfnig afresymol at ddynesu ymlaen at hyd yn nod Duw Rhad Ras, ac y mae ffynnonell anfeidrol yr un Gras yn tori allan etto yn gryfach ei ffrwd, drwy anfon yr Ysbryd Glân, drwy y moddion dyladwy i'w hanog yn effeithiol i ddynesu.

Felly etto hefyd, y mae y gras hwn yn barod at law yr holl fyd—i "bwy bynag a ofyno;" ond nid ydynt ddigon ufydd i ofyn am dano; yna mae Duw, ffynnon fawr Gras, wedi tori allan mewn ffrwd gryfach etto; mae efe yn anfon yr Ysbryd i ddylanwadu, ar gais rhyw un arall, ac a deimlo gymmaint â hyny dros yr ystyfnig hwn. A chyd bo y gweddiwr yn erfyn yn ddyladwy, ac yn arferyd y moddion gosodedig, sef y gwirionedd efengylaidd, yn ddyladwy, mae yr ystyfnicaf a gwaethaf yn cael ei ennill; nid gan y moddion yn unig, ond gan Ysbryd Duw drwyddynt.

Felly hefyd yn mhellach; y gwirionedd am bechod, ceidwad, nef ac uffern, Duw a dyn, &c., sydd yn unig yn cael ei weled, a'i deimlo; ac yn yr ystyr hwn, ei ddylanwad ef yn unig sy'n argyhoeddi pob dyn a ennillir; eithr, y mae'r Ysbryd Glân yn *ennill y sylw* at y gwirionedd priodol a pherthynol i'r amgylchiad, yn ol ei anfeidrol adnabyddiaeth o holl ysgogiadau a deddfau ysbryd, enaid, corff, greddfau, tueddiadau, tybiau, a dygiad i fyny, y dyn. A'r pregethwr callaf yn hyn oll yw ei gydweithiwr goreu ef mewn achub dynion.

Gwelwn pa fodd y dechreuodd yr achub, o ran yr hyn a weithreda Ysbryd y Grâs o hono; heb droi yn mhellach yn ol na'r Messia ei hun. Gwelwn ef a'i apostolion yn dyladwy arferyd y moddion, ac yn ffyddiog weddio. Felly cafodd Ysbryd Duw le i ddylanwadu ar y gwrandawwyr, yn unol â gogoniant yr efengyl. Dyna y gwrandawwyr hyny eilwaith, allan o'r "holl fyd," yn saint,—yn arfer y moddion yn ddyladwy, ac yn taer erfyn bendith Ysbryd Duw, ac yn gweled y miloedd yn cael eu dwys-bigo. Felly yn mlaen, o hyny hyd yn awr.

Or ochr arall, gwelwn naill ai yr arferiad o'r moddion yn disgyn i ffurf annheilwng, neu feallai y ffydd am y cydweithrediad nefol yn marweiddio; a'r canlyniad naturiol yw, dim achub; neu o leiaf, ychydig iawn wrth a ellid weled.

Felly ar hyd ffordd moddion dyladwy, ymddiriediad hollol arno am y dylanwad, a thaer erfyniau am dano, yn unig y gall Ysbryd Crist gael lle i weithredu, heb gymmylu gogoniant y gyfundrefn; canys gwyddis mai ar hyd y ffordd hon y gwelsom ef yn gweithredu; a gwyddom fod yr Iawn a'r aberth yn ddigon i'w alluogi i achub pawb; gwyddom hefyd ei fod yn peidio ag achub pawb; a gwyddom ynghyd â hyny, mai yn y gwledydd sy'n amddifaid o foddion, ac yn y lleoedd sy'n arferyd y moddion yn annheilwng, ac yn y lleoedd sydd yn dibynu ar y moddion yn unig, y mae yr achub yn peidio bod. Felly y mae rheswm, ysgrythyr, a ffaith, yn cydwirio mai yn ol y cynllun hwn y mae Rhad ras yr efengyl yn gweithredu. Na ddyweded neb, ynte, fod anghydgordiad ynddo. Canys—

1. Onid yw Duw yn yr Iawn yn cael lle i achub pawb?

2. Onid yw efe wedi trefnu ymddygiad hawdd, yn gydunol ag egwyddorion sylfaenol yr Iawn hwn, i bob un a nesäo ato, ei ddilyn?

3. Onid yw pob pechadur, ïe, y gwaethaf oll, wedi ei gael ef yn ymddwyn yn unol a'i addewid, pan geisiodd efe nesâu ar hyd y llwybr gosodedig?

4. Onid yw yn rhesymol i Dduw, ar ol iddo osod ei anfeidrol ddoethineb ar waith, i gynllunio ei drefn i ddynesu mor agos ag oedd bosibl at y pechadur, gael gan y pechadur ei hun gyflawni yr ychydig sydd raid iddo wneuthur er mwyn cael ei achub?

5. Onid yw dynion yn rhy ystyfnig i blygu i wneyd cymmaint â'r ychydig hyny?

6. Onid yw yn anghenrheidiol iawn, ar ol i'r pregethwr, a phob un o'r cyfryw wneyd ei oreu, a methu llwyddo i ennill y pechadur i blygu nac ystyried; i'r Bod mawr sy'n adnabod deddfau y meddwl dynol, wneyd rhywbeth a allo heb dreisio yr ewyllys, er mwyn cael y truenus i'r diogelwch?

7. Os yw hyn yn anghenrheidiol, onid gras mwy etto yn y Bod daionus fyddai ei ymostyngiad i wneuthur hyny?

8. A oes modd gan ddychymyg dyn i feddwl am fwy o ras nag y sydd yn Nuw drwy yr efengyl; canys gall dyn feddwl, fel y gwelir, ïe, a dymuno am gymmaint o ras â hyna?

9. A fyddai yn anrhydodd i'r Bod Mawr neu i ryw fod arall, helpu dyn truenus allan o'r perygl, tra byddai ei holl berthynasau a'i gyfeillion yn difraw edrych arno yn trengu? ac ar ol i Dduw Rhad ras osod y moddion a'r weddi yn nwylaw Cristionogion—pa rai ydynt frodyr a chyfeillion y dyn colledig, ai anrhydedd iddo ef fyddai achub y cyfryw pan y maent hwy yn edrych yn hollol ddifraw uwchben ei golledigaeth? Nid gras yw y drefn a allo achub heb ennill yr ewyllys, nac a ennillo yr ewyllys, os ewyllys *ddynol* fydd hi, heblaw drwy foddion dynol. Gwelwn, ynte, paham na achubai Duw y byd ar ei gyfer; a gwelwn pa fodd ei ceir ef i achub y neb a fynom; a gwelwn fod pwys colledigaeth y byd dan yr efengyl wrth ein drysau ni! Bod yn gwneyd pob peth yn y dull goreu sydd bosibl yw Duw; gan hyny goreu Duw yw yr hyn oll a wna—sef ei oreu dan yr amgylchiadau. Pan arferer y moddion yn ddyladwy, cyfnewidia yr amgylchiadau, a goreu yr un Duw dan yr amgylchiadau newyddion hyny, fydd achub.

Mae holl deimladau Duwdod yn yr Iawn, yn barod i redeg dros y byd. Mae cymmaint o'i deimladau daionus hyn yn rhedeg yn achubiaeth i'r byd, ag a agorir o *channels* neu rydweli iddynt. Y hydweli hyn yw ein teimladau ni, ei saint ef; ein teimladau ni mewn gweithrediad.

28 *Ac ni a wyddom fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; sef †i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef.

* "Cynnwysa hyn y cydweithia hyd yn nod pechodau duwiolion i'w llesâd," medd Awstin, Barnard. "Cyfyngir yn unig at bob peth Rhagluniaeth Duw,"---Doddridge, Bloomfield. † "Y rhai hyn yw y Cristionogion,"---Rosenmuller. "Wedi eu galw gan ddynion yn ol gorchymyn Duw,"---Le Clerc, Hammond, Grotius, Chrysostom, Morgan, Cyril, Suidas. "Wrth *arfaeth* y meddylir ewyllys da,"---Wetstein. "Dirgel amcan Duw i alw y Cenedloedd oedd,"---Turner, Locke, Bloomfield. "Cyfeiria y gair *galw* at y rhai a dderbyniant yr alwad,"---Barnes, Walford, Hodge. "I'r rhai ydynt yn ol yr arfaeth yn alwedigion santaidd," yw darlleniad y Vulgate, beiblau Morgan, Ambros, &c.

*Ni a wyddom* yn mhellach.
*Pa beth;* sef pob erlidigaethau, helbulon, merthyriadau, &c.
*Rhai sydd wedi ei galw.* Gwel ar Pen. 1, 1, 6, 7. "Sef i'r rhai yn ol ei arfaeth ef ynt yn alwedigion;" sef galwedigion effeithiol, yr hyn yw ystyr y gair hwn *kletoi*, galwedigion, yn mhob un o'n hysgrifenwyr, oddieithr Matthew a Luc yn nammegion ein Harglwydd

29 Oblegid *y rhai a rag-wybu, †a ragluniodd efe hefyd i fod yn un ffurf â delw ei Fab ef, fel y byddai efe yn gyntaf-anedig yn mhlith brodyr lawer.

* "A ragbennododd efe hefyd,"---J. Williams. "Oblegid y rhai a garodd, ac a gawsant ei sylw hoffus a'i ffafr ef,"---Origen, Erasmus, Theophylact, Mosheim, Baumgarten, E. Schmidius, a'r Arminiaid yn gyffredinol. Felly Bloomfield. Tra tybia yr esbonwyr a nodwyd mai ennill ffafr Duw a wnaethid oddiar gredu, &c., myn y rhai canlynol mai efe a'u dewisodd hwynt, ac mai canlyniad o hyny oedd eu bod ar ddelw ei Fab ef; sef Theophylact, Ecumenius, Heumann, Stuart. Ereill; mai allan o'i bur ewyllys da yn unig y carodd Duw hwynt, ac mai hyny, nid rhagwybod, a feddylir yma: megys Calvin, Beza, Catecism Westminster, a'r Calviniaid gan mwyaf. "Y rhag a ragbenderfynodd efe i fod ei alwedigion,"---Tholuck, Stuart. † "Cyfeirir at freintiau allanol efengyl yn unig,"---Bretschneider, "Rhagluniodd Duw y cymmeriad yn yr un arfaeth, a'r rhai sydd i'w wisgo,---Stuart, Walford. "Nid yw yr ymadrodd yn hysbysu paham y rhagddewisodd Duw y naill mwy na'r llall,"--Barnes, Stuart. "Cyfeirir at ddewisiad Duw o'r cenedloedd,---Bloomfield, Turner, Macknight. "Yn hytrach, at ei ddewisiad o Gristionogion Rhufain,"---Koppe. "Arddangosir Crist yma yn gyntafanedig o feibion yr oruchwyliaeth, er yn uniganedig fel person dwyfol,—Chrysostom. "Fel y byddai efe yn brif etifedd gogoniant Duw,"—Ammon.

Gan fod sylw teilwng i'r adnodau hyn yn gofyn ehangach lle nac a ellir ganiatau yma, gadewir hyd y TRAETHAWD ar *Etholedigaeth*. Gwnawn, er hyny, rai sylwadau beirniadol.

1. "Y rhai a ragwybu efe." RHAGWYBOD *(proegno)*. Achlysur dadleuon poethion a diderfyn. Pan ddringo duwinyddiaeth i gadair

beirniadaeth, nid oes ond cyndyn ddadleu i'w ddisgwyl. Ystyr arferiad y gair hwn mewn lleoedd ereill yw *to know before, to forsee;* adnabod o'r blaen, rhagweled, rhagwybod. Ei arferiad gan Paul a geir yn Act. 26, 5; Rhuf. 11, 2, am ragadnabyddiad ei gydgenedl o'i fuchedd cyn ei droedigaeth, ac am ragadnabyddiad Duw o genedl Israel yn anad un genedl arall, cyn dyfodiad Cristionogaeth i'r byd. Y cyntaf sydd ragadnabod, ond yr olaf yn ragddewis neu raghoffi; canys nid oedd fodd i Paul arferyd rhagadnabyddiad Dnw o Israel yn rheswm dros beidio a'u gwrthod; oherwydd yr oedd efe yn adnabod pob cenedl yn gystal â hwythau. Pedr a'i harfera am ragordeiniad Crist yn aberth dros bechod; (1 Ep. 1, 20) ac am ragadnabyddiaeth ei frodyr o'r pethau dan ei sylw ef (2 Ep. 3, 17). Felly, arferir y gair yn y ddau ystyr ganddo yntau hefyd. Nid yw y gair yn un lle arall. Y gair GWYBOD *(ginascô)* a arferir yr un modd am (1) fod yn gydnabyddus â, a chyflawn adnabod peth neu berson; ac (2) am wneyd cydnabyddiad o un fel cyfaill neu gydnabod: agos yn debyg i'r ystyr olaf yw yr un Hebreig o ymddwyn gyda hoffder at un.

Yn awr, gan y cymmerai y gair Groeg yr ystyr o ragadnabod yn gystal ag o raghoffi a rhagbenderfynu, nis gellir *yma* wneyd un dewisiad rhyngddynt. Hefyd, os rhaghoffodd efe ryw rai, pa un ai o'i ewyllys da, heb un rhinwedd ynddynt hwy yn ei ennyn i hyny, ynte oherwydd ei fod yn rhagweled y credent ynddo, &c., y rhaghoffodd efe hwynt? Gofyniad o bwys yw hwn; ond nid oes *yma* un atebiad iddo, er hyny. Dywedyd am y ffaith, ac nid am ei hannogiad, y mae'r apostol.

2. "Y rhai a ragluniodd efe" *(proarizô), to set bounds before, to predetermine;* rhagffinio, rhagbenderfynu. Arferir yn unig yn Act. 4, 28; 1 Cor. 2, 7; Eph. 1, 5, 11, am gynghor a llaw Duw yn rhagbenderfynu amgylchiadau marwolaeth Crist, hyd y nod gweithredoedd creulon ei elynion yn ei erbyn; ac, am rágbenderfyniadau Duw doeth yn nghylch y dirgelion a ddatguddid i'r apostolion; ac am ragluniaethiad y saint i fod yn feibion iddo drwy Iesu Grist, yn ol yr arfaeth darddedig allan o'i ewyllys benarglwyddiaethol ef.

3. "Y rhai a alwodd efe" *(kaleo).* Gwel pen. 1, 1, 6, 7, a 8, 28. Y fath alwad yw ag sy'n sicrhau ufydd-dod a chyfiawnhad mewn canlyniad.

4. "Y rhai a gyfiawnhaodd efe" *(dicaioô), to regard as just, to declare one to be just;* ystyried a chyhoeddi un yn gyfiawn.

5. "Y rhai a ogoneddodd efe" *(doxazo), to bestow honour upon, to exalt in dignity;* dyrchafu un mewn anrhydedd ac urddas. Arferir am gyflwr y dedwyddolion yn y nef.

6. Yr un dynion yw y rhai hyn oll. Y rhai a gawn yn *link* flaenaf yr arfaethiad a gawn yn *link* yr alwad effeithiol, ac yn y cyfiawnhad, ar gogoneddiad yn y diwedd.

7. Amcan yr ethol ar rhaglunio oedd eu cael i fod yr un ffurf a delw ei Fab ei hun, sef ei ddelw foesol ef.

Nid y cenedloedd yw yr etholedigion hyn, wedi eu dwyn i mewn i gylch yr un teitl o etholedig neu anwyl ag Israel gynt; canys anghyfiawn a thruenus ydynt hwy gan mwyaf. Mae nifer yr etholedigion,

a'r galwedigion, a'r cyfiawnedigion, a'r rhai sy'n caru Duw, a'r rhai sydd yr un ffurf a delw ei Fab ef, a'r gogoneddigion, oll yr un faint, canys yr un bobl ydynt. Pa fodd y cydsaif hyn a chyffredinoldeb Iawn Duw, a galwadau ei efengyl, Gwel ar adn. 27.

30 *A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, †y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe.

* "A alwodd efe i fod dan fraint yr unrhyw ddioddefiadau â Christ,"—Grotius, Tirinus, Hammond, Hardy, Wetstein. "Nid oes achos am ganiatau drwy alwedigaeth, fel y gwna y Calfiniaid, y naill yn fewnol, a'r llall yn allanol i bawb, yr hyn sy'n iselhad ar berffeithiau Duw," medd Bloomfield, a Macknight. "A alwodd efe drwy ei Ysbryd i fod yn saint,"—Barnes, Walford, Hodge, Stuart. † Esbonia y Tadau ar esbonwyr Groegaidd yr ymadroddion hyn am faddeuant pechodau, a dyfodfa i stad o ras, drwy fedydd. Felly Whitby. Mynent fod dan fabwysiad, y naill yn y bedydd, a'r llall i ogoniant. Felly hefyd Bloomfield. "Arferir y geiriau yn yr amseriad gorphenol i ddangos sicrwydd y ffeithiau,"—Doddridge.

31 *Beth a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? †Os yw Duw trosom, pwy a all fod i'n herbyn?

32 ‡Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, §ond a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd gydag ef hefyd na ddyru efe i ni ||bob peth?

* "Beth a ddywedwn ni yn erbyn y pethau hyn?"---Photius, Beza. "Beth a ddywedwn ni gan hyny?"—Grotius, Bloomfield, Chrysostom, &c. † "Gan fod Duw drosom,"—J. Williams. ‡ "Hyd y nod ei briod Fab,"---J. Williams. "Wrth ei briod Fab y meddylir nid Crist fel Y Gair: ond fel y Messia,"---Stuart. "Ei briod Fab, nid yw ddim ond 'ei Fab ei hun.'"---Koppe, Rosenmuller. § "Nid yn unig er ein llesâd, ond yn ein lle ni,"---Hodge, Stuart, Bloomfield, Koppe, Schoettgen. "Er ein llesad yw yr ystyr,"—Crellius, Rosenmuller. "Y *ni oll* yw y rhai a nodasai Paul, ag oeddynt yn caru Duw,"—Hodge. "Dros yr holl Gristionogion,"—Barnes. "Dros bawb dynion,"—Slade, Bloomfield. || "*Pob peth* tymmorol,---Bloomfield.

"Pa beth a ddywedwn ni mewn perthynas i ymddygiadau Duw tuagat ei alwedigion hyn?" Yr atebiad sydd barod. Gan fod arfaeth a bendithion iachawdwriaeth Duw yn gyfryw â hyn, nid oes dim o fewn creulonderau merthyrdod, nac yn nyfeisiau gelynol uffern ei hun, a all sefyll rhyngom â'n gobaith, na'n gwahanu oddiwrth gariad Duw tuag atom, ffynnonell ddiysbydd yr holl ffrydiau graslawn a nodwyd.

Nid arbedodd *(ouc epheidato)*. *Pheidomai*, arbed; *to spare from treating with severity, to treat with forbearance, tenderness;* ymatal rhag trin un yn arw, trin un gyda thynerwch; megys yn Act. 20, 29; Rhuf. 11, 21; 1 Cor. 7, 28; 2 Cor. 1, 23; 2 Pedr 2, 4, 5; 2 Cor. 13, 2. Prawf yr arferiad a nodwyd o hono mai ei arwyddocâd yn ein testun yw:—ymddwyn yn arw fel y dryllia blaidd y defaid, fel y tyr gwinllanydd ymaith gangenau oddiwrth y pren, fel y bwriadai Paul daro rhai o'r Corinthiaid â barn wyrthiol, fel y tarawodd Duw yr angylion a bechasant, a'r cynddiluwiaid ar eu hol h[illegible]. Wele brawf

nid o fod dynion, ond o fod Duw ei hun, wedi trin ei briod Fab yn arw, yn ddiarbed, ac fel y trinasid ninnau ganddo ef am ein pechodau, oni buasai drefn yr arbediad drwyddo ef.

*Ei briod Fab.* Idiou, *his own, his genuine;* ei Fab priodol ei hun, mewn cyferbyniad i'w feibion mabwysiadol. *Traddododd ef.* Gwel ar pen 4, 25.

33 *Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? †Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau:

34 Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw, ïe, ‡yn hytrach yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd §sydd yn erfyn trosom ni.

* Teflir y beiddiad hwn i wyneb Cristionogion Iuddewig, medd Chrysostom, ac esbonwyr Groegaidd ereill; ond i wyneb y rhai o'r cenedloedd. "Pwy a gyhudda, &c.,"---Stuart. † "Ai Duw, yr Hwn sydd yn cyfiawnhau?"---Awstin, Ambros, Triller, Wells, Whitby, Locke, Blackwall, Harris, Bowyer, Doddridge, Pyle, Koppe, Griesbach, Turner, Belsham, Walford, Knapp, Reiche, John Williams. Dros y dull cyffredin, cadarnhäol o'i ddarllen, y mae Taylor, Slade, Macknight, Bloomfield, Luther, Tholuck, Stuart, Hodge. "Duw yw eu cyfiawnhawr,"---Bloomfield. Gesyd Walford y cyfan o ddechreu adn. 32ain hyd y gair *cleddyf* yn adn. 36, yn holiadau. Felly Belsham, ac ereill. ‡ "Dywedir *yn hytrach*, oherwydd fod ei adgyfodiad ef yn brawf o dderbyniad ei aberth,"---Hodge. § "Yn gwneyd rhywbeth neu gilydd er lles ei eglwys; ond nid eiriol drosti,"---Belsham.

*Pwy a rydd.* Pwy a ddwg yn mlaen gyhuddiad yn erbyn etholedigion Duw? Etholedigion *(eklectoi), chosen,* dewisedig. Ond gwel Traethawd. Cyfeirir at y personau a nodesid yn yr adnodau blaenorol.

*Duw yw yr hwn,* &c., ystyria amryw ddysgedigion yr ymadrodd hwn, ynghyd â'r unarbymtheg ymadroddion dilynol, yn holiadau. Nid yw yn ymddangos fod cynnifer o gwestiynau ar ol eu gilydd yn arferedig gan Paul. Gan mai Duw yw y barnwr goruchaf, pa fodd y dichon un cyhuddiad eu condemnio i golledigaeth? Mae y maddeuant cyfiawnhaol a gyhoeddodd efe ei hun arnynt, yn digonol brofi fod y barnwr o'u hochr. Etto, "yn ol eu gweithredoedd eu cyfiawnheir." Try y credu yn Nghrist, ynglyn â'r hyn yr oedd eu cyfiawnhad, y glorian o'u hochr yn y farn.

Damnio *(ho catacrinōn),* pwy fydd y condemniwr? Y gwr sydd i eistedd ar y frawdle fu farw yn eu lle hwynt. Fel "Duw" efe a'u cyfiawnhaodd, fel "Crist" efe a fu farw drostynt. Dyna ddigon gogyfer a thegwch yn y farn. Ac o hyn hyd hyny, mae efe yn ymyl Duw, ac yn y parch penaf ganddo, fel Eiriolwr drostynt; i ba ddyben, ynghyd â'u cyfiawnhad, y cyfododd efe o'r bedd.

Erfyn *(entugchanei), aiding, assisting, managing one's concerns for his advantage;* cynnorthwyo, llywio a threfnu achosion un er ei lesad. Cymh. Heb. 7, 25; a 9, 24, 1 Ioan 2, 1. Gwel ar adn. 27.

35 Pwy a'n gwahana ni oddiwrth *gariad Crist? ai †gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?

* "Y cariad sydd gan Grist atom ni,"---Chrysostom, Bloomfield, Stuart, Hodge. "Pwy a'm gwahana i?" medd yr hen Syriaeg. "Ein cariad ni ato ef,"---Rosenmuller, Barnes. "Cariad Duw" yw darlleniad rhai copiau Groeg, Slavonaeg, ac amryw feiblau Lladin. † 1 Cor, 4, 11; 2 Cor. 4, 9, 10; a 9, 27: a 11, 23, 27.

*Cariad Duw;* sef, ei gariad ef atom ni.

*Gorthrymder,* sef gofidiau oddiallan, oddiwrth amgylchiadau allanol.

*Ing,* sef gofalon a gofidiau oddimewn; gwasgfeuon meddwl.

*Ymlid,* sef erlidiau oddiwrth elynion Cristionogaeth. Cynnwysa y tri gair hyn ynghyd bob caledi a gwasgfeuon.

Mae dyoddefiadau a pheryglon corfforol yn dod yn nesaf. Mae *newyn* a *noethni* yn ganlyniadau naturiol colli cartref, a chrwydro mewn anial-diroedd, fel y gorfyddai i saint yr oes hóno.

36 (Megys y mae yn ysgrifenedig, *Er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hyd y dydd; cyfrifwyd ni fel defaid i'r lladdfa)

37 Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr, trwy yr hwn a'n carodd ni.

* Psalm 44, 22, yn ol y Septuagint.

Dyfynwyd yr ymadrodd hwn allan o Salm 44, 23; a chymhwysir at gyflwr Cristionogion yn amser yr apostol, fel y buasai at gyflwr duwiolion yn amser y Salmydd.

*Ar hyd y dydd;* sef yn barhaus a dibaid.

38 Canys y mae yn ddiogel genyf, na all nac angeu, nac einioes, nac angelion,* na thywysogaethau, na meddiannau,† na phethau presenol, na phethau i ddyfod,

39 ‡Nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd.

* "Tywysogaethau gwladol, nid angylaidd,"---Bloomfield. "Ond angylaidd," medd Koppe. † "Na drygau presenol na dyfodol,---Grotius, Koppe. ‡ "Na chreaduriaid fry uwchben, nac isod dan draed,"---Wetstein. "Dyfnder adfyd, mewn cyferbyniad i uchder gwynfyd," medd Bloomfield, Schlensner. "Dylid cyfyngu yr adnodau diweddaf hyn at yr apostol ei hun," medd Archesgob Tillotson; ond torwyd i lawr ei holl ymresymiadau gan Doddridge. "Ysbrydion drwg yn yr awyr ac yn hades," medd Origen. "Na dyfeisiau uchel mewn athrawiaethau, nac iselder mewn pechodau,"---Ambros. "Segur gywreindeb ynghylch pethau uwchlaw ac islaw i ni," —Awstin. "Dyfeisiau heresiol y dysgedigion, nac ofergoeledd isel y werin,"---Melancthon. "Anrhydedd a gwarth," medd rhai "Lleoedd uchel a lleoedd isel," medd ereill. "Dedwyddwch a thrueni," medd ereill etto. "Dyrchafiad Cristionogion ar y groes, a'u soddiad yn y môr;" ereill. "Nefoedd a daear," ereill etto.

*Mwy na choncwerwyr* sydd ymadrodd grymus, a hollol briodol yma.

*Drwy,* &c.; sef drwy y nerth a gynnysgaetha efe i ni; Phil. 4, 13.

*Angeu,* sef angeu drwy ferthyrdod.

*Einioes,* ar yr ammod o wadu Crist. Arferid bygwth y naill, ac addaw y llall, i Gristionogion yr oes hono.

MEDDIANNAU *(dunamai)*. Oddiwrth Eph. 1, 21; Col. 1, 16; 1 Pedr 3, 22, ymddengys mai rhyw radd o angylion a feddylir wrtho. Cydgordiai *angylion*, a *thywysogaethau*, ac *awdurdodau*, â thybiau yr Iuddewon am raddau yr angylion. Gelwir Michael yn dywysog *mawr*, yn Dan. 12, 1. Dywedir fod y seraphiaid yn angylion *presenoldeb* Jehofa, yn Esa 6, 1, &c. Yn Matt. 18, 1, darlunir angylion gwarcheidwol babanod fel angylion presenoldeb Duw ein Tad, sef Duw yn ei berthynas â'n goruchwyliaeth ni.

Ond, pa un a'i angylion drwg ynte rhai da a feddylir yma? Fod yr angylion drwg hefyd yn cael eu rhanu yn ddosparthiadau, a ymddengys oddiwrth Eph. 6, 12; 1 Cor. 15, 24; Col. 2, 15, lle eu gelwir yn *dywysogaethau* ac *awdurdodau;* ac yn 2 Pedr 2, 4, lle eu gelwir yn angylion. Hefyd, gelwir Satan yn dywysog, yn Matt. 9, 34; a 12, 24; Ioan 13, 31; a 14, 30; a 16, 11; Eph. 2, 2, yr hyn sy'n arwyddocau blaenoriaeth yn mysg yr angylion drwg. Dengys Eph. 6, 12, yn eglur fod Cristionogion mewn brwydr galed a thywysogaethau ac ag awdurdodau; felly yn yr adnod ger ein bron, yr wyf yn cydweled â Stuart ac ereill, ei bod yn hysbysu, na all nac angylion nac archangylion, a pha rai yr ydym yn ymdrechu; sef, na all yr is na'r uwch ysbrydion aflan, na Satan ei hun, na'r rhai sydd o'r un gradd ag ef, os oes i'w cael, drwy eu holl gynllwynion na'u cynlluniau, ein gwahanu ni oddiwrth serch yr Hwn a'n prynodd atom.

*Nac uchder, na dyfnder;* na'r byd uchod, na'r byd isod. Felly Stuart hefyd.

Dywed y dysgedig Tholuck ar y lle, fod yr apostol wedi sicrhau i'r Cristionogion, yn ein testunau hyn, na chaiff dim eu niweidio os peidiant hwy a niweidio eu hunain. Ac efe a ychwanega, ped amcanasai yr apostol ddal allan y dyb Galfinaidd o barhad mewn gras, yr ychwanegasai efe, na allasai na *gwrthgiliad* na *phechod*, o dan un amgylchiad, droi eu cadwedigaeth dragwyddol yn amheus. Y gall eu cadwedigaeth gael ei throi yn beth ansicr, a welir, medd efe, oddiwrth 2 Pedr 1, 10.

Ond, os ydyw annogaethau (fel y dywed Stuart yn dra chymhwys) a gorchymynion, a bygythiadau, i'w hystyried yn cynnwys ansicrwydd yn nghylch gorpheniad y gwaith a ddechreuodd Duw yn y Cristion; yna, diau fod y Beibl yn llawn o brofion y gallant syrthio ymaith a gorphen eu taith mewn trueni; canys y mae efe yn gyflawn o gyfryw ymadroddion. Ac y mae'r epistol at yr Hebreaid yn llawnach o honynt nac un gyfran arall o'r llyfr. Etto, tra mae yn anmhosibl gwadu hyn, na hyd yn nod gwadu, os iddynt eu hunain y gadewir y Cristionogion, y syrthiant ymaith bob dydd ac awr o'u hoes; gallwn ar yr un pryd, heb un achos cyfreithlon i'n beio, gael caniatad i gredu gydâ'r apostol, am bwy bynag y mae Duw yn eu *galw*, ei fod yn eu *cyfiawnhau* a'u *gogoneddu;* gallwn gredu gydâ'r un apostol—"os bu Crist farw drosom pan oeddym ni mor ddrwg a phechaduriaid a gelynion, mai MWY O LAWER, ar ol i ni fel hyn gael ganddo ein cyfiawnhau drwy waed ei anwyl Fab ef, y cawn eich hachub rhag digofaint"

ganddo, drwy rymus ac effeithiol fywyd yr un Mab ger ei fron drosom, Pen. 5, 6—10. Pa fodd, gan hyny, y gallwn osod ystyr mor oerllyd, ar yr ymadroddion bywiog a grymus hyn? "Amcanion Duw ni siomir," medd yr apostol, "o ddwyn ei feibion i ogoniant." Paham? "Oherwydd i Dduw draddodi ei unig Fab—y rodd fwya'n bosibl—i'w gwaredu rhag pechod, am hyny eu hiachawdwriaeth nid yw yn aros mewn amheuaeth, ond hi a berffeithir." Gallwn ddeall a theimlo esboniad esmwyth fel hwn. Ond, pa fodd y mae gydag esboniadau ein gwrthwynebwyr? "Duw a'ch ceidw rhag galluoedd achosion *allanol* siomiant, os cymmerwch chwi ddim ond gofal eich hunain am y rhai *tumewnol*." Felly yn wir! Ond, yr ydwyf fi mewn anhawsdra mawr yn sugno y cysur a'r sicrwydd sy'n eisieu arnaf, allan o'r fath addewid â hon. Nid yw ond cynnyg i mi ddiferyn unigol o ddwfr pan yr wyf ymron llewygu gan syched, ac mewn angen am gael yfed yn helaeth. Nid yw deg mil o elynion allanol yn hanner can rymused ag un gelyn tufewnol; ac os nad yw anrheg fawr Duw o'i anwyl Fab wedi sicrhau gras santeiddiol ac attaliol i'w blant ef, yr hyn a'u galluoga i "groeshoelio yr hen ddyn, gydâ'i chwantau, a gwisgo am danynt y dyn newydd," y mae y gorchwyl grasol a ganmolir gymmaint, nid yn unig yn anmherffaith, ond yn dra sicr o fethu cyrhaedd perffeithrwydd byth. Ni byddai gan y byd a'r diafol ond dylanwad bach arnom yn wir, pe cedwid eich calonau yn uniawn gyda Duw; a sicr yw, nad yw pob brwydr arall ond ysgarmes fach, mewn cymhariaeth â'r rhyfel sydd yn myned yn mlaen o'n mewn, oherwydd ein gelyn *tufewnol;* sef, ein calon dwyllodrus a drwg. Eithr oni bu farw Crist i'n gwaredu rhag peryglon y gelyn gwaethaf a grymusaf hwn, yn gystal a rhag peryglon ereill? Os nad do, gallwn ollwng ein gafael o bob gobaith a ennynir ynom gan yr efengyl, a bwrw ein hunain i fyny, ar ol y cwbl, am golledigion. Ond na, NA! Nid yw y deongliad hwn yn ateb y dyben ag oedd gan yr apostol mewn golwg. Y mae, a rhaid ei fod, yn wirionedd—"os heddychwyd ni a Duw drwy farwolaeth ei Fab ef, pan oeddym hyd yn nod yn elynion mai *mwy tebyg o lawer*, yn hachubir ni drwy ei fywyd ef," a ni yn awr yn blant iddo. Ond, y mae mor wir â hyn mai drwy foddion y dygir yr achubiaeth hwn i berffeithrwydd, a'r moddion hyny yw, ennill y saint i wneyd eu hetholedigaeth hon yn sicr, a'r modd eu hennillir i hyn yw drwy eu hannog yn ngwyneb eu perygl, eu rhybuddio yn ngwyneb eu perygl, a'u bygwth ag eithafion y perygl. Pwy a all wadu yn awr nad oedd arbedied Ninife yn sicr a diamheuol? a phwy nas gwyr mai drwy gyhoeddi *nas* arbedid hi y cafwyd ffordd i Dduw da yn unol a'i gymmeriad, i'w harbed, yn ol ei arfaeth ei hun? Felly, pwy ag a ddarllena yn ddiduedd adn. 28, 29, 30, o'n pennod hon, a all ammeu gogoneddiad yr etholedigion, pwy bynag ydynt? a phwy ar yr un pryd ag a ddarlleno 2 Pedr 1, 10—"byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr"—nas gwel yno lwybr hawdd i ni gyrhaedd sicrwydd, mai nyni ein hunain yw rhai o'r etholedigion galwedig, a gogoneddedig yn ei bryd? ac nas gwel mai drwy ein gosod ar ein diwydrwydd i gyrhaedd y fraint yn unig y cyrhaeddwn hi?

## PENNOD IX.

### § 7. HAWL DUW YN EI WAHANOL GYMMERIADAU I DDEWIS Y NEB A FYNO YN WRTHRYCHAU EI RAS. ADN. 1—33.

MAE hyn yn dra anghenrheidiol i'w drin, ar ol yr hyn a ddywedasid yn y bennod flaenorol. Ond dechreua 'r apostol drwy arddangos nad un oerfelgarwch at ei genedl a fagasai ynddo yr athrawiaeth, nad oeddynt hwy fel cenedl yn etholedigion cadwedig Duw. Adn. 1—5. Nad oedd Duw wedi erioed addaw i'r genedl yr etholedigaeth gyfeiliornus a goleddid gan Phariseaid yr oes, oherwydd nad *yr* Israel yn yr addewid oedd pob Israeliad yn ol y cnawd (adn. 6). Nad yn ol y cnawd yr arferasai 'r addewid dymmorol nodi ei hetholedigion (adn. 7—13); mai o'r hwn oedd yn galw, ac nid o'r hwn oedd yn gweithio, y tarddai y dewisiad (adn. 11). Mai yr un modd yr ymddygodd efe hefyd ar osodiad i fyny gyfundrefn Sina (adn. 15—17). Nad oes hawl gan ddyn i ddadlu yn erbyn Duw ar bwnc ei etholedigaeth; (adn. 18---23) ac er fod etholedigaeth Duw (yn ol pen. 10, 9---14) yn agoryd ei drws i bwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, o Bagan fel Iuddew, etto mai o'i rydd ewyllys ei hun yn unig y cafodd efe y rheswm annogaethol i hyny, can belled ag y gwyddai 'r apostolion (adn. 24); ac nad oedd hyn oll ddim ond yn ol eu prophwydi hwy eu hunain (adn. 25—28), pa rai a raghysbysasent mai "gweddill" yn unig o Israel y cnawd a gynnwysid o fewn cylch Israel yr addewid (adn. 29), ac mai ar yr Iuddewon eu hunain yr oedd yr holl fai am ei gwrthodiad; am mai gwrthod cymmeriadau ac nid personau a wna etholedigaeth a chyfundrefn Gras Duw (adn. 30---33).

---

### CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. IX.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) NID oes, gan hyny, ddim colledigaeth yn awr, i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu [y rhai sydd yn rhodio, nid yn ol y CNAWD, eithr yn ol yr Ysbryd.] (2) Canys DEDDF YR YSBRYD BYWYD yn Nghrist Iesu am rhyddhäodd i oddiwrth DDEDDF Y PECHOD, a [DEDDF] y FARWOLAETH. (3) Canys y peth nis gallai y gyfraith ei gwblhau, oherwydd ei bod yn wan drwy y cnawd. Duw [a'i cwblhäodd] gwedi danfon o hono ei Fab ei hun, yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac o aberth dros bechod efe a gondemniodd y PECHOD yn y cnawd; (4) fel y cyflawnid cyfiawnder y gyfraith ynom ni, y rhai nid ydym yn rhodio yn ol y CNAWD, eithr yn ol yr YSBRYD. (5) Canys y rhai sydd yn ol y CNAWD, pethau y CNAWD y maent yn synied; eithr y rhai sydd yn ol yr YSBRYD, pethau yr YSBRYD. (6) Canys marwolaeth yw syniad y CNAWD, eithr bywyd a thangnefedd yw syniad yr YSBRYD: (7) oblegid gelyniaeth yn erbyn Duw yw syniad y *Cnawd*, canys i DDEDDF Duw nid yw ddarostyngedig; ac yn wir, nis gall fod ychwaith. (8) A rhyngu bodd Duw nis gall y rhai sydd yn y CNAWD, ychwaith. (9) Eithr chwychwi, nid ydych yn y CNAWD, ond yn yr YSBRYD, od yw Ysbryd Duw yn trigo ynoch. Eithr, os heb Ysbryd Crist y mae rhywun, hwnw nid yw yn eiddo ef. (10) Hefyd, pe bai Crist ynoch, marw yw y corff, oherwydd PECHOD; etto bywyd yw yr ysbryd, oherwydd cyfiawnder. (11) Ond, os Ysbryd yr Hwn a gyfododd Iesu o fysg y meirw sydd yn trigo ynoch, yr Hwn a gyfododd y Crist o fysg y meirw a fywiocâ hefyd eich cyrff marwol chwi, drwy yr Hwn sydd yn trigo ynoch, [sef,] ei Ysbryd ef. (12) Am hyny, frodyr, yr ydym yn ddyledwyr—nid i'r CNAWD, i fyw yn ol y CNAWD: (13) canys os byw a wnewch yn ol y CNAWD, chwi a fyddwch feirw; eithr os gydâ'r ysbryd y marwolaethwch weithredoedd y corff, chwi a fyddwch byw.

(14) Canys cynnifer ag a arweinir gan Ysbryd Duw, dyna y rhai ydynt blant Duw. (15) Oblegid ni dderbyniasoch ysbryd caeth-wasanaeth eilwaith, i beri ofn: eithr

ysbryd mabolrwydd a dderbyniasoch chwi, yn yr hwn yr ydys yn llefain, “O Dad!
O Dad!” (16) Mae yr ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, mai plant
Duw ydym. (17) Eithr os plant, etifeddion hefyd,—etifeddion yn wir i Dduw; a
chyd-etifeddion hefyd â Christ, ar yr ammod o'n bod yn cyd-ddyoddef ag ef, fel yn
cyd-ogonedder hefyd. (18). Canys yr wyf yn cyfrif nad yw dioddefiadau y cyfnod
presenol yn deilwng o'u cydmaru â'r gogoniant dyfodol ag a ddatguddir i ni. (19).
Canys y mae awyddfryd y creadur yn disgwyl am ddatguddiad meibion Duw. (20).
Oblegid y mae'r creadur wedi ei ddarostwng i oferedd nid o'i fodd, eithr gan yr hwn
a'i darostyngodd mewn gobaith: (21) canys rhyddheir y creadur yntau hefyd o gaeth-
iwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw. (22). Oblegid ni a wyddom mai
cydocheneidio a chydofidio y mae pob creadur hyd y pryd hwn; (23) Ac nid *hwynt-
hwy* yn unig, eithr ninnau hefyd, y rhai sydd yn meddu blaenffrwyth yr Ysbryd; yr
ydym ninnau hefyd yn ocheneidio yn ein mysg ein hunain, gan ddisgwyl y mabwys-
iad, sef prynedigaeth ein corff. (24) Canys mewn gobaith yn hachubwyd: eithr y
gobaith a weler, nid gobaith yw; oblegid yr hyn y mae un yn ei weled, i ba beth y
mae efe eilwaith yn ei obeithio? (25) Ond, os am y peth nid y'm yn ei weled y
gobeithiwn, yr ydym drwy amynedd yn disgwyl am dano.
(26). Eithr y mae hefyd yr Ysbryd ei hun, yr un ffunud yn cynnorthwyo ein gwen-
didau ni; canys ni wyddom ni ba beth a weddiom, megys y dylem; ond y mae yr
Ysbryd ei hun yn erfyn drosom ni ag ocheneidiau annhraethadwy. (27) Ac y mae
Chwiliwr y Calonau yn adnabod meddwl yr Ysbryd, oherwydd ei fod ef gerbron Duw
yn erfyn dros y saint. (28) Eithr ni a wyddom mai i'r rhai sydd yn caru Duw y
cydweithia pob peth er daioni, sef i'r rhai ydynt alwedigion yn ol ei arfaeth ef. (29)
Oblegid y rhai a ragadnabu a ragluniodd efe hefyd i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef,
fel y byddai efe yn gyntaf-anedig yn mhlith brodyr lawer. (30) Eithr y rhai a rag-
luniodd efe yw y rhai hyny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe yw y rhai hyny
hefyd a gyfiawnhäodd efe; yna, y rhai a gyfiawnhäodd efe yw y rhai hyny hefyd a
ogoneddodd efe. (31) Pa beth, gan hyny, a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? Os
yw Duw trosom, pwy fydd i'n herbyn? (32) Yr hwn nid arbedodd, hyd yn nod ei
briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll, pa wedd etto, gydag ef, na ddyru efe
i ni bob peth? (33) Pwy a ddwg yn mlaen ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw
yw yr hwn sydd yn eu cyfiawnhau. (34) Pwy yw yr hwn sydd yn eu collfarnu? Crist
yw yr hwn a fu farw; ac yn mhellach, yr hwn a gyfodwyd hefyd, yr hwn sydd hefyd
ar ddeheulaw Duw, yr hwn sydd hefyd yn eiriol drosom ni. (35 Pwy a'n gwahana
ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu erlid, neu newyn, neu
noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf? (36) Megys y mae yn ysgrifenedig, “Er
dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hyd y dydd; cyfrifwyd ni fel defaid i'r lladdfa.”
(37) Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn mwy na gorchfygu, trwy yr hwn a'n
carodd ni. (38) Canys y mae yn ddiogel genyf, nad oes nac angeu, nac einioes, nac
angylion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presenol, na phethau i
ddyfod. (39) Nac uchder, na dyfnder, nac un peth creuedig arall, a all ein gwahanu
ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd drwy Grist Iesu ein Harglwydd.

Y *GWIRIONEDD yr wyf fi yn ei ddywedyd yn Nghrist, nid wyf yn dywedyd celwydd, †a'm cydwybod hefyd yn cyd-dystiolaethu a mi yn yr Ysbryd Glân.

2 ‡Fod i mi dristyd mawr, a gofid dibaid i'm calon.

* Rhuf. 1, 9: 2 Cor. 1, 23; a 11, 31; a 12, 19; Gal. 1, 20. “Yn Nghrist ac yn yr Ysbryd Glân, oedd yn eu presenoldeb,”---Davidson. “Y gwirionedd yr wyf fi yn ei ddywedyd yn mhresenoldeb Crist,”---Walford. “Ffurf o lw ydoedd, yn enw Crist,”---Barnes, Koppe, Bloomfield, Stolz, Van Ess, Michaelist, Pye Smith, Flatt. “Mewn teimlad ac ystyriaeth o'm perthynas â Christ ar y pryd,”---Stuart, Cappell, Crellius, Locke, Taylor, Belsham. “Yn ol dull Cristionogol,---Hodge. † “Math

o lw yw hyn yn enw'r Ysbryd Glân,"—Knapp. "Cyfeiria at gynhyrfiad goruchnaturiol yr Ysbryd,"—Stuart. "Apelia 'r apostol at dri thyst, Crist, ei gydwybod ei hun, a'r Ysbryd Glân,"—Theophylact, Ecumenius. "Apelio at ddau dyst yn unig y mae efe,"—medd Theodoret, "sef Crist, ar Ysbryd yn ei gydwybod." Felly Koppe, Aquinas, Beza, Estius, Grotius, Bloomfield. Dodir "a'm cydwybod yn cyd-dystiolaethu â mi" rhwng cromfachau, gan Noesselt, Koppe, Rosenmuller, Toletus, Menochius, Crellius, Hammond, Macknight, Ammon. "Nid wyf yn dywedyd celwydd yn yr Ysbryd Glân" fyddai y deongliad diweddaf; ac felly Griesbach, a Scholz. "Mae yma lawn awdurdod i ninnau fyned ar lw pan fo amgylchiadau yn galw,"—Macknight, Bloomfield. "Dywed fod ei gydwybod wedi ei phuro gan yr Ysbryd Glân, ac nid fel cydwybod y pagan,"—Barnes. "A'm cydwybod yn dwyn tystiolaeth i mi gyda dylanwad santaidd,"—Walford. ‡ "Teimlad arwynebol i gyd,"—Grotius "Arwynebol yw, yn hytrach, ei feirnadaeth ef,"—Bloomfield.

*Yn Nghrist*, neu drwyddo. Cawn yr unrhyw ymadrodd yn Dan. 12, 7, "Efe a dyngodd drwy yr Hwn sy'n byw yn oes oesoedd;" ac yn Jer. 5, 7, "Hwy a dyngasant drwy y pethau nid oeddynt dduwiau." *En Christo*, yn Nghrist, sydd ffurf o lw, megys y ffurf Hebreig, "*Drwy Jehofa*." Yr ystyr yw, "Yr wyf yn galw ar Grist ei hun yn dyst i wirionedd yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd yr awrhon." Pwyntia yr *en* (yn) at y gwrthddrych drwy yr hwn y cymmerir y llw; megys yn Matt. 5, 34, &c.; Dat. 10, 6; Eph. 4, 17; Esa 62, 8. Nid wyf yn tybied y disgwyliasai Paul i'r Iuddewon oll ei gredu ef ronyn cynt, drwy iddo wirio ei ddywediad â'r ymadrodd, "yr wyf yn dywedyd fel un yn perthyn i Grist," yn gymmaint ag wrth iddo gymmeryd y ffurf hyny o lw ag oedd yn hysbys berthynol i'w grefydd ef.

Mae *llw* yn apel at Fod Hollwybodol a Hollalluog, mewn sicrhad o wirionedd yr hyn a ddywedir; a dilynid y llw yn gyffredin a gweddi am iddo gospi yn amlwg y celwydd, os y cyfryw ydoedd yr hyn a ddatgenid. Ystyriai yr apostol, gan hyny, fod Crist yn gyfryw Fod a hyny, presenol yn mhob lle.

*Yn yr Ysbryd Glân.* Ymadrodd arferedig am fod dan wyrthiol ddylanwad yr Ysbryd.

*Tristyd mawr, &c.* Am yr unrhyw ofid a chydymdeimlad ag ereill, cymharer 1 Cor. 1, 4: Phil. 1, 3, 4; Eph. 1, 16; 1 Thes. 1, 2; Rhuf. 1, 9, 10; Philem. 4; 2 Tim. 1, 3, 4; 2 Cor. 11, 29; a 12, 15.

3 Canys *mi a ddymunwn fy mod fy hun yn anathema oddiwrth Grist, dros fy mrodyr, sef fy nghenedl yn ol y cnawd:

* (1) "Yn anathema gan Grist" yw darlleniad tri chopi tra hen. (2) "Myfi, pan yn Iuddew annychweledig, a ddymunais."—Walford, J. Williams, Conquest. (3) "Myfi a ddymunwn ddioddef marwolaeth dymmorol gan Grist, pe byddai hyny yn peri arbediad i'm cyd-genedl oddiwrthi,"—Jerom, Barnes. (4) "Myfi a ddymunwn oddef fy nhori ymaith oddiwrth Grist, &c."—Tholuck, Stuart, Newcome, Benson, Koppe, Whitby, Hodge, Deyling, Olshausen, De Wette, Calvin. (5) "A gofid dibaid i'm calon (canys bum fy hun unwaith yn ethnig oddiwrth Grist) dros fy mrodyr,"—Belsham, Wakefield. (6) "Ymffrostiais unwaith fy mod, &c."—Bandinel. (7) "Myfi a allwn (gan rym fy serch atynt) ddymuno bod, &c."—Photius, Grotius, Wolf, Bloomfield, Vigerus, Winer. (8) "Fod yn anathema yn ol dull Crist, dros &c."—Doddridge, Waterland, Pyle, Macknight, Henry, Boothroyd. (9) "Cyfeirir at anathema Iuddewig,"—Tholuck, Ruckert.

*Anathema,* Gwel y TRAETHAWD ar y gair. Nid yw yr ysgrifenydd yn cymmeryd lle yma i ddywedyd dim, yn rhagor na'i fod yn anfoddlon i goleddu yr un o'r esboniadau uchod, ar yr ymadrodd dyrus hwn.

4 Y rhai sydd Israeliaid; eiddo y rhai yw y mabwysiad, *a'r gogoniant, †a'r cyfammodau, a dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth, a'r addewidion.

* "Y Shecinah a'r arch,"---Beza, Piscator, Tolet, Grotius, Hammond. "Gogoniant y gwyrthiau a gyflawnwyd drostynt,"---De Dieu, Menoch. "Y Shecina yn unig,"---Estius, Camerarius, Vitringa, Locke, Carpzov, Schoettgen, Bloomfield, Barnes. † "Y cyfammod" yw darlleniad rhai hen gopiau Groeg a Lladin. "Arferir y rhif lliosog am yr hen a'r newydd gyfammodau,"—Theodoret, Estius, De Dieu. "Cyfeirir at y ddwy lech,"---Grotius. "Arferir y lliosog am yr unigol,"---Rosenmuller. "Adnewyddiad ydoedd cyfammod Sina o'r un Abrahamaidd, am hyny arferir y gair yn y rhif lliosog,"---Dr. E. Robinson, Stuart. "Ystyriai yr Iuddewon bob adnewyddiad o gyfammod Abraham yn gyfammod newydd, ac nid yw Paul yma yn gwneyd mwy na phlygu i'w harferiad hwynt,"---Schoettgen, Wetstein, Koppe, Bloomfield.

*Mabwysiad;* y berthynas o feibion neu blant; cymharer Exod. 4, 22, 23; Deut. 32, 5, 6; a 14, 1; Hos. 11, 1. Yr ystyr yw, fod Duw wedi ymostwng i berthynas neillduol ag Israel. Eithr gosodir y fannod o flaen y gair—"*Y* mabwysiad;" sef mabwysiad i berthynas wladol, fel y mae deiliaid yn blant i'w brenin, yn null llywodraethau y dwyrain. Gwel er hyny Gal. 4, 1—3; 2 Cor. 3, 6—18. Cristionogion oedd y plant cyntaf, mewn ystyr grefyddol, a theimlad ac agosad addoliadol, a fu erioed gan Dduw.

*Gogoniant;* gallai, o ran cystrawiad, fod yn fabwysiad gogoneddus; eithr nid o ran cyssondeb y ffydd, canys ein mabwysiad ni yn Nghrist Iesu, y cyntaf-anedig, yw yr un gogoneddusaf. Gwell genyf fi, gyda Stuart ac ereill, ei ystyried am y presenoldeb gogoneddus. Gwir nad gogoniant Duw ydoedd, canys gwrthodwyd dangos hwnw i Moses, i fod yn nghadw yn mysg dodrefn ei gyfammod tymmorol ef; eithr yr oedd yn ogoniant i'r cyssegr a'r celfi oedd ganddynt hwy, er hyny. Y Shecinah oedd y peth mwyaf gogoneddus a feddent.

*Cyfammodau.* Yr oedd enwaediad cyfammod Abraham yn eiddo i Israel; ac yr oedd yn y cyfammod cyntaf hwnw ammod o ochr yr *Elshadai* mawr, i sicrhau y cyfammod hwnw â had Abraham eilwaith, drwy eu hoesoedd. Felly yr oedd crynswdd cyfammod Abraham yn eiddo i'r Israel, ynghyd a holl gynnwysiad cyfammod Sina. A gellir galw y ddeu-ryw breintiau hyn yn "gyfammodau."

5 Eiddo y rhai yw y tadau; *ac o'r rhai yr hanoedd Crist yn ol y cnawd, †yr hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. ‡Amen.

* "Yn ol ei ddynoliaeth,"---Stuart, Bloomfield. "Drwy ddisgyniad naturiol,"---Belsham. † "Eiddo y rhai yw Duw, yr hwn sydd, &c."---Taylor, Slichtingius, Whitby, Crellius. "Uwchlaw pawb," nid yw yn y beibl Ethiopaeg. "Uwchlaw

pawb o'r tadau," medd rhai Sociniaid. "Yr hwn sydd uwchlaw pawb, sef Duw [y Tad] fo yn fendigedig, &c."---Erasmus, Enjeddin, Whitson, Semler, Glockler, er fod Socinus ei hun yn ei gondemnio, ynghyd a Bengelius. "Yr hwn [Crist] sydd uwchlaw pawb [a nodwyd]. Duw fo'n fendigedig yn oes oesoedd,"---Locke, Clark, Justi, Ammon, Reiche, Lindsey, Belsham, yr hwn a gondemnir gan Flatt, Noesselt, Koppe, Ewald, a hyd yn nod Crellius. "Gadewir y gair Duw allan o Destament Stolz yn yr ymadrodd hwn," felly y mynai Erasmus, Grotius, a Schoettgen. "Saif y gair *Duw* am y gair *Arglwydd*,'---Crellius, Wakefield. ‡ *Amen*, nid oedd yn meiblau y Tadau Lladinaidd.

*Yn Dduw bendigedig.* Gwel y TRAETHAWD ar yr amlygiadau o Dduwdod Crist o fewn yr epistol hwn, ar y diwedd.

6 *Eithr nid posibl yw myned gair Duw yn ddirym: canys nid Israel yw pawb a'r sydd o Israel.

* "Nid yw pawb a'r sydd o Israel yn Israeliaid," yw darlleniad rhai hen gopiau Groeg, y Vulgate, ynghyd ag amryw o feiblau yr hen dadau Lladinaidd. Ioan 8, 39; Rhuf. 2, 28, 29; a 4, 12, 16; Gal. 4, 16. "Gair Duw yn ddieffaith,"---Conquest. "Addewid Duw yn ddirym,"---J. Williams. "Nid yr etholedigion, ond rhai yn meddu breintiau efengyl, oedd Israel yr addewid,"---Koppe.

GAIR *(logos)*, *word, promise;* addewid, gair: felly y dywedir— "mae efe wedi rhoi ei air."

*Dirym*, cael ei rwystro; ei attal i gael ei gyflawniad. Benthycir oddiwrth fethiant saeth yn ei hamcan.

*O Israel.* Ceir yn eu Talmud dybiau cyffredin yr Iuddewon am hyn:—"Y mae i bob Israeliad gyfran yn mreintiau y byd a ddaw." Ond gwadir y fath honiadau yn ein testun, yn gystal ag yn Pen. 3; Ioan 8, 9; Matt. 3, 9; Gal. 3, 28, 29. Yna cawn eglurhad ar yr athrawiaeth hon, allan o hanes y patriarchiaid; lle dangosir na fuasai raid i'r Iuddewon synu wrth hyn, oblegid fod Duw wedi ymddwyn at eu cyndadau bob amser yn ol ei feddwl rhydd ei hunan, drwy gynnysgaethu y naill â breintiau arbenig rhagor y llall.

7 Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn had Abraham, i gyd yn blant: eithr *Yn Isaac y gelwir i ti had.

8 Hyny ydyw, Nid plant y cnawd, y rhai hyny sydd blant i Dduw; eithr plant yr addewid a gyfrifir yn had.

* "Yn Isaac y gelwir dy had i fodolaeth,"---Stuart. "Drwy Isaac,"---Belsham.

*Yn blant;* sef plant yr addewid Abrahamaidd, ac nid plant drwy y ffydd. Cristionogion yn unig, medd 1 Ioan 3, 1, sydd felly.

9 Canys gair yr addewid yw hwn; Ar yr amser hwn y deuaf, a bydd mab i Sara.

10 *Ac nid hyn yn unig; eithr Rebecca hefyd, wedi iddi feichiogi o un, sef o'n tad Isaac;

11 (Canys cyn geni y plant etto, na gwneuthur o honynt dda na

drwg, †fel y byddai i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll, nid
o weithredoedd, eithr o'r hwn sydd yn galw)

12 Y dywedwyd wrthi, Yr hynaf a wasanaetha yr ieuengaf.

* "Wedi beichiogi ar efeilliaid,"---J. Williams, Belsham. "Wedi iddi feichiogi ar unwaith,"---Hammond. † "Fel y byddai i'r etholedigaeth yn ol arfaeth Duw, &c." yw darlleniad yr hen gopiau gan mwyaf; a hyn yw y darlleniad derbyniedig yn awr—"Arfaeth Duw drwy etholedigaeth,"---J. Williams. "Etholedigaeth allanol yw hon,"---Schoettgen, Wetstein, Taylor, Macknight, Whitby.

Nid yw y gair "plant Duw" i'w ddeall am blant *ysbrydol*, canys cyfyngir yn unig at hiliogaeth Isaac, yr hyn a gauai allan yn bennodol, hiliogaeth Ismael, ynghyd â phawb oddiallan i Isaac a'i had, o ffafr ysbrydol Duw, nad faint fo eu rhinweddau. Damniai hyn Job ei hun, er ei fod yn berffaith ac yn uniawn, heb ei gyffelyb yn hyny ar y ddaear. Yr amcan yw profi nad oedd Paul, drwy arddangos Duw yn Benarglwydd, yn ei wneyd ef yn ddim gwahanol i'r hyn fuasai efe bob amser: mai dewis y neb y mynai i fwynhau ei roddion, a wnaethai efe o'r dechreuad. Er uched oedd Abraham yn ffafr Duw, un yn unig o'i blant ef a ddewiswyd i fod yn etifedd yr addewid a roisid i gadw yn y cyfammod Abrahamaidd. Ac er dywedyd o hono, mai yn Isaac y gelwid i Abraham yr had dan sylw, gadawwyd heibio un o blant Isaac eilwaith, allan o gylch y cyfammod. Yna rhag i neb o'i ddarllenwyr Iuddewig daeru, mai oherwydd agosach perthynas mam Isaac na mam Ismael ag Abraham, y dewisasid y blaenaf, "Dyna Rebecca hefyd," ebe'r apostol. "Dyna i chwi ddau fab o'r un fam; a'r ddau o'r un tad, sef yr Isaac uchelfreintiog a nodwyd, a'r ddau yn efeilliaid, heblaw hyny; ac etto, dewiswyd un, a gadawwyd y llall. "A rhag i neb o honoch dybied mai oherwydd drwg y naill a da y llall, y gwnaed y gwahaniaeth, y mae genyf hanes fod Duw wedi penderfynu y peth cyn eu geni, na gwneuthur o honynt na da na drwg; ac onid yw hyn yn gosod fy mhwnc (ebe efe) yn safadwy? ac fel y byddai i'r etholedigaeth i freintiau tymmorol a wnaethai Duw yn ol ei arfaeth ei hun, gael sefyll, efe a ddywedodd wrth y fam,—'Cofia di, Rebecca; canys wele fi yn rhaghysbysu i ti mewn pryd, Mai yr ieuengaf sydd i gael y fraint a sicrheais i yn nghyfammod Abraham, i'w had ef;' a gwelwch, Iuddewon oll, (ebe'r apostol) nad o weithredoedd dynion—nad allan o'r *(ek, with Genitive)* hyn o dda nac o ddrwg a ragwelai Duw yn eu gweithredoedd, y tardda y dewisiad ar gadawiad heibio, ond allan o'r Hwn sydd yn galw neu ddewis, yn unig.

Mae ynte, ddwy ffynnonell, mewn dull o lafaru, i ymddygiadau Duw tuagatom. Y naill sydd "o weithredoedd," a'r llall sydd "o'r Hwn sydd yn trugarhau." Yn y farn olaf yn unig y cawn fwynhau o'r ffynnonell flaenaf; ac yma, yn nydd gras yn unig, y cawn fwynhau o'r olaf. Mae gan Dduw ei resymau dros bob un o'r ymddygiadau hyn. Ei reswm am y gyntaf yw ei gyfiawnder. "Dyru i bob un yn ol y byddo ei waith ef." Yma nid oes dim oll ond "o weithredoedd." O ras nid oes dim yma. Rhesymau Duw dros ei drugaredd ydynt oll yn Nghrist Iesu,—ei ufudd-dod a'i farwolaeth ef. Etto, cadwodd

hwynt oll iddo ei hun. Amlygodd amryw o'i resymau dros ei ymddygiadau grasol, i'r apostolion yn rhagor i'r prophwydi, ond ei resymau dros "raglunio" a "gogoneddu" ydynt etto mewn dirgelwch. Nid wyf yn tybied ei fod Ef yn ymddwyn oddiar fympwy mewn dim; ond yn mhob peth yn ol anfeidrol ddoethineb a rhesymoldeb; a dïau ei fod drwy gadw ei resymau dros hyn oddiwrthym ni, yn eithaf doeth yr un modd; er y gallesid tybied y parasai eu datguddiad i'r rhai a wadant ei Benarglwyddiaeth arfaethol gyfnewid eu barnau. Eithr, pe gwelem bob peth i'w achosion a'i resymau, ni byddai nemawr waith i'n hymddiried yn noethineb ac uniondeb Duw.

Hefyd, am *Blant Duw;* amlwg yw nad am ei blant ysbrydol ef yr arferir y gair yn ein testun; ond am ei blant ef yn berthynas ag yr oedd efe yn Dad gwladol iddynt. Yn y dwyrain gelwid, a gelwir, y deiliaid yn blant i'r penadur. Felly yma. Darllener Deut. 32, 5, 6; a 14, 1; Hosea 11, 1; Exod. 4, 22, 23, a cheir gweled priodol ystyr y gair "plant Duw," a "phlant yr addewid" yn ein testun. Nis gelwir mo honynt unwaith yn "blant Duw yn Nghrist Iesu" nac "yn blant Duw drwy y ffydd." Ond paham y sonia yr apostol am yr etholedigaeth hon, tra nad ydoedd hi yn un ysbrydol a chadwedigol, ag yntau ar ganol pwnc etholedigaeth y rhai a gyfiawnheir ac a ogoneddir? Mae yr ateb yn agos. Yr Iuddewon, y rhai a dybient mai had Abraham oedd etholedigion gogoneddedig Duw, a fyddent yn sicr o rwgnach rhag etholedigaeth Paul, yn yr hon y cynnwysid cynnifer o'r cenedloedd, ac o'r hon y cauid allan gynnifer o honynt hwy, plant yr Israel eu hunain. Yn ngwyneb hyn, nid oedd well llwybr i'r apostol na galw i'w cof ymddygiadau yr un Duw, yn ol eu hanesion eu hunain am dano. Yn dewis a gwrthod, "caru" a "chasau," cau i fewn, a chau allan, "trugarhau" a "chaledu," yr oedd Duw yn barhaus; a'r canlyniad naturiol ydoedd, fod Paul yntau yn arddangos Duw fel yn gwisgo yr un cymmeriad, hyd yn nod dan yr efengyl, can belled ag yr â yr arfaethu a'r ethol, oddiar ryw achos ynddo ei hun, ac nid yn y gwrthrychau. Am y *llwybr* eilwaith i gyrhaedd breintiau yr etholedigaeth ysbrydol hon, nid yw Paul yn ei gyffelybu i ddim o'r etholedigaethau a nodwyd. Yn y rhai hyny, nid oedd un ffordd i'r noddfa ffafriol; yma, "pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd." Gofalodd ein hapostol am beidio gadael ei bwnc cyn agoryd y drws yn ddigon llydan i bwy bynag a ddel. Gwel pen. 10, 8—13.

*Ar yr amser hwn;* yn ol yr amser hwn. Rhed yr holl ymadrodd yn Hebraeg llyfr Genesis fel hyn: "Myfi a fyddaf yn sicr o ddychwelyd atat ti, pan adnewyddir yr amser," Gen. 18. 10. Felly Saadias, Tremellius, Rosenmuller, Gesenius, Winer, a Tholuck. Cymharer Gen. 17, 21, a 18, 14. Cynnygia Stuart ei ddeongli yn—"megys ar amser cyfranu bywyd;" yn ol yr hyn byddai yr ystyr yn addaw, yr annerchai Duw hi drachefn fel mam yn rhoi bywyd, sef, yn dwyn plant.

*Na gwneuthur o honynt dda na drwg.* Cyhoeddiad pwysig yw hwn, gyda golwg ar bechod gwreiddiol a llygredigaeth trigliadol yn natur dynolryw. "Ymddengys fod (medd Dr. Stuart), pan lafarwyd gyntaf

yr ymadrodd hwn wrth Rebecca, y plant yn ei chroth wedi tyfu i'r gradd hwnw o berffeithrwydd, pan y mae eu bywyd a'u symmudiad yn hysbys i'r fam, Gen. 25, 22, 23; hyny yw, oddeutu pum mis oedran: cymharer Luc i, 24. Ar y pryd hwn, gan hyny, dywed yr apostol eu bod heb wneuthur na da na drwg; sef, nad oedd iddynt etto un cymmeriad moesol a phendant; neu mewn geiriau ereill, nad oedd hyd hyny un arddangosiad o'u galluoedd moesol. A chydag egwyddor yr ymadrodd hwn, mae rhediad naturiol amryw ymadroddion ereill yn cytuno; megys Esay 7, 15, 16; a'r hyn cymharer 8, 4; Deut. i, 39; Jonah 4, 11. Fod yn rhaid meddu rhyw wybodaeth am gyfraith a'i hymrwymiadau, mewn trefn i allu cyflawni pechod pendant, a benderfynir, debygid, yn Rhuf. 4, 15; ac y mae yr un gosodiad i'w naturiol gasglu oddiwrth Iago 4, 17; Ioan 9, 41; 1 Ioan 3, 4. Y mae cydwybodolrwydd pob dyn o natur euogrwydd moesol, hefyd, yn uniongyrchol benderfynu yn gydfynedol â hyn. Ond, *pa bryd* y tyfa plant i'r fath raddau o foesolrwydd ag i bendant bechu, nid ymddengys fod yr ysgrythyr wedi penderfynu. Nid yw yr ymadrodd barddonol a brwdfrydigol yn Salm 51, 5, pan gymharer a Salm 58, 3, ond prin sylfaenu yr athrawiaeth a dybir yn sylfaenedig ganddi gan lawer o dduwinyddion. Nid yw Gen. 8, 21 yn penderfynu dim yn mhellach na bod dyn, neu o leiaf, dynion yr oes hóno, yn dechreu pechu yn foreu iawn. A feddylio amgen, gan dybied mai llygredd gwreiddiol oedd mewn golwg, rhaid iddo feddwl hefyd mai am ei lygredd *gwreiddiol* y boddodd Duw yr hen fyd, canys yr hyn a geir yn yr adnod dan sylw oedd yr achos cynhyrfiol o'r farn ofnadwy hóno. Nid yw Eph. 2, 3, ac adnodau ereill o gyffelyb natur, namyn cyhoeddi mai peth hollol naturiol yw i ni, *bechaduriaid*, fod yn teilyngu digofaint Duw. Dichon nad oes nemawr yn awr yn tawel fyned ar ol Awstin, gan haeru ein bod yn disgyn dan y digofaint, os byddwn feirw cyn cyflawni un drwg ond pechod Adda. Ond nid oes un o'r adnodau hyn yn nodi allan yr amser pan y mae plant yn dechreu pechu.

Y mae yr apostol, er hyny, yn ein hysbysu yma, *pa bryd yr oedd pechu* HEB *ddechreu*, gyda pherthynas â Jacob ac Esau. Eu bod yn meddu galluoedd neu gynneddfau, hyd yn nod yn y groth, pa rai a osodwyd ar waith wedi hyny mewn cyflawni pechod, ar ol eu cynnydd i fwy o berffeithrwydd, sydd yn hollol wir. Eithr un peth yw y gallu, neu gynneddf fo'n meddu gallu, i bechu; a pheth arall yw cyflawni y pechod. Meddai Adda yn mharadwys, cyn ei gwymp, y gynneddf neu allu i bechu (onide, pa fodd y pechodd efe?); etto, nid oedd efe yn euog o bechu oherwydd ei fod yn meddu y fath allu, ond oherwydd ei gamarfer ef. Am hyny, nid y gallu a gyfrenir i ni gan y Creawdwr sydd yn ein gwneuthur yn bechaduriaid, eithr camddefnyddio y gallu hwnw. Dichon Duw fod, ac y mae efe, yn awdwr ein gallu at bechod; eithr nid yw efe o ganlyniad yn awdwr ein pechod. Felly, dichon fod gan blant bychain yr holl alluoedd gofynol i bechu, heb eu bod o angenrheidrwydd wedi pechu; canys nid oes neb a wada, fod gan Jacob ac Esau hadau neu ddechreuad y fath alluoedd, mor foreu â'u sefyllfa dan ein testyn, pryd y dywed yr apostol eu bod heb bechu dim. Felly yr oedd ganddynt, hyd yn nod yn eu babandod cyntaf, fel cyfran o'u

cyfansoddiad naturiol fel dynolryw, alluogrwydd i deimlo grym temtasiynau pechadurus. Yn awr, mae yn anhawdd iawn genyf fi gydddweyd yn mhellach gyda'r dysgedig Stuart, fod y *galluogrwydd hwn i deimlo felly* mewn amser dyfodol, yn sicr o dyfu nes y *sicr* arweiniai hwynt i bechod. Diau nad yw galluogrwydd i gael ein temtio, yn wir a gweithredol bechod. Rhaid i'r galluogrwydd a'r gynneddf hon *ildio* i'r demtasiwn cyn y bydd yn bechod; neu yn hytrach, yn yr *ildio* hwn y mae y pechod yn dechreu, ac nid yn y dymher a'r gynneddf wreiddiol a roddodd Duw ynom. Etto, mae tymher dueddol at bechod, cyn belled ag y bo wedi ei magu genym ni ein hunain, yn haeddu cael ei gosod yn ein herbyn fel pechod. Ond, y mae cyfrif yn bechod yr hyn a blannodd Gwneuthurwr nef a daear ei hunan ynom, cyn pob ysgogiad moesol o eiddo yr ewyllys, yn arwain i ganlyniadau dychrynllyd. Os oes rhyw gyfran gyfansoddol o'n natur yn bechod, yna pwy yw awdwr ein cyfansoddiad? Ai yn y corff, ynte yn yr enaid, y mae cartrefle moesol ysgogiad—cartrefle pechod? A phwy yw "Tad yr ysbrydoedd?" Os "mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf," pa un ai ar fy nghorff, ynte ar fy ysbryd anfarwol, y beichiogodd hi? Ond rhaid i mi gyfeirio y darllenydd at y *Traethawd* ar Bechod Gwreiddiol, ar y diwedd.

13 Megys yr ysgrifenwyd, *Jacob a gerais, eithr Esau a gaseais.

* Mal. 1. 2, 3; Deut. 21, 15; Diar. 13, 24.

GERAIS—GASEAIS (*êgapêsa—emisêsa*). Gadawn fod y Jehofa yn gallu *caru* yn ddiachos y naill, pa fodd y gellir meddwl ei fod yn *casâu* yn ddiachos y llall? Casâu yn ddiachos fyddai anghyfiawnder yn Nuw fel Penllywydd. Un ffordd o ateb yw dweyd fod ystyr y ddau air hyn yn cael eu meddalu yn fawr iawn, pan fyddont wedi eu gosod megys yma, mewn cyferbyniad â'u gilydd, megys hefyd yn Gen. 29, 30, 31; Deut. 21, 15; Diar. 13, 24; Mat. 6, 24, &c. Yn ol y deongliad hwn yr ystyr fyddai:—"Jacob a gerais fwyaf, ac Esau a gerais leiaf. Nid yw hyn yn arddangos fod Esau yn cael un cam. Arddengys Mal. 1, 2, 3. allan o ba le y dyfynwyd yr ymadrodd, mai hyd at osod allan Ganaan fras i Jacob, a "mynyddoedd o ddiffaethwch, yn nghanol dreigiau yr anialwch," i Esau, yn unig, y cyrhaeddai yr holl garu a'r casâu hwn. A chymmerwn bwyll yn mhellach uwchben nodweddiadau y ddau frawd hyn, a chawn yn fuan weled fod Esau yn llawer gonestach a boneddigeiddiach ei egwyddorion na'i frawd disodlus a thwyllodrus, i'r graddau ag yr oedd Isaac, y tad, dan ddylanwad yr hwn y ffurfiesid ei nodwedd ef, yn rhagori yn hyn ar Rebecca, y fâm, dan ddylanwad yr hon y ffurfiesid nodwedd y llall.

Gwelwn oddiwrth hyn, nad oedd yn un o egwyddorion cyfundrefn yr Elshadai, Duw Abraham, Isaac, a Jacob, i gyfranu gwobrwyon daearol, yn ol rhinwedd yr addolydd, megys ag y bu wed'yn yu nghyfundrefn y Jehofa, Duw Israel; onide dewisasid Esau onest-galon o flaen yr hwn a ragwelid yn dwyllwr ei unig frawd, Esau; a'i dad-ynnghyfraith, Laban; a'i hen dad tywyll ei hun, Isaac, ar ei glaf-wely.

Dylem sylwi yn mhellach, nad y gair a arferir yn y Testament Newydd am gariad o ymhyfrydiad (phileo), ond yn hytrach y gair arferedig am gariad o ewyllys da (agapao), yw yr hwn sydd yn ein testyn. Dywed Deut. 4, 37, mai caru tadau y genedl Iuddewig a wnaethai Duw, ac nid y genedl ei hun, i beri iddo eu plannu yn Nghanaan, a'u breintio â'r berthynas arbenig ag ef ei hun fel eu brenin. Cawn yn aml ddangosiad mai y cariad hwnw a'i hannogodd i'w breintio fel cenedl, cyn belled ag a nodwyd; eithr mai cariad neu gas atynt hwy eu hunain, yn bersonol yn gystal ag yn genedlaethol, a'i hannogai i'w gwobrwyo neu eu cospi, ar ol cyfnod Sina a'i chyfammod, ac mai eu rhinweddau neu eu beiau hwy oedd eilwaith yr unig annogaethau i'w gwobrwyo neu eu cospi yn mhellach na hyn. Cyfnewidiwyd cymmaint â hyn gan Dduw fel Jehofa ar oruchwyliaeth yr Elshadai. Dan yr olaf a nodwyd y ganwyd ein hefeilliaid hyn; a chan hyny, nid o weithredoedd, yn ol trefn Jehofa i Israel, ond yn ol etholedigaeth arfaethol Duw (gwel adn. 11) fel yr Elshadai, y dewiswyd yr ieuangaf a gwaethaf ei nodwedd personol, ac y gwrthodwyd yr henaf a goraf ei nodwedd a'i dymherau teuluol, i fwynhau prif freintiau swyddol Duw Abraham—y Duw Hollalluog, yn ol Gen. 17. Holl fyrdwn Moses, y prophwydi, a'r Salmau, yw hyn :—"Os gwasanaethwch dduwiau dyeithr, &c., &c., Jehofa a'ch tery chwi fel a'r fel, yn ol ei farnedigaethau i Moses, &c.; eithr os oddiyno y ceisi Jehofa dy Dduw, ti a'i cei ef, er mwyn ei gyfammod a'th dadau, yr hwn a dyngodd efe wrthynt." Oddiwrth yr hyn y gwelwn, mai goruchwyliaeth y gweithredoedd oedd un Sina, yn rhoddi hawl i Israel am wobrwyon tymhorol yn ol eu hufydd-dod; eithr fod eu *hetholedigaeth* fel cenedl wedi tarddu o oruchwyliaeth a chyfammod rhad ras Elshadai i Abraham.

Felly yr oedd etholedigaeth eu Jacob—eu tad hwy eu hunain, yn un benarglwyddiaethol. Felly yr oedd Jacob ac Esau, yn ol eu beibi hwy eu hunain, yn ddeiliaid yr un arfaeth ag yr oedd Paul yn traethu fod yr Iuddewon a'r Cenedloedd dan yr efengyl. Ac nid oedd gwaith Paul yn dangos fod yr Iuddewon *fel cenedl* yn cael eu hystyried fel yn rhyw Esau y Testament Newydd, tra yr oedd y Cenedloedd fel y cyfryw yn cael eu hystyried fel pe yn Jacob yr un Testament graslawn, yn gosod un egwyddor newydd yn arfaeth fawr Duw. "Gwir (fel pe dywedasai) na allaf ddywedyd fod y cenedloedd barbaraidd yn fwy teilwng o'u hethol na'r Iuddewon presennol, er gwaethed ynt hwy; etto, gallaf ddywedyd nad yw dewis yr ieuangaf o flaen yr henaf, a'r gwaethaf o flaen y goreu, yn etholedigaeth newydd i arfaeth Duw; er enghraifft, cofiwch am yr etholedigaeth a ddewisodd Jacob o flaen Esau. Onid yn yr un arfaeth yr oedd hòno?"

Rhaid cofio yn mhellach, mai gyda'r gyfran hóno o arfaeth Duw ag a berthyna i'r *Iuddewon* a'r *Cenedloedd*, fel y cyfryw, yr ydym yn penodau 9—11. Gorphenwyd y gyfran a berthynai i'r *gogoneddusion*, yn pen. 8. Felly yr ydym yn cael yma lawer etholedigaeth, a'r oll yn un arfaeth. Y maen tramgwydd a geisir symudo yn awr yw eu rhagfarn yn erbyn athrawiaeth ETHOLEDIGAETH Y CENEDLOEDD; a'r prawf sydd yn ein testyn drosti, yw ei bod yn hollol berthynol i'r un dosparth o etholedigaethau ag etholedigaeth y genedl ragfarnllyd ei

hunan yn Jacob eu tad; sef ethywdigaeth yn cael ei hachosi o gariad yr "Hwn sydd yn galw," ac "nid o Weithredoedd," fel yr etholai Jehofa, brenin Israel, ar ol hyny. Gwelwn nad oedd esbonwyr Iuddewon yr oes hóno yn dirnad eu horuchwyliaethau eu hunain; ac yn wir, rhaid cyfaddef fod yr un dallineb wedi disgyn o ran ar ein hesbonwyr ninnau.

14 *Beth gan hyny a ddywedwn ni? a oes anghyfiawnder gyda Duw? Na atto Duw.

15 †Canys y mae yn dywedyd wrth Moses, Mi a drugarhaf wrth yr hwn y trugarhawyf, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf.

* Deut. 32, 4; 2 Cron. 19, 7. "Cyfeirir at alw y Cenedloedd yn eglwys i Dduw, yn lle yr Iuddewon,"—Tucker, Schoettgen, Turner. "Iaith yw hon a ddodir yn ngenau yr Iuddew dadleugar,"—Stuart. † *Mouses* yw darlleniad yr hen groenfeiblau trymaf eu hawdurdod, ac felly y derbynir gan y beirniaid yn awr. "Cyfrana Duw ei ras i ddynion yn ol fel y rhagwela efe y gwnant ddefnydd o hono,"—Origen, Ambros, a Jerom. "Nid yw gras Duw yn cael dim addasrwydd mewn dynion, ond eu gwneyd yn addas y mae efe,"—Awstin, Calvin. Exod. 33, 19. "Gallasai Paul ddod â rheswm dros waith Duw yn gwrthod yr Iuddewon, ac yn dewis y Cenedloedd, fel y gwnaeth efe mewn manau ereill; sef, am fod y naill yn glynu wrth weithredoedd, tra tynai y lleill ar ol ffydd a gras,"—Hammond, Macknight, Whitby, Taylor.

GYDA DUW *(para Theô)*. Arferir yma yn ffigwrol, *before, in the sight, presence, judgment, of God;* gerbron Duw fel barnwr neu lywydd. Darllener Act. 26, 1; Rhuf. 2, 13; a 11, 25; 1 Cor. 3, 19; Gal. 3, 11; Iago 1, 27; 1 Pedr 2, 4; 2 Pedr 3, 8; a 2, 11, a cheir gweled yr un ymadrodd gwreiddiol yn yr un ystyr. Gorphenasai yr apostol brofi nad oedd un anghyfiawnder yn ei etholedigaeth ef, cyn belled ag yr oedd hi yn gadael, neu gasâu, neu garu y gadawedig yn llai na'r llall, drwy brofi fod etholedigaeth Jacob yn profi yr un fath gasâu tuag at Esau. Yn awr, beth etto am y caru? beth, mewn ffaith, am y trugarhau—am y dewis, am y *Jacobs?* Dangoswyd eisoes nad oes mwy o anghyfiawnder yn etholedigaeth y Testament Newydd at ei *Hesauon*, nag oedd yn etholedigaeth yr Elshadai at ei Hesau hithau; eithr, onid oes ar dir *gras* ryw anghyfiawnder? onid yw y fath drugaredd â hon yn rhy fympwyol i'w phriodoli i Dduw? Os yw Duw am drugarhau, oni ddylai ei drugaredd ddylifo at bob gwrthddrych annheilwng fel eu gilydd? Onid trugaredd newydd allan o etholedigaeth ddyeithr ei rhyw i rai ereill arfaeth Duw, yw trugaredd yr etholedigaeth hon o eiddo Paul? I hyn mae adn. 15fed yn atebiad.

Diau nad oes yn y math a nodwyd o gasâu ar *Esauon* y Testament Newydd, ddim yn newydd i'r casâu ar Esau yr Hen. Felly byddai gwrthodiad yr Iuddewon yn gydunol â'r hen arfaethu gynt, hyd y nod ar dir cyfiawnder yr Hen Destament; ond beth am gyfiawnder a gras y Newydd? A oddefa gras y Newydd i Dduw garu rhyw Jacobau Cenedlig, heb fod yr Esauon Iuddewig yn cael cam ar dir y caru hwn? Gwir fod yr Iuddewon yn gorfod tewi yn nwyneb yr hyn a wneid i Esau, ond beth am yr hyn a wneid i Jacob? Os *trugaredd* noeth sydd i weithredu, onid anghyfiawn yw peidio trugarhau wrth

bawb fel eu gilydd—wrth Iuddewou fel y Cenedloedd? Cai by[illegible] tori ymaith y genedl Iuddewig oddiar y safle lle caiff y Testament Newydd hwynt yn gam ar dir trugaredd? Gadawed *trugaredd* bob un lle caffo ef, os na wna ei ddyrchafu. Yn gyffelyb i hyna yr ymresymai yr Iuddewon yn Rhufain, debygid. Eithr, y mae yr ateb yn barod gan yr apostol:—"Nid yw hyd yn nod *trugaredd* Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist yn haeddu ei chybuddo o gam tuag at Iuddewon yr oes hon; canys, er fod *cyfiawnder* Jehofa yn talu yn gyflawn am bob rhinwedd ufyddol i'r cyfammod hwnw, nid oedd ei *drugaredd* ef yn drugaredd gyffredinol, canys darllenir yn Exod. 33, 19, mai wrth y neb y mynai y trugarhäai efe yn y cymmeriad o Jehofa." Tra dywed yr esbonwyr nad yw Duw yn chwalu ei drugareddau ond i'r neb y mynno, dywedaf fi ei fod wedi, ac yn eu chwalu, yn ol natur y gyfundrefn y bo efe o'i aufeidrol ymostyngiad yn cydsefyll â phechaduriaid dani.

Etto, nid coffâu yr ymadrodd Moesenaidd hwn yr oedd Paul, i brofi pa fath yw rheol Duw *yn awr* i drugarhau. Digalon a thywyll i'r eithaf fyddai nesu at Dduw dan y fath dybiau. Mae efe yn Nghrist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, ac yn cyfranu ei drugaredd i bwy bynag a ofyno iddo. Ni wyddid yn y byd wrth bwy y tosturiai *Jehofa;* gwyddom ni yn awr yn berffaith, y tosturia Duw *ein Tad* wrth bob un a geisio ei dosturi. Ammheuaeth—pwy a wyr, oedd y sail gynt; sicrhad genau Crist ei hun yw y sail yn awr. Gan hyny, nid *darlunio* trugaredd Duw yn Nghrist, ond profi nad oedd etholedigaeth y Cenedloedd, a gwrthodiad yr Iuddewon, yn gofyn un fath o drugaredd amgen i'r hon oedd yn nghyfammod eu Jehofa hwy eu hunain, y mae efe. Gallwn sylwi wrth fyned heibio, er fod etholedigaeth y gogoneddusion, yn ol pen. 8, 28—30, yn mabwysiadu y nodweddiad hawddgar o "rai yn caru Duw" (nad o ba le yr achos cynhyrfiol); nid yw yr hon a elwir yma (11, 5) yn etholedigaeth gras, yr hon a ddewisodd rai yn unig o'r Iuddewon, ynghyd â'r holl Genedloedd drwy yr oesoedd, gan adael heibio y genedl o'r bron, heb y rhagorfreintiau dan sylw, yn gallu sylwi ar un hawddgarwch o'r fath yn ei gwrthddrychau. Yr oedd y byd i gael yr Efengyl—yr oedd y Cenedloedd i gael eu himpio i mewn, heb un ammod o fucheddiad; ond nid felly y mae etholedigaeth y cadwedigion. Gredaf fod yn rhagluniad ac arfaethiad Duw, o bosibl, yr egwyddor ddiammodol, ond cyn y gallai efe eu hethol—cyn y gallai yr etholedigaeth hon o *ymhyfrydiad* gael gwrthddrychau cymhwys, rhaid oedd iddi eu canfod â'i golygon santaidd "yn caru Duw;" er y dichon mai "yn ol ei arfaeth ef" y daethant i'r agwedd hawddgar hono. Pwnc arall yw hwn. Wrth gymmysgu y ddau yr aethpwyd i ddyryswch, o debyg.

16 *Felly gan hyny nid o'r hwn sydd yn ewyllysio y mae, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith; ond o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhau.

* "Rhaid cyfaddef fod Paul yma yn dal allan arfaeth ac etholedigaeth,"—Ammon, Ruckert, Uster. "Yr hwn sydd yn rhedeg fel y mynno,"—Grotius. "Yr hwn sydd

yn rhedeg yn rhyfygus,"—Vorstius. "Yr ystyr yw, nad o ddynion yr oedd y drefn o wrthod Iuddewiaeth, a gosod ffydd Iesu yn ei lle,"—Ecumenius. "Nid o'r hwn sy'n ewyllysio y mae *y fendith*,"—Winer. "Nid yw Duw yn mesur ei orchymynion yn ol nerth dyn; ond ar ol gorchymyn o hono yr hyn sy'n iawn, efe a ddyry nerth i'w etholedigion i'w gyflawni ef,"—Calvin, Awstin.

*Yr hwn a ewyllysiai*, oedd y person wrth ba un y llafarwyd yr adnod flaenorol, sef Moses. Ei ewyllys ef fuasai cael gweled gogoniant Duw, neu gydgordiad ei holl berfieithiau yn ei gyfundrefn ef. Atebiad nacaol i'r cyfryw ofyniad oedd y dyfyniad dan sylw.

Yr *hwn a redai* eilwaith, oedd Esau yn ei frys a'i awydd am y fendith. A chan mai trugaredd bur oedd cyfranu gwlad Canaan ar y naill fel y llall o'r ddau frawd hyny; heb dalu un sylw ar waith y naill yn rhedeg na'r llall yn bradychu, y penderfynodd yr etholedigaeth gras dan sylw. Pa un a yw cadwedigaeth pechadur oddiar ei waith yn ewyllysio neu yn rhedeg, nid yw yr adnod yn tystio. Gwyddom mai ar hyny y dibyna cadwedigaeth pob un mwy, ar ol i Dduw drefnu hyny; eithr adnodau ereill sy'n ein dysgu felly.

RHEDEG yn yr ymadrodd yma a arwydda ymdrechiad egniol.

17 Canys y mae yr ysgrythyr yn dywedyd wrth Pharao, *I hyn yma y'th gyfodais di, fel y dangoswn fy ngallu ynot ti, ac fel y datgenid fy enw drwy yr holl ddaear.

* "Canys i'r amcan hyn y'th gadwyd,"—Y Deg-a-thriugain. Exod. 9, 16. "Caniatâu yn unig i Pharao ymgaledu a wnaeth Duw,"—Walford, Hodge. "Gosododd Duw ef dan amgylchiadau cyfaddas i ddwyn allan ei nodweddiad."—Barnes. "At law Duw yn cadw Pharao dan yr holl bläau y cyfeirir,"—Bloomfield, Carpzov, Wetstein. "At gynnaliaeth Pharao ei hun yn unig y cyfeirir."—Taylor, Doddridge. "Tebycach mai am yr holl deyrnas yr arferir,"—Macknight, Bloomfield. "I hyn yma y'th gynhyrfais,"—Stuart. "Y'th ddygais i fodolaeth,"—Beza, Awstin, Calvin, Gomar, Paraeus, Reiche.

*Mae'r ysgrythyr yn dywedyd*, sydd ffurf o ymadrodd am fod Duw yn dywedyd, ac i'w gael hefyd yn Gal. 3, 8, 22; a 4, 30.

CYFODAIS *(exēgeira), to arouse, excite;* deffroi, cynhyrfu, ac nid creu, na gwneuthur. Darllener Salm 3, 5; a 72, 20; Dan. 12, 2; Barn. 5, 12; Salm 7, 7. Yr ystyr yw cynhyrfu dyn allan o stad o lonyddwch i waith ac egni. 1 Cor. 6, 14. Nid oedd hyd y nod Jehofa, er maint ei ddialeddau, ac er prined ei drugareddau oddiallan i gylch Israel, ei ddeiliaid ei hun, wedi creu na gwneuthur un dyn er mwyn cael y cyfleusdra o'i ladd na'i ddyfetha ef.

*Yr holl ddaear.* Pa fodd y gallasai hyn fod yn wirionedd? A glybu yr holl fyd am wyrthiau Duw yn yr Aifft? Dywed anffyddwyr nad do: ond paham nad do? Ceir cyfeiriadau atynt yn Alcoran Mahomet, yn Artapanus, Diodorus Siculus, a Throgus; yr hyn, yn nghyda'r hanes Iuddewig, oedd ddigonol i'w daenu drwy y gwledydd lle llefarid yr ieithoedd dwyreiniol, y Groeg, a'r Lladin; ac y mae miyrdd o ysgrifeniadau henafiaethol, heblaw hyny, wedi eu colli, yn mha rai y gallasai yr hanesion hynod hyn fod yn llawer manylach na dim a feddwn ni. Ac y mae llawer o'r defodau paganaidd yn tywyll gyfeirio at yr un rhyfeddodau.

18 *Felly gan hyny, y neb y myno y mae efe yn trugarhau
wrtho, a'r neb y myno y mae efe yn ei galedu.
19 †Ti a ddywedi gan hyny wrthyf, Paham y mae efe etto yn
beio? canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef?

* "Y mae yn ei oddef i galedu,"—Conquest, Ecumenius, Nyssen, Rosenmuller, Hodge, Walford. "Y mae efe yn ymddwyn yn galed ato,"—Carpzov, Rambach, Ernesti. "Dangosir mai ar ewyllys Duw y dibyna yr holl dda a drwg a ddygwydd i ddyn,"—Koppe. "Drwy ei hirymaros y caledodd Duw ei galon ef, gan aros i fesur ei ddrwg gynnyddu, fel y parai ei gosp fwy o swn,"—Basil, Origen, Theophylact. "Yn yr ystyr o ystyfnigo yr arferir y gair,"—Koppe. "Nid oes yma gynnwys dim o gosp yr eilfyd,"—Slade. "Nid oes yma ddim ond gadawiad Duw i'r pechadur redeg yn ei ffordd ei hun,"—Barnes. Ond pwy a gafodd fwy o attalfeydd gan Dduw na Pharao? "Os *goddef* i galon Pharao galedu yw ystyr y gair fod Duw yn ei chaledu, yna *goddef* iddi galedu yw y gair sy'n son fod Pharao ei hun wedi ei chaledu,"—Calvin. † 2 Cron. 20, 6; Job. 9, 12; Dan. 4, 35. "Sef, pa fodd y gall Duw yn gyfiawn gospi y calon-galedu hyn, gan mai efe ei hun fu y caledwr?"—Koppe. "Os yw Duw yn cymmeryd at weithio yn y ffordd yna, pwy a *all* fod yn dyner-galon tra y caledo efe?"---Schoettgen, Rosenmuller. "Pwy a all wrthwynebu Duw?" oedd ddiareb, medd Grotius. "Ei amcan, ei bwrpas ef."---Bloomfield. "Mae Paul, yn lle ateb y gwrthwynebwr, yn troi arno fel ar ddadleuwr annheg, am osod gwaith Duw wrth galedu dyn, fel yn croesi rhyddid ewyllys y dyn ei hunan."---Walford, Stuart. Nid yw y beibl yn dweyd fod gallu gan Pharao i aros yn galon-dyner pan galedid ei galon gan Dduw; a diau, nad am y caledu *hwn* ei cospwyd ef. Nid yw Duw yn gwneyd un-peth, ac yna yn cospi neu wobrwyo dyn am ei wneyd, ar ol hyny.

*Efe;* sef y Jehofa dan yr oruchwyliaeth ddiweddaf, ac nid Duw yn Nghrist. Gwel ar adn. 15.

Caledu *(sclerumi)*, yn allegawl yw gwneyd peth yn galed, trwm, gofidus. Sonir yma am galedu *dyn*, mewn dull trawsenwadol am galedu *calon* dyn. Rhaid mai at galedu y *galon* y cyfeirir, canys am galedwch Pharao y sonir; a gwyddom mai ei *galon* ef a galedwyd. Am galedu calon Pharao, gwel ar Mat. 15. Ceir yno, oddiar olrheiniad manwl i arferiad y gair *calon* mai caledu calon dyn yw ei wroli. Felly ar Pharao. Ei bechod ef ei hun, eilwaith, oedd ymladd a'i gryfach. Nid oedd Duw yn rhoddi ynddo wroldeb i'r fath raddau ag i foddi rhyddid ei ewyllys. Gwelwn mai y *teimlad* yw y *galon* mewn ymadroddion o'r fath hyn." Felly cynhyrfodd Jehofa frenin yr Aifft, a "chyfododd" ef ar ei draed, â'i galon mor galed gan wroldeb, nes y gwnaeth son dirfawr am dano ef dros yr holl wledydd. Yna ymosododd ei hun, yn y cymmeriad o frenin Israel gaethiwus a dienw arno ef, a llwyr a hawdd y gorthrechodd ef. Oni buasai iddo wroli Pharao, ni allasai efe dyfu i'r fath enw drwy ddarostwng y cenedloedd cymydogaethol, megys yn ddiau y gwnaethai efe; canys un o Ganaaneaid rhyfelgar Palestina oedd efe. Amaleciad, mae'n debygol. Ac ni thawelodd cynhyrfiadau dial byth yn mynwesau Amalec a Philistia, am foddfa eu hen geraint yn y coch-for gynt; ac edliwiai Jehofa a'i bobl iddynt, o genedlaeth i genedlaeth, y dymchweliad trwyadl hwnw.

Addawsai Elshadai i Abraham holl wlad Canaan. Nid oedd Amalec a Philistia o dir Ham y pryd hyny ynddi. Pobl aflonydd o Phenicia, mae'n debygol, oeddynt, a oresgynasant wlad etifeddol Abraham,

oddiar y Canaaneaid, a'r Philistim, a'r Amalecim gwaraidd, a addolent y gwir Dduw yn amser Abraham. Dygasant eilunaddoliaeth gyda hwynt, yr hwn a gludwyd eilwaith gyda'r dosparth a oresgynodd yr Aifft, a'r Pharaoau rhinweddol a adwaenent Joseph a'i frodyr. Gwyddent yn dda fod Israel i feddiannu y wlad fras oedd yn meddiant eu brodyr a adawsent fry, ac yna arferasant y moddion llofruddiog a chreulyn sydd mewn hanes, i'w gwanhau; a drwgdybient eu hesgus o son am addoli Jehofa yn yr anialwch, yn ddim llai nag ymosodiad ar eu Canaan frodorol eu hunain. Ac er iddynt, yn mraw a gofid angladd fawr eu cyntafanedigion, ddisgyn i anystyriaeth o'r pwnc mawr oedd drwy'r oes yn eu golwg, etto, buan yr edifarhasant ac yr erlidiasant ar ol y ffoaduriaid. Mae y canlyniad yn hysbys. Rhyfel duwiau Canaan neu Phenicia â Duw Abraham yn ei gymmeriad newydd o Jehofa, neu frenin Israel, ydoedd. Yn y cymmeriad o frenin y gwnaeth Jehofa iddo ei hun enw yn ei frwydr ddystrywiol â Pharao, ac â holl dduwiau yr Aifft. Parodd Duw, drwy wneyd enw uchaf yr holl ddaear yn eiddo Pharao, enw penaf yr holl ddaear iddo ei hun, drwy ei orchfygu ef, a'i holl ddwiau; canys trefnwyd pob un o'r pläau yn y fath fodd doeth, ag i fod yn ergyd ar y duw, yn gystal ag ar yr addolwr, ar unwaith. Ac y mae Salmau neu hymnau addoliadol Jehofa yn aml son am y goncwest hon ar dduwiau yr Aifft. Am y goncwest a drefnwyd eilwaith i dduwiau Assyria a Babilon ar y dosparth Aifftaidd o eilunod, a'r diwygiad a drefnodd Jehofa i ddilyn ar ei ddeiliaid ei hun drwy hyny, Gwel ar pen. 2, 17, *Rhagymadrodd.*

*Mae esboniad arall* yn teilyngu ei goffau, er na welais mohono, mwy na'r un a roddais eisoes, yn neb o'r Esbonwyr. Diau, nad yw Duw yn awr, fel *Duw yn Nghrist*, yn caledu neb yn farnol. Nid yw, ychwaith, yn tywallt barnau o un rhyw ar ol diddymiad cyfammod Sina. Dan farn olaf y cyfammod hwnw y dinystriwyd y ddinas, a'r deml, a chelfi y gyfundrefn i gyd. Pan ddarfu perthynas dymhorol Duw a'r byd felly, darfu ei gospau tymhorol; ac yn y byd nesaf y mae carcharau a chrogbrenau yr oruchwyliaeth fawr hon. Un o'i gospau fel brenin tymhorol oedd caledu ei ddeiliad, ac un o'i arfau fel rhyfelwr tymhorol yn arwain ei fyddin i'r maes, oedd caledu ei elyn yn farnol. Pethau perthynol iddo fel un yn eistedd rhwng y cerubiaid oedd y rhai hyn. Pethau yn darfod y tu yma i angau. "Nid ymedy y cleddyf â'th dy di byth," ebe Duw wrth Dafydd. Etto, nid fel Duw y Ffydd, ond fel Jehofa, brenin Israel, y dywedai efe hyny; ac fel y brenin tymhorol hyd angeu yn unig, y cyrhaeddai efe â'i gleddyf hwn y brenin Dafydd. Fel Duw y Ffydd, yr oedd efe wedi maddeu iddo yn rhad a hollol. Fel Jehofa yr *Ilasterion*, neu drugareddfa-wr, yr offeiriad oedd ei was, a chleddyf oedd ei anerchiad. Fel Duw yr *Ilasterios* (Iawn, Rhuf. 3, 25. Gwel ar y lle), Nathan y prophwyd oedd y gwas, a "Duw a faddeuodd dy bechod di," oedd yr anerchiad graslawn. Pe dan y Testament Newydd y buasai Pharao, ar ol marw y cawsai ei gospi; eithr gan mai dan Jehofa yr oedd, cyn ac wrth farw y cafodd efe ei gosp. Os oedd ei bechod yn cyfodi yn ngwyneb digon o wybodaeth i'w wneyd yn deilwng o hyny, diau y telir iddo ar ol y farn ddiweddaf yn yr eilfyd etto. Felly y rhaid dywedyd hefyd

am yr holl bersonau ereill a gospwyd gan Jehofa. Eithr, nid *fel Jehofa*, neu frenin tymhorol felly, y cospa efe yno. O'r ddau esboniad hyn, dywedaf fel yma: fod yr olaf yn gywir, fel y mae y cyntaf yn gywir hefyd; canys fel y dywed y cyntaf y dylid ystyried y *caledu*. er mai barnol ydoedd; tra nad oes cymmaint a *hyny*, ychwaith, o galedu barnol yn bod mwy.

Am waith yr Esbonwyr yn son mai "gadael i ddyn galedu ei hun" yw yr ystyr, ni ddeil ymchwil ieithyddol a beirniadol; canys "efe" sydd yn gwneyd y peth, boed y caledu yr hyn a fyddo yn y diwedd.

Tybia ein testyn fod rhyw Rufeinwr dros Pharao ac Iuddewon yr oesoedd dyfodol, yn gwrthddadlu, nad oedd ganddynt un law yn y caledu; mai ewyllys Duw ydoedd, yr hon nid oeddynt wedi ei gwrthwynebu. I hyn gallesid ateb, mai gwir nad oedd gan Pharao un gwrthwynebiad i'w wneyd i waith Duw yn ei wroli, nac Iuddewon yr oesoedd i waith Duw yn cymmeryd ei efengyl oddiwrthynt, oherwydd creulonderau eu tadau; etto, nad oeddynt i gael eu beio, y naill am fod yn galed neu wrol-galon, na'r lleill am eu hamddifadrwydd o'r efengyl. Ni ddywedodd yr apostol fod Duw yn eu beio am hyn. Duwinyddion sydd yn beio felly. Beiai Duw ar Pharao am ymladd ac ystyfnigo yn erbyn mwy na'i gydradd; ac ar yr oesoedd parhaus o Iuddewon, beïir am eu hofergoelion a'u pechodau yn ngwyneb y goleuni sydd ganddynt, ac am hyny yn unig. Am wrthwynebu ewyllys Duw yn gyffredinol, pa ddyn sy'n peidio? Yn mhwnc yr etholedigaeth rasol dan sylw—o'r Cenedloedd yn lle yr Iuddewon,—yn y dewisiad yn unig, yr oeddid heb fodd i wrthwynebu ei ewyllys ef. Mawr yw y dyrysweh yr ymrwyda duwinyddion ynddo, drwy, fel Stuart, Barnes, ac ereill, briodoli yr etholedigaeth hon i'r gogoneddusion yn pen. 8, 30. Am gymhwysder yr holl drefn rasol o ethol, prynu, a chadw dyn, gwel ar pen. 8, 27. Cymharu etholedigaethau y Beibl â'u gilydd y mae ein hapostol, a cheisio ennill yr Iuddew allan o'i ragfarn at y byd, ac at apostol y Cenedloedd a'i efengyl, yr hon a gredai efe, am fod etholedigaeth Paul yn cynnwys y Cenedloedd, yn lle eu cau hwynt allan, fel y gwnaethai etholedigaethau Duw Abraham, a Duw Israel o'r blaen.

20 *Yn hytrach, O ddyn, pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? a ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn?

21 Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch?

* "Os gall dyn wadu nad oes yma wrthodedigaeth, yna nid oes dim na all efe ei wadu,"---Calvin. "Gwelwn yma na ddylem fesur cyfiawnder Duw wrth a wyddom am gyfiawnder dynion,"---Awstin. "Cadarnheir hawl y Creawdwr, ar y naill law, i wneyd a fyno â'i greadur: a dyledswydd y creadur, ar y llaw arall, i dewi o'i flaen ef,"---Stuart, Schoettgen. Yn hytrach o lawer, dyweder, hawl Duw fel Jehofa, Duw y rhyfeloedd gynt, i wneyd a fyno â *phechaduriaid* a ymladdont ag ef hyd at farw. "Cyfeirir at hawl Duw yn awr,"---Hodge, Walford, a'r holl esbonwyr, o'r braidd.

Dywed Macknight mai awdurdod Duw i ymddwyn at genedloedd yn unig sydd dan sylw. Felly Turner a Koppe.

YN HYTRACH *(menounge) ; but still, moreover ;* ac etto ; "yn mhellach etto, O ddyn." Gan adael atebiadau iddo yn y man yna, try yr apostol arno ar dir newydd. Yr oedd y sylwadau blaenorol, a holl rediad yr Hen Destament, yn cynnwys atebiad i'r wrthddadl wael hon ; canys nid gwrthddadl, mewn ffaith, ydoedd. Ni ddywedasai Paul fod y gwrthddrychau dan sylw wedi cael mantais i wrthwynebu ewyllys Duw yn yr etholedigaeth genedlaethol. Gwel Stuart, Barnes, Tholuck, a Hodge, ddirfawr anhawsderau a *mystery* (dirgel-ddysg). Felly y byddai pe dilynid hwynt i'r pwll o ystyried Paul ar gefn etholedigaeth y cadwedigion, ac yn ateb gofyniad yr adnod flaenorol yn yr adnod hon. Arddengys gair cyntaf yr adnod i bob beirniad o sylw, mai neidio ar y gwrthddadleuwr, fel dyn annheilwng o atebiad, y mae efe, gwrthddadl yr hwn nid oedd deg; canys nid oes yma son am galedu *moesol* yn yr holl ymresymu.

PARCH—ANMHARCH *(timê—atimia)*, mwy a llai o barch ; canys ni wnaeth un crochenydd lestr i'w anmharchu, yn ol eithaf ystyr y gair. Ystyriai yr Iuddew mai ei genedl ef oedd unig lestr parchus y Creawdwr, tra dywedai Paul fod ganddo hawl i wneyd y dyn a'r genedl a fyno yn gyfryw. Gan mai cyffelybiaeth o grochenydd sydd genym yma, rhaid mai yn y cymmeriad o Greawdwr, ac nid o Iachawdwr, yr ystyrid Duw yn yr ymadrodd blaenorol. Fel Iachawdwr, er hyny, y ceir ef yn etholedigaeth pen. 8, 30, tra mai'n Greawdwr a Threfnydd yn unig y ceir ef yn etholedigaeth y pennodau hyn, sef yn ethol y Cenedloedd i mewn i gylch y Testament Newydd.

22 Beth, os Duw, *yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd drwy hirymaros lestri digofaint, †wedi eu cymhwyso i golledigaeth.

* "Ei allu mewn hir-ymaros," heb "oddefodd," yw darlleniad rhai hen feiblau Groeg a Lladin. † Ystyria Stuart mai Duw sydd yn cymhwyso. "Cymhwysasent eu hunain," medd Turner, Doddridge, Vorstius, Walford. "Nid oes yma le i feddwl fod Duw yn creu nac ordeinio dynion i gosp dragwyddol,"---Chrysostom, Theophylact, Ecumenius, Theodoret. "Cyfeirir at gosp derfynol yn y byd arall,"---Koppe. "Nid oes eglurhad yma pwy yw y cymhwysydd,"---Barnes. Mewn gair, esboniad y Calviniaid cryfaf yw, nad gwaith Duw yn eu creu, ond ei amynedd yn eu haddfedu a'u cryfhau, i golledigaeth, a feddylir. Felly yn wir, y dywed amryw o esbonwyr hanner Socinaidd Germany. "Anmhriodol yw priodoli y cymhwyso hwn i ddim ond dirgel gynghor Duw,"---Calvin. "Nid gallu i oddef, ond i lywodraethu, y gorchwyl hwn, yw gallu Duw,"---Awstin.

BETH OS *(ei de)*, eithr os, yr hyn a arddengys gyfnewidiad neu dro yn yr ymresymiad, ac nid parhad o'r un blaenorol. Wele sylw, wrth fyned heibio, ar wrthddrychau y brif etholedigaeth, sef yr etholedigaeth i ogoniant. Arddengys yr *eithr (de)* ar y dechreu, fod yr hyn a geir yma am yr etholedigaeth hon. yn rhywbeth ychwanegol a gwahanol oddiwrth yr ymadrodd blaenorol, er nad, ychwaith, yn wrthwynebus a gwrthgyferbyniol. Fel Creawdwr yr ystyrid Duw yn adn. 21 ; ond fel Achubwr yn yr adnod hon a'r un ddilynol.

Ewyllysio *(thelôn), to purpose, to intend;* amcanu.

Dangos *(endeicnumi).* Arferir yn y Testament Newydd, yn unig am arddangos rhywbeth perthynol i un ei hunan, neu a ddibyno arno ei hunan. Ceir hefyd yn adn. 17, a pen. 2, 15, &c.

*Ei ddigofaint;* yn hytrach, y digofaint; digofaint arall, er gyda chyfeiriad at ei ddigofaint yn yr Aifft.

*Ei allu* gwyrthiol ar frenin a duwiau yr Aifft mewn cyfeiriad, i brofi y dichon efe beri adnabod ei allu mewn dialedd yn y byd arall yn ogystadl.

Oddefodd *(énegka.* Gwreiddyn, *pherô), to bear up under, to bear with, to endure;* cyd-oddef â, megys drygau. "Ni allent hwy *oddef* yr hyn a orchymynodd," Heb. xii, 10.—"Gan *ddwyn* ei waradwydd ef," 13, 13.

Hirymaros *(macrothumia)*, arafwch i ddigofaint. Ceir hefyd yn pen. 2, 4; 2 Cor. 6, 6; Gal. 5, 22; Eph. 4, 2; Col. 3, 12; 1 Tim. 1, 16, &c., lle yr arferir am ymddygiad Duw a'i bobl tuag at y sawl a'u hannogant i ddigio wrthynt. Yma dywedir *aml (polla)* hirymaros, gan gyfeirio, ond odid, at amgylchiad Pharao.

*Llestri digofaint*, gan adael iddynt uchel grasu yn y ffwrn, er cymaint baich oedd hyny ar ei amynedd, ac er fod hyny yn eu cymhwyso i ddwyn trymach tân eilwaith yn ffwrn fawr colledigaeth. Cymhariaeth yw oddiwrth y crochenydd *(potter)*, yn cael ei dilyn yn mlaen o'r adnod flaenorol.

Wedi eu cymhwyso *(katertismena), fitted.* Wedi eu cymhwyso i golledigaeth! Pa fodd? Gan bwy? Paham? Wele un etto o feini tramgwydd yr Esbonwyr a'r Duwinyddion. Y gair yw Katartizo, *to make fully ready, to put in full order, to make complete;* sef, cyflawn barotoi, perffaith gymhwyso y peth at yr amcan; megys adgyweirio, yn ol yr arferiad yn Mat. 4, 21; Marc 1, 19, am adgyweirio rhwydau, pa bethau fuasent mewn cywair o'r blaen. Arferir yn allegawl am adgyweirio barn dyn cyfeiliornus, yn Gal. 6, 1. Arferir hefyd am wneyd dynion yn berffaith fel y dylent fod, yn Luc 6, 40; 2 Cor. 13, 11; 1 Pedr 5, 10. Arferir yn mhellach am ddarparu, trefnu, gosod i fyny. Nid yw y gair i'w gael yn yr ystyr hwn yn y Testament Newydd, oddieithr pan y mae dyn yn naill ai cymhwyso ei hun, neu yn goddef i arall ei gymhwyso ef. [*Only in the Passive and Middle.*] Ond, gan *bwy* y cymhwyswyd y llestri *hyn?* Nid yw y testyn yn ateb, yn mhellach na'u bod wedi eu cymhwyso gan rywun neu rywbeth. Pwy bynag sy'n euog o'r cymhwyso hwn, yr oedd efe naill ai yn wybyddus neu anwybyddus, o'u colledigaeth, ar y pryd. Os Duw oedd y cymhwyswr, ni allai *efe* lai na bod yn wybyddus o'r canlyniad. Ai diau ei fod ef fel Duw yr efengyl yn amcanu colledigaeth personau neillduol, gan ar yr un pryd, a chyda'r cyfryw amcan trwm yn ei feddwl, eu cymhwyso i'r golledigaeth hono? Tybiwyf fod holl gyssondeb y ffydd yn croesi hyn. Tybiwyf mai anmhosibl yw i'r Bôd sydd yn ewyllysio i'r holl rai a gollir fod yn gadwedig—a pha beth llai na hyny yw "ewyllysio i *bob dyn*" fod felly?—gymhwyso neb, gyda'r amcan o'u gwneyd yn fwy-fwy colledig mewn tragwyddol golledigaeth! Nid yw ceisio profi fod gan Dduw fel Penllywydd y byd, hawl i wneyd a

fyno â'i greaduriaid, dim oll i'r pwrpas. Son am y Bod anfeidrol fel Duw yr efengyl, fel Duw y cariad, fel Duw y gras, yn Nghrist Iesu, y mae ein hapostol, fel yr arddengys y ddwy adnod nesaf. Ac os esbonio darluniadau o Dduw y gras yn ymddwyn at bechadur drwy Grist, yr ydym, i ba beth yr awn at gyfiawnder Duw *oddiallan* i Grist, am oleuni a chymhorth? Etto, felly y gwna Barnes, Stuart, Hodge, a'r cyffredin o honynt. Yr wyf yn synu at Stuart hefyd, yr hwn a dalodd gymmaint sylw i briod-ddull Groeg y Testament Newydd. Cafodd efe gipolwg ar fwlch i ddychwelyd drwyddo yn ol i'r brif-ffordd, ond buan y collodd ef eilwaith. "Pan fyddo y Rhangymmeriad *(participle)* yn yr agwedd oddefol *(passive)*. gellir ei chymhwyso (ebe efe) i arddangos yr hyn a wna y gweithredydd arno ei hun."

Etto, "Onid yw ein testyn (medd efe) yn cymharu y *cymhwyso* yn adn. 22, a'r *rhagbarotoi* yn adn. 23? Mae y ddwy adnod yn wrthgyferbyniol i'w gilydd, ac y mae genym, o ganlyniad, 'llestri digofaint' gyferbyn â 'llestri trugaredd,' a 'chymhwyso i golledigaeth' gyferbyn â 'rhag-barotoi i ogoniant.' Pa fodd, gan hyny, (ebe y gwr dysgedig), y gallwn lai na phenderfynu fod y 'cymhwyso' a'r 'rhagbarotoi' yn cyferbynu i'w gilydd?" Ymddengys y gwrthgyferbyniad yma yn gryf iawn, yn ddiau, ar yr olwg gyntaf. Eithr un o'r rheolau deongliaeth ag a wthir i eithafion gan yr Esboniwr enwog hwn, yw y rheol o dalu sylw i'r gwrthgyferbyniadau yn ei destyn. Tebygwyf mai oherwydd rhedeg ar gefn y rheol hon yn ormodol, heb gofio gyda hyny, am briodol bwys y geiriau eu hunain hefyd ag oedd yn y cyferbyniadau, yr aeth efe i gynnifer o gyfeiliornadau neu gamsyniadau, ar pen. 5, 12—21.

Yma, mae yn wir fod y cyferbyniadau a nodwyd gan Stuart yn deilwng o sylw; eithr, y mae yn deilwng o sylw hefyd, y ffurfiau gwahanol yn mha rai y gosododd ein hapostol ei eiriau, yn ngwahanol freichiau ei ymadroddion.

*Yn y naill* cawn Dduw, gan ewyllysio dangos ei ddigofaint a'i allu, yn *goddef*,

*Yn y llall*, cawn yr un Duw, fel y parai wybod golud ei drugaredd, yn *rhagbarotoi.*

Y cyferbyniadau, mewn ffaith, ydynt fel y canlyn:—

1. Duw yn ewyllysio dangos;
   a Duw yn peri gwybod.
2. Duw yn ewyllysio dangos ei ddigofaint;
   a Duw yn peri gwybod golud ei ogoniant.
3. Duw yn peri adnabod ei allu;
   a Duw yn peri gwybod golud ei ogoniant.
4. Llestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth; gan ofalu i beidio dywedyd mai gan Dduw eu cymhwyswyd felly;
   a llestri trugaredd wedi eu rhagbarotoi i ogoniant; gan ofalu am ychwanegu, mai gan Dduw yn bennodol y rhagbarotowyd hwynt felly.
5. Y cymmeriadau ydynt; llestri digofaint wedi eu cymhwyso; a llestri trugaredd.

6. Ymddygiad Duw at y naill yn cael ei gyferbynu a'i ymddygiad at y lleill,—yw goddef drwy hirymaros y llestri a gymhwysasid i golledigaeth, tra rhagbarotoai efe y lleill i ogoniant. Nid yn y cymhwyso a'r rhagbarotoi yr oedd y cyferbyniad, canys nid yw Paul yn dywedyd mai Duw a gwblhäai y ddeu-beth. Dau waith Duw oedd, *goddef* y naill, a *rhagbarotoi* y llall.

Nid yw gwaith yr Esbonwyr o ddianc eilwaith rhag baich eu hesboniad eu hunain, o osod y *cymhwyso* yn orchwyl o eiddo *Duw* dan yr efengyl, drwy edliw fod yr un wrthddadl yn erbyn yr hyn a ddywedasai Duw wrth Pharao, "I hyn yma y'th *gyfodais* di," yn ffordd dêg, nac mewn un modd yn gywir; canys yn ol ei gyfundrefn fel Jehofa, neu frenin gwladol Israel, y llefarasai efe yno, tra mai fel Duw yn Nghrist, y Duw sy'n caru'r byd, &c., y llefarir am dano ef yma. Cymmysgu goruchwyliaethau a gyfeiliorna gredoau. Yn ei le ei hun yn ei deml ei hun y *fitia* pob maen. Felly, yn ei goruchwyliaeth ei hun y *fitia* pob egwyddor o'r dadguddiad dwyfol, Yr oedd Duw, fel ei addolwyr, yn ymdeimlo yn ol ysbryd yr oruchwyliaeth berthynol i'r cyfnod presennol hwnw. Felly y maent oll, fel eu gilydd, yn awr.

Eithr, dychwelwn at ein pwnc. Pwy fu yn cymhwyso y llestri hyn i golledigaeth? Dywed holl rediad y Testament Newydd mai y pechaduriaid ynfyd a gwrthnysig eu hunain, sydd yn euog o'r pechod trwm ac ysgeler hwn. Eithr, nid yw pa beth a ddywed manau ereill yn rhoddi i ni un hawl i wneyd cam â'r ymadrodd hwn. Dylai pob ymadrodd gael llefaru drosto ei hun. Caffed, ynte. A yw gweithrediadau dan ba rai dangosir dynion fel yn oddefol, yn caniatâu i ni eu hystyried fel yn weithredol ynddynt? Ydynt yn ddiau, yn Ngroeg y Testament Newydd, o leiaf. Caniateir, ïe, gorfodir ni i ddeongli perwyddiaid neu weithrediadau fo yn yr agwedd oddefol *(passive)* yn y Groeg, â pherwyddiaid fo yn gosod y dyn yn gweithredu arno ei hun *(middle)*. Mae felly, meddaf, yn dra aml. Ond, y mae yn rhaid i mi yn awr erfyn amynedd y darllenydd diddysg, tra byddwyf yn argyhoeddi ereill o briodoldeb y deongliad, mai "a oddefodd trwy hirymaros lestri digofaint *hunan*-gymhwysedig i golledigaeth," yw meddwl yr iaith wreiddiol yn y lle. Fy rhesymau ydynt y rhai canlynol:—

1. Yn mha le bynag y ceir y berwyddiad hon, *Katartizo*, sef cymhwyso, yn yr un agwedd neu ffurf ag y mae hi yn ein testyn, sef yn y Rhangymmeriad Goddefol *(Passive Part)*; nid yn oddefol, ond yn gweithredu arno ei hun *(in a middle sense)*, y rhaid gan synwyr y lle ei ddeongli *bob amser*. Er enghraifft, Luc 6, 40,—"Eithr pob un *perffaith* a fydd fel ei athraw."—*Katêrtismenos*, pob un hunan-berffeithiedig; *Passive in a middle sense*. 1 Cor. 1, 10,—"Eithr eich bod wedi eich *cyfan-gyssylltu* yn un meddwl." *Katêrtismenoi*, "wedi eich cyfan-gyssylltu eich hunain:" *Pass. in a mid. sense*. Nid yw y gair yn yr un agwedd ag yn ein testyn yn un man arall. Gan hyny, os arferir y gair yn mhob lle arall am *hunan*-gymhwyso, nid oes genym ond braidd le i ddewis peidio â'i arferyd felly yma.

2. Dywed y Gramadegwyr Groeg eu hunain fod y perwyddiaid neu weithred-eiriau goddefol, yn caniatâu yn gyffredin ac aml, eu cyfieithu

ar ffurf hunan-oddefol, neu yn waith y gweithredydd arno ei hun. Gwel ar hyn, Stuart's *Gram. of New Test. Idioms*, § 63, (4); § 123, (6). Rost, *Preface to Greek Lexicon*, 3rd Ed.: and his *Greek Gram.*, p. 274. Dresiglii *Comm. de Verb. Med. New Test., etc.* Poppo *Progr. de Gr. Verb Med., etc.* Winer's *New Test. Gram.*, § 40, 2. Buttman's *Greek Gram.*, § 123, 2.

3. Mae cyssondeb y ffydd, fel y nodwyd, yn gofyn yr un deongliad; canys, nad pa beth am waith yr Elshadai a'r Jehofa, neu Dduw dan y cymmeriadau a'r cyfundraethau anmherffaith hyny, yn cymhwyso dynion i'r naill ddrwg a'r llall, mae rhediad y Testament Newydd yn amlwg, nad yw Duw yn Nghrist un amser yn gwneuthur hyny â neb; ond fod holl dueddiad ei ymddygiadau tuag at y byd yn hollol i'r gwrthwyneb.

4. Nid yw yr ymadrodd yn ein testyn, hyd yn nod o'i ddeongli yn y ffurf sy'n gosod y llestri digofaint yn oddefol, yn ein gorfodi i ychwanegu goddefol oddiwrth bwy; a phell iawn yw oddiwrth ddywedyd, mai cael eu cymhwyso gan Dduw y maent.

Gwelwn mor ddwys yw yr ystyriaeth hon. Cawn yma allan o bin anffaeledigrwydd, fod eneidiau a chyrff yn rhagbarotoi eu hunain i golledigaeth, ac i fod yno yn llestri cymhwysach i Dduw ddangos allan ei enw mawr, drwy y crynswdd o ddigofaint a orfodir gan uniondeb ei fwrw i mewn i'r llestri anffodus hyn, yn oesoesoedd!

Eithr, y mae anhawsder mawr yn aros wrthym yn barhaus yn ein testyn hwn; sef pa fodd y gellir deall ei rediad. Y Groeg sydd debyg i hyn;—"Eithr os Duw, gan [neu drwy] ewyllysio dangos ei ddigofaint, ynghyd ag i beri adnabod ei allu, a oddefodd drwy aml hirymaros lestri digofaint hunan-gymhwysedig i golledigaeth; ac fel y parai adnabod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, y rhai a ragbarotodd efe i ogoniant; sef nyni, y rhai a alwodd efe, nid o fysg yr Iuddewon yn unig, eithr o fysg y Cenedloedd hefyd, &c.," pa beth eilwaith. "Pa beth," medd y darllenydd, "a fydd os gwnaeth Duw felly?" Ie; dyna y dyryswch: pa beth hefyd? Yma nid oes orpheniad i'r ymresymiad. Ymdrecha y dysgedig Winer yn galed, ac i ychydig ddyben, yr hyn nid yw arferol gydag ef. Ei ddeongliad ef sydd fel hyn:—"Os Duw, gan ewyllysio dangos ei ddigofaint—a oddefodd gyda phob hirymaros y llestri digofaint, hyd yn nod gyda'r dyben o arddangos golud ei ras, &c." Yna dwg i mewn y ffigiwr o ymadrodd a elwir *aposiopesis*, neu ymadrodd i'w lenwi gan y darllenydd fel hyn:—"Pa beth, gan hyny—pa beth a ddywedwn ni?" Ystyria efe fod y goddefiad wrth y llestri digofaint yn cael ei beri gan yr hirymaros; ac nid gan hyny yn unig, eithr hefyd gan yr amcan dwyfol o ddwyn allan olud ei drugaredd tuag at y llestri ereill. Buasai dinystr ddiatreg y llestri digofaint hyn, sef yr Iuddewon anghrediniol, yn hollol gyfiawn; eithr yr oedd Duw yn fwy daionus na hyny; efe a'u goddefodd, fel y dangosai, nid yn unig fwy o'i ddigofaint yn ngwaith y llestri drwg yn cymeryd y fantais oddiwrth ei hiroddefiad, i gymhwyso eu hunain i gynnwys mwy-fwy o'i ddigofainr ef yn ol llaw; eithr, fel y gallai ddangos hefyd, oludoedd ei drugaredd ar y llestri ereill, yr hyn nis gallasai efe ei ddangos, na chael cyfleusdra i'w ddangos, oni buasai yr hiroddefiad.

blaenaf; canys er i'r rhai drwg gipio achlysur oddiwrth ddaioni Duw atynt, i fyned yn waeth-waeth, gallodd Duw ddangos golud daioni at ereill, yr hyn sy'n ei gyfiawnhau ef, hyd yn nod ar dir y Testament Newydd ei hun, am gario yn mlaen at y llestri drwg, yr oruchwyliaeth a gymmerid yn achlysur gwaethygu ganddynt. Mae De Wette yn gwahaniaethu rhywfaint oddiwrth Winer. Eithr, rhaid i mi adael heibio sylwi ar egnion Fritzsche, Tholuck, Storr, Flatt, Reiche, Stuart, Heumann, Noessett, a Bloomfield (gwel ef ar adn. 30), pa rai ydynt oll yn ymryddhau o'r anhawsdra, drwy daflu y bai ar yr apostol, am ysgrifenu mor hynod, a gadael heibio ei ymresymiadau ar y canol, fel hyn. Af yn mlaen, bellach, i arddangos yn ostyngedig, fod yr apostol, i'm tyb i, yn gorphen ei ymresymiad yn ol ei ddull arferol, ac yn adn. 30.

Adn. 22. "Eithr os Duw drwy ewyllysio, &c., (23) ac fel y parai wybod golud ei ogoniant, &c., (24) Sef i ni, &c., (25) Megys y mae efe yn dywedyd yn Hosea, &c., (27) ac fel y llefa Esaias, &c., (29) ac fel y dywedasai Esaias eisoes, &c., (30) Beth gan hyny a ddywedwn ni? &c." Ni fuasai raid i'r dysgedigion daro at y gwaith o ffurfio "Beth a ddywedwn ni?" i gynnorthwyo Paul i gwblhau ei ymresymiad, pe gadawsent i'w llygaid redeg yn mlaen; canys yr oedd yr apostol wedi parotoi yr ymadrodd hwn drosto ei hun, a'i osod yn y man cyfaddasaf. Etto, profodd ei bwnc ar ganol y ffordd, yn ol ei arferiad, allan o feibl yr Iuddew ei hun; nid yn gymmaint i'w brofi yn wirionedd, canys gwyddai ei fod ef ei hun dan ysbrydoliad llawer uwch ei radd, ac eglurach ei olygiadau, nag eiddo yr holl brophwydi: eithr dyfynodd prophwydi yr Iuddewon eu hunain, fel y gallai yn haws eu hargyhoeddi hwynt, Iuddewon eglwys Rhufain. Ond, gwel ragor am gyssondeb yr ymresymiad, ar adn. 30, 31.

23 *Ac i beri gwybod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, y rhai a ragbarotodd efe i ogoniant?

24 Sef nyni y rhai a alwodd efe, nid o'r Iuddewon yn unig, eithr hefyd o'r Cenedloedd.

* Eph. 1, 7; Col. 1, 27. "Wrth ogoniant y meddylir y Shecina,"—Macknight. "Doniau yr Ysbryd yw,"---Grotius. "Gogoniant y nef, yn hytrach,"---Stuart. "Ac a'n derbyniodd ni fel y gallai beri gwybod, &c.,"---Belsham.

*Golud ei ogoniant;* sef, ei ogoniant tra-rhagorol, yn ol y dull dwyreiniol o lefaru. Y gogoniant hwn, oedd y gogoniant a wrthodwyd gan Dduw i gyfundraeth Moses. Ei du cefn, ac nid ei wyneb, oedd cynnwysiad eu rhagorfreintiau hwy.

*Y llestri trugaredd* hyn ydynt y galwedigion a geir yn pen. 8, 28.

Rhagbarotodd *(proëtoimase), to prepare before hand;* darparu neu barotoi yn mlaen llaw. Yn Eph. 2, 10 yn unig y ceir y gair, heblaw yn ein testyn:—"i weithredoedd da, y rhai a ragapwyntiodd Duw fel y rhodiem ni ynddynt." Ceir yr unrhyw athrawiaeth yn Act. 13, 48; a 2, 47: Eph. 1, 4, 5, 11; 2 Tim. 1, 9; Rhuf. 8, 28—30; Eph. 3, 11, &c. Ond, pa faint o law sydd gan Dduw yn y *parotoi* hyn? a yw efe yn pendant wneuthur rhywbeth ar, neu i'r llestri hyn, heblaw annog ereill

i'w parotoi hwynt, neu hwythau i'w parotoi eu hunain? Hefyd, ai *rhaglunio* yn unig yw ystyr y gair? canys y mae dirfawr wahaniaeth rhwng *llunio* ac *appwyntio* llestr i waith, a'i *barotoi* ef i'r gwaith hwnw. Rhaid i ni adael i ystyr y gair ein cynnysgaethu ag atebiad. Ceir ef yn y Testament Newydd 39 o weithiau, am *barotoi* ffordd, gwledd, preswylfa; personau, megys milwyr, priodferch, goruchwyliwr, meirch, &c.; yn nghyd ag am Dduw yn *parotoi (make ready, prepare)* yn ei arfaeth, ddaioni neu ddrwg, gwobrwyol neu gospawl, i ddynion. Gwel ar yr arferiad olaf hyn, Mat. 20, 23; a 25, 34, 41; Luc 2, 31; Marc 10, 40; 1 Cor. 2, 9. Cawn yma barotoi teyrnas i'r bendigedigion er cyn seiliad y byd, a darparu anrhydedd teyrnas nefoedd i'r apostolion, a pharotoi iachawdwriaeth gerbron wyneb yr holl genedloedd, a darpariad Duw gogyfer a'r sawl a'i carant ef. Oddiwrth yr arferiad hwn o'r gair, rhaid cyfaddef mai ei ystyr yw *parotoi* yn hytrach na rhaglunio. Pa beth sydd yn gynnwysedig yn y cyfryw barotoi, nid yw ein testyn yn ein hysbysu, yn mhellach na'r ffaith ei hun; a hyny yw, fod Duw ei hun yn ddiwad yn cyflawni y gorchwyl a elwir "parotoi i ogoniant."

SEF NYNI *(ous kai)*. Wrth gyfieithu y geiriau yn "sef nyni," yr ydys yn dal allan mai amcan Duw wrth oddef i'r llestri yn adn. 22 gymhwyso eu hunain i golledigaeth, oedd fel y gallai ddangos goludoedd ei drugaredd tuag at apostolion a saint yr oes hono yn unig. Os yw yr esboniad hwn yn gywir, y llestri trugaredd oedd Iuddewon caled yr oes, ac at Genedloedd yr oes hono yn unig y cyfeiriasai Hosea ac Esaias yn y prophwydoliaethau a ddyfynir yn adn. 25—29.

Pe cyfieithasid yn "nyni hefyd," yn lle fel y mae yn ein beiblau ni, buasai y llestri digofaint a'r llestri trugaredd i'w hystyried yn wahaniaethol oddiwrth saint ac apostolion yr oes. Eithr gan fod y gair bach, *kai*, ac, yn aml iawn i'w gael am *sef*, gwell yw genyf ei adael felly, yn ol y deongliad cyntaf.

*A alwodd efe.* Dengys adn. 24 fod y galwedigion hyn yn llestri i ogoniant, a chan hyny, nid gwahodd yn unig yw ystyr y *galw* hwn, ond rhywbeth mwy effeithiol a llwyddiannus; canys nid yw pawb a wahoddir gan yr efengyl yn llestri trugaredd a gogoniant.

25 Megys y mae efe yn dywedyd yn Hosea, Mi a alwaf yr hwn nid yw bobl i mi, yn bobl i mi; *a'r hon nid yw anwyl, yn anwyl.
26 †A bydd yn y fangre lle y dywedant wrthynt, Nid fy mhobl i ydych chwi: yno y gelwir hwy yn feibion i'r Duw byw.

* "A'r hon ni chawsai drugaredd yn cael trugaredd," medd yr hen Syriaeg, Arabaeg, a rhai hen feiblau ereill. Hos. 2, 23, 1 Pedr 1, 10. † Hos. 1, 10.

Amcan y dyfyniadau hyn yw profi fod y *llestri trugaredd* i gael eu dewis o fysg y Cenedloedd yn gystal ag o'r Iuddewon. Codwyd allan o Hosea 2, 23; a 1, 10. Diau mai cyfeirio yr oedd y prophwyd at ddychweliad Israel i ffafr Duw, ar ol iddo eu bwrw heibio oherwydd eu hanwiredd. Nid arferyd y brophwydoliaeth am hyny i brofi derbyniad y Cenedloedd y mae Paul, fel y dywed yr Esbonwyr gan mwyaf; eithr profi yn erbyn yr Iuddew allan o'i brophwydi ei hun, fod Duw yn arfer derbyn dynion i'w ffafr ar ol unwaith eu bwrw ymaith yn hollol; ac yna

codi ymresymiad ar bwys y ffaith hòno, gan ddywedyd, Os oedd Duw yn arfer ymddwyn felly at rai, mai peth tebygol y gwnelai efe felly tuag at y gwrthddrychau yn ngolwg Paul.

27 *Hefyd y mae Esaias yn llefain am yr Israel, Cyd byddai
nifer meibion Israel fel tywod y môr, gweddill a achubir.
28 Canys efe a orphen ac a gwttoga y gwaith mewn cyfiawnder;
oblegid byr waith a wna yr Arglwydd ar y ddaear.

* Esay 10, 22, 23. "Tebygol fod y prophwyd hefyd yn cyfeirio at amser y Messia," Stuart. "Fel eglurhad egwyddor, ac nid cyflawniad prophwydoliaeth, yr arferwyd yma,"—Barnes, Turner. "Arferir y fannod o flaen gweddill, i ddangos mai gweddill neillduol oedd,"---Middleton.

Cymmaint a hyny am dderbyniad y Cenedloedd. Yn nesaf, arweinir ni at wrthodiad yr Iuddewon, yr hwn sydd (fel y dywed Stuart) yn bwnc llawer anhawddach i'w drin yn briodol i foddlonrwydd. Mewn trefn, modd bynag i benderfynu y ddadl, apelia'r apostol at gyhoeddiadau y prophwydi Hebreaidd eu hunain.

*Llefain*, ebe efe; neu lefaru yn uchel a dibetrus; "ac os oedd efe yn meiddio, paham y rhaid i neb yn awr," fel pe dywedasai Paul, "i ofni llefaru yr un peth?" Dyfynwyd allan o Esaia 10, 22. Eithr arferid y gair *llefain* yn unig am lais prophwyd dan Ysbryd Duw.

*Gweddill*, neu yn hytrach, *y* gweddill. Cyfeiria yr ymadrodd hwn, medd y dysgedigion, gan y prophwyd ei hun, at amser y Messia. Yr ystyr yw, mai ychydig yn unig a droent at Dduw, fel eu achubid, mewn cymhariaeth â'r lliaws a ymgaledent, ac a gymhwysent eu hunain i golledigaeth. Gwel hefyd Esay 10, 20, 21.

Y GWAITH *(logos)*, gair, araeth, achos, son. Am ei ystyr yn y testyn nid yw yr Esbonwyr yn cytuno. Rhai a'i cymmerant am gwblhad *penderfyniad;* ereill am gwblhad *gorchwyl.* "Efe a orphen y gwaith," yw "efe a gyflawna ei air." "Efe a gwttoga y gwaith," yw "efe a ddwg i gwlwm a gorpheniad, &c."

*Mewn cyfiawnder;* sef, i'r graddau ag a foddlono ofynion cyfiawnder.

*Ar y ddaear;* sef, ar holl dir Israel, yn ol dull yr Hebreaid o arferyd yr ymadrodd. Yr oedd Duw er's talm wedi bygwth dystrywio lluoedd o'r Iuddewon am eu hanufydd-dod; ac nid oedd yn un siarad dyeithr i'w beibl hwynt, son y dystrywid lluaws mawr o honynt am eu gwrthryfelgarwch.

29 Ac megys y dywedodd Esaias yn y blaen, *Oni buasai i Arglwydd y Sabbaoth adael i ni had, megys Sodoma y buasem, a gwnaethid ni yn gyffelyb i Gomorra.

* Esay 1, 9; Galar. 3, 22; Esay 13, 19; Jer. 50, 40. "Cyfeirir at gosp dymhorol Israel,"---Barnes, Stuart.

Mae y geiriau allan o Esay 1, 9, yn ol Groeg y Deg-a-thriugain. Cyfieithir fel hyn gan Esgob Lowth :—"Oni buasai i Jehofa, Duw y Lluoedd, adael i ni weddill, buan y buasem fel Sodom; buasem fel Gomorra" Amryw o'r Esbonwyr, megys Esgob Lowth a Koppe, a dybiant

fod yma gyfeiriad at ryw ymosodiad ar Judea gan Resin a Phecah, tua diwedd teyrnasiad Jotham. Ereill a'i cyfeiriant at amseroedd Ahaz, pan ymosodwyd o bob cwr ar Judea, gan y Syriaid a'r Israeliaid o'r gogledd, gan yr Edomiaid o'r deau, a chan y Philistiaid o'r gorllewin (Gwel 2 Cron. 28, 5—9). Rosenmuller yntau, a'i cymhwysa at amseroedd truenus Uzziah (Gwel 2 Bren. 14, 8—14). Cymhwysir yr ymadroddiyn gan yr apostol at genedlaeth ddiweddaf yr oruchwyliaeth: nid fel prophwydoliaeth, canys ni chyflawnir hòno ddwywaith; ond fel prawf nad oedd Jehofa yn ystyried ei hun yn rhwym o gadw y genedl rhag dinystr yn mhob gradd o anufydd-dod.

ARGLWYDD Y LLUOEDD *(Kurios Sabaoth)*. Cyfeiria y teitl hwn at Dduw yn ei berthynas â'r oruchwyliaeth a gynnwysai dani luoedd o angylion. Nid oedd ganddo fel Elohim Adonai, sef Duw goruchwyliaeth foreu Melchisedec; nac fel Elshadai, sef Duw Abraham, Isaac, a Jacob, nemawr angylion. Dan yr olaf o'r ddwy a nodwyd yn unig y meddai neb o honynt, ac nid mwy na dau neu dri, ychwaith, dan hòno. Nid yw efe yn cael ei deitlo yn Arglwydd y Lluoedd cyn goruchwyliaeth Moses. Ymddengys ei fod wedi parotoi lluoedd o rai "cedyrn o nerth" dani hi. Nid oes un sail, heblaw dychymmyg, dan dyb Van Cölln, yr hon a gofleidir hefyd gan y beirniad sobr, Tholuck, mai am fod Duw yn amddiffynydd galluog, ac yn Arglwydd ar y ser, neu lu y nefoedd, y priodolid y teitl hwn iddo ef. Arglwydd y llu angylaidd, medd Stuart a Gesenius. Ymddengys, er fod Duw yn gosod y lluoedd angylion hyn yn arglwyddi ar Israel a'u goruchwyliaeth gnawdol, a chyfyng, a lleawl, nad oedd na Moses na'r Barnwyr yn gwybod nemawr am hyny cyn cyfnod Samuel. Yna daeth gweledigaethau yn fwy eglur, a chawn Hannah yn priodoli y teitl hwn i Dduw Israel yn gyntaf oll. Gwel 1 Sam. 1, 11. Daeth y teitl i arferiad yn raddol ond yn gynnyddol o hyd ar ol hyny. Ac etto, nid oedd Moses ei hun yn anwybyddus o'r ffaith, fod rhyw fodau nefol a santaidd gyda Jehofa ar ben Sina, canys cyfeiria at hyny yn Deut. 33, 2.

HAD *(sperma)*. Yr ystyr yw gweddill, neu had gweddill; sef yr hyn a achubir ar ol dinystr cyffredinol. Cyfeirir at yr hyn a adewir o'r grawn gan y flwyddyn ddiweddaf, at fod yn had i'r flwyddyn ddyfodol. Yn Sodoma a Gommorra nid oedd cymmaint ag un wedi ei adael i adgynnyrchu y genedl, canys nid oedd Lot namyn dyn dyeithr.

30 *Beth gan hyny a ddywedwn ni? Bod y Cenedloedd, y rhai nid oeddynt yn dilyn deddf cyfiawnder, wedi derbyn cyfiawnder, sef y cyfiawnder sydd o ffydd.

* "Mae Paul yma yn crynhoi mewn gair holl ddadl y bennod."---Rhuf. 4, 11, a 10, 20.

Yn awr y gorphenir yr ymresymiad, oddiwrth yr hwn y neidiwyd ar ddiwedd adn. 23, fel hyn:—"Eithr os oedd Duw, drwy ewyllysio dangos ei ddigofaint, &c., a pheri adnabod golud ei ogoniant, &c., yn goddef y naill, ac yn rhagbarotoi y lleill; pa beth a ddywedwn ni am hyny? Y casgliad oddiwrth adn. 6—21, yw yr hyn a geir yn adn. 22, 23; a'r casgliad oddiwrth yr adnodau a nodwyd eilwaith, yw adn. 30—32.

*Y Cenedloedd;* neu Cenedloedd, yn hytrach, heb y fannod, gan arddangos mai rhai yn unig o honynt oedd yn ei olwg.

YN DILYN *(diôkonta).* Arferir yma yn allegawl, am *to follow earnestly, to pursue after, in order to acquire or attain to;* sef, dilyn o ddifrif, mewn trefn i gyrhaedd. Ceir hefyd yn adn. 31, am waith Israel yn dilyn o ddifrif ar ol cyfiawnder; yn 1 Cor. 14, 1, am ddilyn cariad yn ddifrifol; yn 1 Tim. 6, 11; Heb. 12, 14; a Phil. 3, 12, 14; am ddilyn felly wahanol rinweddau a pherffeithiau Cristionogol.

*Cyfiawnder;* gan mai y cyfiawnder sydd o'r Ffydd yw, amlwg mai y cyfiawnder sydd yn cyfiawnhau yn rhad ydyw. "*Eithr* y cyfiawnder sydd allan o gyfundrefn y Ffydd—yn tarddu o honi hi, ac nid y cyfiawnder cnawdol a darddai allan o gyfundrefn y Ddeddf, a gyrhaeddasant hwy," ebe'r apostol.

DERBYN *(lambanô), to take, choose, size, lay hold of, to partake of;* sef, cymmeryd, dewis, cipio, gafael mewn, cyfranogi o, y cyfiawnder dan sylw. Gan hyny, nid peth i'w gaffael heb yn wybod i'r dyn ei hun, ond i'w gael drwy weithrediad o'i eiddo, ydyw. Rhaid iddo ystyried; ac oddiar ystyried, benderfynu; ac oddiar benderfynu, dderbyn; onide heb ei gyrhaedd yr erys efe.

31 Ac Israel yr hwn oedd yn dilyn deddf cyfiawnder, *ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder.

* Gadewir y gair cyfiawnder allan o bump o'r ysgrif-gopiau henaf, heblaw rhai ereill, a'r cyfieithadau Lladin. Felly, mae peth gwendid yn ei awdurdod. Yr ystyr hebddo fyddai, "Er fod Israel yn dilyn am gyrhaedd rheol cyfiawnder cyfiawnhaol y ffydd, ni chyrhaeddodd i hyd yn nod deddf Moses; ond arosodd gyda'r traddodiadau." Neu, gall arwyddocau y gallasai Israel gyrhaedd y cyfiawnder, oni buasai iddi fethu cyrhaedd ei ddeddf neu reol, sef edifeirwch a chrediniaeth. "Wrth ddeddf cyfiawnder y meddylir cyfiawnhad deddfol,"---Vatablus. "Wrth y ddeddf gyntaf y meddylir un Moses, ac wrth yr olaf athrawiaeth Crist,"---Kypke, Rosenmuller, Schleusner. "Anmhosibl fod Paul yn arfer y gair deddf mewn dau ystyr mor agos i'w gilydd,"---Turner, Glass, Le Clerc.

*Israel,* fel y genedlaeth a erlidiasant Grist a'i apostolion.

*Deddf cyfiawnder,* nid oedd ddeddf Moses fel cyfundrefn; etto cyfaddefa Paul yn pen. 10, 5, fod cyfiawnder perthynol i'r Ddeddf i'w gyfranu ganddi i'w deiliaid ufydd ei hun; sef cyfiawnder tymhorol Jehofa fel brenin y genedl, ac nid fel Duw y Ffydd yn cyfiawnhau yr annuwiol edifeiriol heb un aberth yn ei law. Ond gwel yn mlaen.

NI CHYRHAEDDODD *(ouc ephthase).* Felly hefyd Phil. 3, 16. Eithr y mae dirfawr wahaniaeth rhwng "y cyfiawnder sydd o'r ddeddf," a "deddf cyfiawnder." *Y ddeddf* oedd yr un Foesenaidd. *Y cyfiawnder* sydd berthynol i gyfundrefn Ffydd. *Deddf* y cyfiawnder hwnw eilwaith yw ei reol; sef y rheol wrth ba un ei cyrhaeddir. Ond, pa fodd yr oeddynt hwy, yr Israel hyn, yn dilyn ar ol y rheol hon, ac etto heb ei chyrhaedd? Gwyr pob un a ddarllena yr Efengylwyr yn fanwl, eu bod yn proffesu dilyn y rheol a'r drefn fu yn cyfiawnhau Abraham gynt; a dywed Paul yn yr epistol hwn, mai drwy gyfundrefn y Ffydd y bu hyny; etto, gan mai dilyn y rheol hon o hirbell ac yn waglaw,

er yn ddifrifol, yr oeddynt, safodd eu rhagfarn yn barhaus rhyngddynt a chydio ynddi. Enbyd yw yr helynt sydd wedi bod ar lawer Esboniwr wrth geisio gwingo gyda'i gredo drwy borth yr adnod hon. Gwelwn yn ol yr esboniad uchod, nad oes raid gosod y naill *ddeddf cyfiawnder* yn unrhyw beth gwahanol i'r llall.

32 Paham? *Am nad oeddynt yn ei cheisio drwy ffydd, ond
megys drwy weithredoedd y ddeddf: canys hwy a dramgwyddasant wrth y maen tramgwydd.

33 Megys y mae yn ysgrifenedig, Wele fi yn gosod yn Seion faen tramgwydd, a chraig rwystr: a phob un a gredo ynddo, ni chywilyddir.

* "Megys drwy weithredoedd," yw darlleniad pedwar o'r hen gopiau Groeg, a'r Coptaeg, Vulgate, ac amryw hen gyfieithiadau Lladin ereill.

*Paham?* y gwrthododd Duw y genedl? medd amryw Esbonwyr; ond paham y methasant gyrhaedd deddf cyfiawnder rhad cyfundrefn y Ffydd? yw y tebycaf. Atebiad ein cyfieithwyr cyffredin, ynghyd â phob esboniwr a welais i hyd yma, yw;—"am nad oeddynt yn ei cheisio o ffydd, &c." Eithr, beth meddent, wyddis, uwchben y ffaith, nad yw "oeddynt yn ei cheisio" yn y testyn gwreiddiol; a gwrthodir y "canys" hefyd gan yr holl awdurdod yn awr; a bellach, ein testyn a geir yn hollol eglur heb na chymhorth na dyryswch:—"Eithr Israel drwy ddilyn *(participle)* rheol cyfiawnder [rhad y Ffydd], ni chyrhaeddodd reol cyfiawnder. Paham? Oblegid, nid drwy [allan o] Ffydd, eithr megys [fel pe buasai] drwy Weithredoedd Deddf, tramgwyddo a wnaethant wrth y maen tramgwyddo." Paham na chyrhaeddasant reol cyfiawnder? Tramgwyddo, a chwympo a wnaethant, tra yn dilyn ar ei hol, a chyn ei chyrhaedd, Pa beth a'u taflodd i lawr, druain? Y maen tramgwydd a osodasai eu Duw hwy eu hunain yn Seion. Yr oedd cyfundrefn yn berthynol i'r Maen hwn, yr hon a elwid Ffydd; ai rhywbeth allan o hòno a barodd iddynt geisio rhedeg dros y maen hwn, nes eu cwympo mor druenus? Nage; eithr gellir dywedyd yn hytrach mai cyfundrefn gweithredoedd y ddeddf; neu yn hytrach eilwaith, y traddodiadau, a'r defnydd anmhriodol a wnaethant hwy o'r Ddeddf, a barodd yr amryfusedd. Ai yn faen pwrpasol i beri tramgwydd a rhwystr y gosodasai Duw y maen dan sylw yn Seion? Nage, ond yn hytrach yn seilfaen i adeilad newydd yno, yn lle yr hen adeiladaeth Foesenaidd, o'r hon yr oedd pob saer celfydd a chall yn cywilyddio; eithr trugaredd yn unig yn Nuw oedd eu hanrhegu â'r maen hwn, canys darparasid *hwn* ganddo yn gyfryw na chywilyddiai neb byth, am wario ei oes, ei nerth, a'i gymmeriad, i adeiladu arno. Paham ynte y rhag-enwid y maen a osodasid i'r amcan trugarog hwn, yn faen tramgwydd gan Dduw ei hun? Oherwydd mai priodol cyfnewid ei enw cyntefig am yr enw hwn. Pen-conglfaen gwerthfawr, a sylfaen safadwy, oedd yr enw arno yn ol ei amcan a'i ddefnydd cyntefig; eithr pan ruthrodd y genedl ar ei draws mewn gwawd, nes methu

a myned o honynt yn mlaen gyda'u Moeseniaeth o'i achos, aeth yn rhwystr i'w hen grefydd, er nas ennillodd hwynt i ymddiried arno ei hun yn lle hyny; ac wrth sylwi arno ef a hwynt-hwy fel yna, rhoddodd Duw arno enw arddangosiadol o'r defnydd a wnaed o hono—galwodd ef yn "graig rhwystr." Ac wrth ganfod yr un genedl yn ei wneuthur yn sangfa mewn gwawd, a thrwy hyny yn tramgwyddo a chwympo heb ddysgwyl, galwodd ef hefyd yn "faen tramgwydd." Felly, ein hapostol, gan ei fod yn gweled y defnydd a wneid o'r Maen gwerthfawr hwn, efe a gyplodd y ddwy broffwydoliaeth yn un, allan o Esay 8, 14, a 28, 16.

Gwelwn mai prif amcan Duw yn cyfodi ei Fab o fysg yr Iuddewon, oedd fel y gallent gael mantais well i dderbyn ei grefydd ef. Darparasid hwynt gan yr Hen Destament, can belled ag yr oedd o ochr Duw, fel mai hwynt-hwy oedd y genedl hawddaf o bawb i wneyd derbyniad o hono ef; eithr, y dylanwad a gafodd eu rhagfarn a'u camesboniadau, a'u balchder gwladol, arnynt, oedd eu haddfedu i'w wrthod oherwydd ei iselder ymddangosiadol, a'i amddifadrwydd o hunan-gais, rhagrith, ac urddas bydol, mewn cymhariaeth â'u deongliadau hwy eu hunain o'r prophwydoliaethau am dano, pa rai a ffurfiasent o radd i radd, nes eu cael yn berffaith wrth fesur a ffurf eu dymuniadau. Gwyn fyd Cymru, pe na welid ynddi ddosbarthiadau o'i phlant hyd heddyw, yn gwrthod gwir grefydd y Testament Newydd, oddiar yr un egwyddorion a thrachwantau. Rhyfedd mor dueddol yw plant dynion i wrthod eu cadwedigaeth, os na chânt hi yn ei sandalau arianaidd, a'i cherbydau! na ddarpara hi glustogau esmwyth, a lleni gwychion, a boneddigrwydd lledneisiaf llysoedd a themlau paganiaeth i'w gosod hwynt, wrthryfelwyr truenus, condemniol, yn eu canol, tra bo hi yn gwella eu harchollion anaele, yn golchi ymaith eu budreddi gwarthus, ac yn rhyddhau cwlwm damnedigaeth gyfiawn oddiam eu gyddfau! Gwrthodant hi yn mhob gwedd arall, serch iddynt gan uchder eu ffroen, gerdded heibio iddi dros ymylon dyfnion ceulanydd amser, a disgyn i dragwyddol foroedd o dân!

## Cyfieithiad Newydd.—Pen. IX.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) Y gwirionedd drwy Grist yr wyf yn ei ddywedyd, nid wyf yn dywedyd celwydd, gan fod fy nghydwybod yn cyd-dystiolaethu â mi yn yr Ysbryd Glân, (2) bod i mi dristyd mawr, a gofid dibaid i'm calon. (3) Canys dymunwn fod yn anathema fy hun oddiwrth [gan] Grist, dros fy mrodyr, fy nghenedl yn ol y cnawd; (4) y rhai ydynt Israeliaid; i ba rai mae'n perthyn y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth defodol, a'r addewidion; (5) yn perthyn i ba rai mae y tadau, ac allan o ba rai mae y Crist yn ol y cnawd, yr hwn yw y Duw bendigedig uwch pawb yn oesoesoedd. Amen.

(6) Ond nid [wyf am ymresymu, (Winer, Robins.)] fel pe gwnaethid i addewid Duw ballu, canys nid y rhai oll a hanasant o Israel yw "Israel:" (7) nid ydynt, ychwaith, oblegid yn had Abraham, oll yn blant; eithr "Yn Isaac y gelwir i ti had;" (8) hyny yw, nid plant y cnawd yw plant Duw; eithr plant yr addewid a gyfrifir yn had. (9) Canys hwn yw gair yr addewid, "Yn ol yr amser hwn y deuaf, a bydd i Sarah fab."

(10) A nid hyn yn unig, eithr [yn ol gair yr addewid (WINER)] Rebecca hefyd, allan o'r un beichiogiad o Isaac ein tad ni, dywedwyd wrthi, (11) hyd yn nod cyn eu geni hwynt, na gwneuthur o honynt un peth da na drwg (fel y byddai i'r amcan sydd yn cymmeryd lle mewn canlyniad i etholedigaeth sefyll [WINER]; nid allan o [drefn] GWEITHREDOEDD, eithr o'r HWN SYDD YN GALW;) (12) sef, "Yr henaf a wasanaetha yr ieuangaf;" (13) megys y mae yn ysgrifenedig, "Jacob a gerais fwyaf, ac Esau a gerais leiaf." (14) Beth, gan hyny, a ddywedwn ni? ai Onid oes anghyfiawnder gerbron Duw? Nage, mewn un modd! (15) Canys y mae efe yn dywedyd wrth Moses, "Mi a drugarhaf wrth bwy bynag y cymmerwyf drugaredd arno, ac a dosturiaf wrth bwy bynnag y cymmerwyf dosturi arno." (16) Am hyny, nid [oedd cyrhaeddiad y ddwyfol drugaredd (WINER)] o'r ewyllysiwr, nac o'r rhedegwr; ond o Dduw, y trugarhawr. (17) Canys dywed yr ysgrythyr wrth Pharao, "I hyn yma y'th gynhyrfais di, fel y dangoswn fy ngallu ynot ti, ac fel y datgenid fy enw yn yr holl ddaear." (18) Gan hyny, trugarhau wrth y neb a fyno y mae efe [yn yr hanes hwn], a chaledu hefyd y neb a fyno.

(19) Ti a ddywedi wrthyf gan hyny, Paham y mae efe etto yn beio, canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef? (20) Ond [gallaf finnau ddywedyd], Yn hytrach, pwy ydwyt ti, O ddyn! yr hwn a atebi yn erbyn Duw? oni phaid y peth ffurfiedig â dywedyd wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn? (21) Onid oes awdurdod gan y crochenydd ar y clai, i wneuthur o'r un clamp y naill lestr i fwy, a'r llall i lai, o barch? (22) Eithr, os yw Duw, drwy benderfynu dangos ei ddigofaint, ynghyd ag i beri adnabod ei allu, wedi goddef drwy aml hirymaros, lestri digofaint hunan gymhwysedig i golledigaeth; (23) ac i beri adnabod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, y rhai a rag-barotodd efe i ogoniant: (24) sef nyni, y rhai a alwodd efe, nid yn unig allan o'r Iuddewon, eithr allan o'r Cenedloedd hefyd; (25) yn ol yr hyn a ddywedodd efe hefyd yn Hosea, "Mi a alwaf yn bobl i mi y rhai nid ydynt bobl, ac yn anwyl yr hon nid yw anwyl: (26) a bydd yn y fan lle dywedwyd wrthynt, Nid fy mhobl i ydych; yno y gelwir hwynt, Meibion i'r Duw byw:" (27) eithr llefa Esaia am yr Israel, "Pe byddai nifer meibion Israel fel tywod y môr, y gwdedill [yn unig, (PLANCK)] a achubir: (28) canys drwy gyflawni o hono y gair, a'i orphen mewn cyfiawnder, [gwelir] mai ei air penderfynedig a gwblha yr Arglwydd ar y tir:" (29) ac, megys y dywedodd Esaias o'r blaen, "Oni buasai adael o Arglwydd y lluoedd i ni [weddill yn] had, megys Sodoma y buasem, ac megys Gomorra y'n gwnaethesid ni." (30) [Eithr, os yw Duw, &c. *Gwel adn.* 22.] Beth, gan hyny, a ddywedwn ni? Mai y Cenedloedd, y rhai nid oeddynt yn egniol ddilyn ar ol cyfiawnder, sydd wedi cyrhaedd cyfiawnder; ie, y cyfiawnder sydd allan o FFYDD; (31) eithr fod Israel, tra'n egniol ddilynai ar ol deddf cyfiawnder, heb gyrhaedd hyd i ddeddf cyfiawnder. (32) Paham? Oblegid, nid drwy [allan o] FFYDD, eithr megys [fel pe buasai] drwy WEITHREDOEDD DEDDF, tramgwyddo a wnaethant wrth y maen tramgwydd, (33) megys y mae yn ysgrifenedig, "Wele fi yn gosod yn Seion faen tramgwydd, a chraig rhwystr, a phwy bynag a ymddiriedo arno, ni chywilyddir."

---

## PENNOD X.

§ 8. FOD AMDDIFADRWYDD Y GOELGREFYDD A ELWIR *Phariseaeth*, YNGHYD A'R UN DDWYFOL A ELWIR *Moeseniaeth*, O GYFIAWNDER DUW I'R BYD, A HYD YN NOD I'W DEILIAID EU HUNAIN, MEWN CYSSYLDTIAD A GWRTHODIAD YR IUDDEWON FEL CENEDL O GYFUNDREFN Y FFYDD, YR HON A GYNNWYSAI Y CYFIAWNDER HWNW, YN NATURIOL ANNOG DUW I AGORYD EI DDRWS I'R CENEDLOEDD, YR HYN BETH A RAG-ADDAWSID HEFYD GAN BROPHWYDI YR IUDDEWON EU HUNAIN, PEN. X, 1—21.

Yr oedd adnabyddiaeth Paul o'i gydoeswyr Iuddewig, yn ei arwain i ofni mai i ddiffyg o wladgarwch y priodolent ei wresogrwydd dros dderbyniad y Cenedloedd i ffafr Duw, yr hyn sydd yn ei osod ar ocheliad i frysio eu hysbysu yn nghylch ei bryder ar eu rhan (adn. 1), ynghyd ag i gyfaddef cymmaint yn eu ffafr ag a ellid (2), tra yn gorfod ar yr un pryd eu condemnio am osod i fyny, na'u cyfiawnder cymmysgedig a Phariseaidd eu hunain, na hyd yn nod gyfiawnder cnawdol cyfundrefn y Ddeddf, yn lle yr eiddo Crist, yr hwn a ymddangosasai i fod yn ddiwedd a dybendod ar y gyfundrefn hòno (3, 4). Fod cyfiawnder y Ddeddf yn cyfodi drwy weithredoedd y Ddeddf hòno, sef ei chyflawniadau defodol ac aberthiadol (5), tra mae cyfiawnder y Ffydd yn cyfodi drwy weithred arbenig y Ffydd hòno, sef credu yn drwyadl a chyhoeddus yn ei gwrthddrych hi (9, 10); fod athrawiaeth ddadguddiadol y Ffydd mor eglur ac agos at yr Iuddew yn awr, ag ydoedd eiddo y Ddeddf at Moses a'i gyfoeswyr, nes y gellir cymhwyso yr hyn a ddywedasid yno am yr olaf, yn awr am y flaenaf a nodwyd, can belled a hyna (6, 7, 8). "A chan fod yr egwyddor berthynol hon i hen gyfundrefn y Ffydd yn rhedeg drwy gorff eich Beibl eich hunain (fel pe dywedasai yr apostol wrth yr Iuddewon dan sylw), ni waeth gan Dduw y naill a alwo arno mwy na'r llall, ar y tir hwnw o rad ras, fel y profir gan eich prophwydi chwi" (11, 12, 13). I hyn tybia efe fod yr Iuddew yn gwrthddadleu, gan ddywedyd, "Ni ddanfonwyd erioed bregethwr gan Dduw at y Cenedloedd, ac yna ni chlywsant air erioed am Dduw, ac o ganlyniad ni allasant gredu ynddo (14); ac y mae y prophwyd yn gosod pwys mawr ar fraint y sawl a gawsant genadau Duw, ac y mae yn hysbys mai nyni yn unig oedd y rhei'ny" (15). "I'r wrthddadl yna, y mae genyf bedwar gwrthresymiad," ebe'r apostol, "sef, Yn *gyntaf*, Nid yw clywed yr efengyl yn ddigon i beri arbediad i Israel, canys prophwydwyd mai anufydd i'r pregethiad a fyddai y rhan fwyaf o honoch (16, 21). Yn *ail*, y mae y prophwyd yn cwyno mai peidio credu oedd y diffyg, yr hyn sydd beth hollol wahanol oddiwrth gyfiawnderau y Ddeddf, ac yn profi fy nadl i yn gywir ar unwaith, sef mai cyfundrefn yw y ffydd sydd a'i moddion yn glywed, neu wrandaw ufyddol ar air Duw (17), ac mai hon yw y gyfundrefn a addewir gan eich prophwyd eich hunain, i flodeno yn nghyfnod y Messia. Yn *drydydd*, Cyfeiliornad yw eich tyb na ddanfonodd Duw un genadwri at y Cenedloedd, canys dywed Dafydd fod yr haul, y lloer, a'r tymhorau, yn genadau atynt drosto, yr hyn sydd yn profi nad y'nt oddiallan cylch ymwneuthuriad Duw â hwynt drwy genadwri (18). Yn *bedwarydd*, Y mae Israel eu hunain wedi cael dadguddiad o amcan Duw i gynnyg ei efengyl i'r holl genedloedd (19, 20); a'r canlyniad naturiol yw, nad oes le i synu nac i rwgnach gan yr Iuddew, o herwydd derbyniad y Cenedloedd i ffafr Duw."

O FRODYR, *gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd er iachawdwriaeth.

2 †Canys yr wyf fi yn dyst iddynt fod ganddynt sel Duw, ‡eithr nid ar ol gwybodaeth.

* "Drostynt," yn lle "dros yr Israel," yw darlleniad o'r bron yr holl hen gopïau Groeg, ynghyd â'r rhan fwyaf o'r hen gyfieithadau, ac felly y derbynir mwyach gan y prif feirniaid. Yr un modd rhaid gadael allan y "sydd," ac oddiar yr unrhyw awdurdod. Gwel Griesbach, Scholz, Lachmann. "Iachawdwriaeth ysbrydol a feddylir," Barnes, Hodge. † Gal. 5, 4. "Sel dros yr hyn a dybient yn addoliad ac enw Duw," Stuart. Ioan 16, 2. "Eiddigedd dros Dduw,"—J. Williams, "*Sel Duw* yw sel fawr dros ben,"—Walford, Belsham, Macknight, Schoettgen. ‡ "Nid fel yr ymddengys sel fo'n cyfodi oddiar wybodaeth,"—Winer's *Gram.* § 53.

*Er iachawdwriaeth:* sef, fel y caffont eu hachub drwy gredu, ac nid eu damnio drwy eu hanghrediniaeth. Eithr, pa reswm oedd gan Paul dros weddio mor daer am beth y prophwydai efe mor eglur na

ddeuai i ben? Cyn ateb y gofyniad hwn, rhaid egluro pa beth yw natur ac amcan prophwydoliaeth. Mae prophwydoliaethau y datguddiad dwyfol yn ymranu yn ddau ddosparth; yn gyntaf, y rhai diammodol; ac yn ail, y rhai ammodol. Dibyna y rhai diammodol ar Dduw yn unig, tra dibyna y lleill ar ddynion yn ogystadl. Etto, yr oedd Duw, ac y mae efe, wedi ymrwymo i gyflawni y dosparth diammodol, yn ol rheolau ac ysbryd yr oruchwyliaeth dan ba un y bo efe ar gyfnod y cyflawniad. Nid oedd dyfodiad y Messia yn dibynu ar ufudd-dod un dyn naç angel i un ammod o fewn holl gyfammod Jehofa. Felly, gellir dywedyd am ei ail ddyfodiad, o debyg. Etto, yr oedd Jehofa ar bryd y dyfodiad cyntaf, a bydd Duw yn Nghrist ar yr ail ddyfodiad, yn rhwym o ddwyn hyny i ben ar y cyfleusdra goreu fo yn bosibl i'r peth gyd-daro â holl amgylchiadau cyfundrefn yr ymddangosiad hwnw. Hefyd, am y dosparth ammodol o'r prophwydoliaethau dan Jehofa, gellir nodi prophwydoliaeth Jonas yn erbyn Ninife, ac un Crist yn Mat. 25, 1—14, yn erbyn eglwysi teyrnas nefoedd, mai rhagddywediadau pendant oeddynt, o bethau y gwyddai Jehofa ar y pryd na ddeuent i ben; ac etto, gwyddai mor bendant, o'r ochr arall, mai yr unig lwybr i'w hebgor fodoli oedd drwy brophwydo fel y prophwydwyd, am eu dyfodiad. Dichon fod holl brophwydoliaethau y Testament Newydd yn perthynu i'r dosparth ammodol, oddieithr y rhai am ddiwedd y byd, yr adgyfodiad, a'r farn ddiweddaf. Y darllenydd diragfarn a wel ar un cipolwg fod yma faes eang, heb ei olrhain erioed gan lygad esboniwr hyd yma, yr oll a allaf fi ychwanegu ar gyfleusdra fel hyn, yw y rhaid i rywun ei olrhain cyn y caiff geirwiredd Duw uniondeb yn ei eglwys. Ond prawf gwaith Paul yn gweddio rhag cwymp, a thoriad ymaith y genedl Iuddewig, yn ol ein testyn, mai prophwydoliaeth ammodol yn unig ydoedd hon am danynt. Eithr, os ar yr ammod o'u hanufydd-dod y torid hwynt ymaith, paham nad ar yr ammod o'u crediniaeth yn unig y derbynid hwynt yn eu hol? Ond, paham y petrusir am hyn; onid yw pen. 11, 23 yn ateb y cwestiwn yn gadarnhaol?

*Canys* fel rheswm dros yr ymadrodd blaenorol. Nid "canys yr wyf yn gweddio drostynt oherwydd fod ganddynt sel Duw; ond yr wyf yn eu hysbysu fy mod yn tystio dros eu sel, i brofi fy mod yn gweddio drostynt, ac yn gyfaill calonog i'w hiechydwriaeth."

SEL DUW (*Zelon Theou*), *ardour, fervour;* brydaniaeth, gwresogrwydd, taerni. Ceir hefyd yn Ioan 2, 17; 2 Cor. 7, 7, 11; a 9, 2; a 11, 2; Phil. 3, 6; Col. 4, 13. Duw yw y gwrthddrych, a sel yw y teimlad tuag ato.

*Nid ar ol gwybodaeth;* gan hyny, nid ar y sel, ond ar y wybodaeth, yr oedd y bai. Megys y mae gwybodaeth heb sel yn oer, amheus, a dideimlad, yr hyn a all fod gan gythreuliaid yn gystal â dynion; felly y mae sel heb wybodaeth yn ofergoelus, penboeth, erlidiog, a gwrthwynebus i heddwch a dedwyddwch cymdeithas. Ni chyrhaeddir undeb y ddau gan ddim ond gwir dduwioldeb, nac undeb cryf o honynt gan ddim cud duwioldeb brwdfrydig (Stuart). Buasai yr apostol ei hun, a diau ddarfod iddo adael llawer adnabyddus iddo ar ei ol, yn ddigon llawn o sel dros Dduw, nes gallu lladd y rhai a wrthddywedent

yr esboniad a osodent hwy ar gyfammod Sina a'i esbonwyr prophwydol. Y brif sect o gyfryw wrthddywedwyr oedd yn sicr yr un Gristionogol. Eithr, yr oedd yn un o ddyledswyddau deiliaid cyfammod Sina, i erlid a lladd y rhai a dorent y cyfammod hwnw; boed yr euog-ddyn Israeliad, neu ynte breswylydd o ryw gyfran o dir yr addewid—yn rhywle o'r môr hyd yr afon; ac ychwanegent o fewn eu synagogau hefyd, er oddiallan i'r cylch hwnw.

3 Canys hwynt-hwy, *heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw.

* "Heb wybod cynllun Duw o gyfiawnhau—nid ymostyngasant i'r cyfiawnhad a drefnodd Duw,"—Belsham. "Gallasai yr Iuddewon adnabod cyfiawnder Duw, pe mynasent,"—Barnes. "Cyfiawnhad Duw,"—J. Williams. "Cyfeirir at Iuddewon yr oes hòno,"—Koppe, Bloomfield.

Heb wybod *(agnoöuntes), to be ignorant of, not to comprehend;* bod yn anwybyddus o, heb ddirnad, rhywbeth. Dywed Stuart fod yr Iuddewon wedi cael manteision i adnabod y cyfiawnder hwn, gan gyfeirio am brawf o hyny at adn. 18, &c. Eithr, nid oes yno un cyfeiriad at ddim, heblaw fod y paganiaid fel ereill yn meddu mantais i adnabod gallu Duw, a'r Iuddewon i wybod amcan Duw o'u gollwng i fewn i gylch ei ffafr dan yr efengyl. Etto, os at gyfoeswyr Iuddewig Paul y cymhwysai Stuart yr ymadroddion hyn, diau ei fod yn gywir; eithr os at ddeiliaid Moeseniaeth, y mae mor ddiau ei fod yn anghywir; canys nid oes un gyfran o'r ysgrythyr yn dywedyd eu bod hwy yn gwybod am gyfiawnder Duw yn Nghrist, a pha gyfiawnder arall a elwir yma yn gyfiawnder Duw? Eithr gwel am hyn ar pen. 3, 21.

Gosod *(zēteō), to try to gain, to strive after;* ceisio ennill, ymgyraedd am; sef am osod yn safadwy eu *cyfiawnder eu hunain.* Hwn oedd, (1) ufyddhau i osodiadau Moses, megys yr holl olchiadau, a defodau ereill, ynghyd â'r offrymau ac aberthau dros feiau a chamweddau yn erbyn y rhestr hirfaith hon. *Cyfiawnder Duw* ar hyn nid oedd ddim oll, canys drwy "ei waed Ef" y ceid hwnw; ac nid oedd raid wrth "ei waed Ef" dros ddim ag y lluniasai Duw ryw waed arall drosto; mwy nag yr oedd raid wrth waed arall dros ddim ag y lluniasai Duw "ei waed Ef" drosto. Aberthau Jehofa oedd rhai y Ddeddf, ac eiddo Duw y Ffydd, neu Dduw Rhad Ras, oedd "ei waed Ef." Yn awr, y dosparth cyntaf hwn o'u "cyfiawnder eu hunain" oedd gyfiawnder y Ddeddf, yn ol cynllun Jehofa i Israel. (2) Gan fod yr Iuddewon yn pechu, nid yn unig yn amryfus, ond hefyd yn rhyfygus, gan droseddu y deg gair, a rheolau moesol ereill, rhaid oedd troi i ryw noddfa am loches heblaw i'r aberthau a'r offrymau Moesenaidd, a'r noddfa gau i ba un y dewisent ffoi, oedd dan gysgod cyfiawnder Abraham, yr hwn a dybient yn deilliaw iddynt drwy enwaediad (sêl cyfiawnder Duw i Abraham), ynghyd â thrwy elusenau, gweddiau, a lluaws o gynlluniau o ddyfais eu Rabbiniaid beilchion a thwyllodrus o oes i oes, pa rai ynghyd ydynt lawer o gyfrolau unplyg mawrion. Eithr dywed Paul drwy holl rediad yr epistol, nad oedd enwaediad yn gyf-

iawnder i hyd yn nod Abraham ei hun, ac mai llawer llai y gallai efe fod i'w holl hiliogaeth ef, a bod yr hanes sy'n dweyd mai *credu* a wnaeth Abraham, ac nid gweithio, pan gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder, yn dystiolaeth mai cyfundrefn y Ffydd yn unig oedd cyfiawnder Duw iddo. Gresynus yw darllen y fath feirniad â Stuart yn ceisio gwneyd deddf o'r efengyl, ac efengyl o'r ddeddf wedi ei hysbrydoli. Am Hodge, Barnes, Walford, Davidson, a'r cyffelyb anfeirniadol ddosbarth o esbonwyr, nid oes reswm mewn syndod.

*Ymostyngasant*; allan o *(upotassô)*, *to range or put under*, *to make subject*; yma, gosod eu hunain dan awdurdod, i ufyddgarwch i gyfiawnder Duw. Dull yr ymostyngiad hwn yw drwy ymwrthod â phob cyfiawnder arall am fywyd (canys cyfiawnder i fywyd yn unig ydyw), ac ymorphwys ar gyfiawnder y Ffydd yn unig i'r perwyl hwnw.

4 *Canys Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r y sydd yn credu.

* "Diwedd y ddeddf a'r prophwydi," oedd darlleniad beiblau Origen a Cyril. "Credu yn Nghrist yw amcan y ddeddf, sef yr hyn a fynai perffaith ufydd-dod i'r ddeddf ei gwblhau,"—Stuart, Flatt, Barnes, Doddridge. "Crist yw diwedd y ddeddf seremoniol,"—Awstin, Gregory Thaum., Schlichtingius, Le Clerk, Limborch, Walford. "Trwy ddyfodiad y drefn newydd o ddysgu a elwir Ffydd, y ddeddf a gymmerwyd ymaith,"—Calvin's Institutes. "Crist a berffaith gwblhaodd y ddeddf o ran ei ufydd-dod iddi,"—Origen, Morgan, Ambros, Melancthon, Vatablus, Calvin ar y lle. "Dysgir ni gan y gyfraith yn ein hanghenrheidrwydd am Geidwad, ac felly ei diwedd fydd ein harwain at Grist,"—Chrysostom, Theodoret, Beza, Bucer, S. Schmid, Bengel, Turretin, Heumann, Tholuck. "Crist yw dyben y gyfraith,"—J. Williams. "Darfyddiad y ddeddf, neu Foeseniaeth,"—Hodge debygid, Belsham, Cyprian, Crellius, Koppe, Ammon. "Yr oedd pob cyfran o'r oruchwyliaeth ddeddfol yn pregethu yr efengyl, ac y mae felly etto,"—Carson. "Amcan y ddeddf, sef cyfiawnhad, a gyflawnir ac a berffeithir yn Nghrist,"—Chrysostom, Theophylact, Ecumenius, Photius, Theodoret, Carpzov, Bloomfield.

*Crist* yn ein testyn, medd Stuart, a'r holl hen esbonwyr gan mwyaf, yw credu yn Nghrist, gan ei dderbyn ef drwy ffydd, ac felly gyrhaedd y cyfiawnder hwn; a bod hyn yn cyflawni yr *amcan* neu *ddiwedd* oedd yn ngolwg y ddeddf i'w gael oddiamgylch; sef, yr hyn a allasai perffaith ufydd-dod i'r ddeddf ei gyflawni. Eithr, heblaw nad oes air o son yn y Testament Newydd fod Crist na'i gyfundrefn yn darparu i'r byd o gredinwyr gyfiawnder y *ddeddf*, ond yn hytrach cyfiawnder *Duw*; y mae y cwmpas trafferthus a orfyddir ei gymmeryd i wneyd math yn y byd o ymresymiad o'r adnod, yn ddigon i greu ammheuaeth o gywirdeb yr esboniad hwn. Yn mha le y gelwir credu yn Nghrist yn *Grist!* Nid yn y Testament Newydd. Yn ol Stuart a'i gyd esbonwyr, "Credu yn Nghrist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sy'n credu," a ddylasai yr adnod fod. Eithr afrwydd iawn fuasai eilwaith. Fy meddwl i am y gair *Crist* yma yw mai yr un peth ydyw ag arferol.

DIWEDD *(telos)*, *end*, *termination*, *completion*; gorpheniad. Mae hirfaith a gwydn ddadleu wedi bod yn nghylch priodol ystyr y testyn hwn. Ymdrecha Stuart i brofi fod i'r gair hwn yr ystyr o *amcan eithaf*.

peth, yn hytrach na'i orpheniad. Ei brofion o'r cyfryw arferiad i'r gair yw y canlynol, pa rai a gyfieithir yma yn ol ystyr cyffredin a naturiol y gair drwy holl arferiad yr iaith, fel y gwelo y darllenydd nad oes raid ymadael â'r ystyr hwnw ynddynt hwy mwy nag mewn testynau ereill :—

Mat. 26, 68 :—"Pedr a eisteddodd gyda'r gweision, i weled y gorpheniad."

Rhuf. 6, 21 :—"Y diwedd (gorpheniad, ac nid amcan) o'r pethau hyny yw marwolaeth."

2 Cor. 11, 15 :—"Diwedd pa rai fydd yn ol eu gweithredoedd."

Phil. 3, 19 :—"Diwedd y rhai yw dystryw."

1 Tim. 1, 5 :—"Diwedd y gorchymyn yw cariad o galon bur, a chydwybod dda, a ffydd ddiragrith :" sef "cerwch eich gilydd fel y cerais i chwi ;" a "cerwch eich gelynion," &c, Pan orphenodd cyfnod y gorchymyn, ei ddiwedd fu Ffydd Crist Iesu, ac nid ei amcan. Mae Dr. E. Robinson yn cydsynio â Stuart i osod ystyr y gair *diwedd* yma am *amcan ;* ond gwelir nad oes iddo y cyfryw ystyr yn y Testament Newydd.

Heb. 6, 8 :—"Diwedd yr hon yw ei llosgi."

Iago 5, 11 :—"Clywsoch am amynedd Job, a gwelsoch ddiwedd yr Arglwydd."

1 Pedr 4, 17 :—"Beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu ?"

Nid oes ddewis, bellach, i'r gair, ond ei ystyr arferol o ddiwedd, neu gyflawniad, a chwblhad, a gorpheniad. Felly, er fod Crist yn gyfiawnder i bob un a gredai erioed, yn ol pen. 3, 25 ; etto, nid oedd neb yn gwybod hyny cyn y Pentecost ; a daeth yn ddiwedd i gyfundrefn Moses, fel y mwynhäai pob un a gredai ynddo EF gyfiawnder, megys y mwynhasai pob un a gredasai yn NUW gyfiawnder eisoes. Pa bryd y paid duwinyddion â chyhoeddi ddarfod i Dduw roddi deddf *foesol* i Israel, er mwyn iddynt gael rhyw gyfiawnder drwyddi, os gallent ei chadw yn berffaith ? A pha sawl gwaith y rhaid i'r Testament Newydd ddywedyd mai drwy y Ffydd, neu rad ras, oedd yr unig lwybr a drefnodd Duw i bechadur gael cyfiawnhad erioed ? Ond awn yn mlaen i ddilyn ein hapostol.

5 Canys *y mae Moses yn ysgrifenu am y cyfiawnder sydd o'r ddeddf, mai y dyn a wnel y pethau hyny a fydd byw drwyddynt.

* "Mouses," yw darlleniad yr hen gopiau mwyaf derbyniol. "Mai y dyn a'i gwnelo a fydd byw drwyddo," yw darlleniad rhai hen gopïau, y Coptaeg, yr Armenaeg, y Vulgate, a rhai ereill. Lef. 18, 5. "Cyfeirir at yr holl gyfraith."—Barnes. "A fydd dedwydd drwyddynt,"—Barnes, Stuart, Hodge. "Cyfeirir at fywyd corfforol yn Nghanaan,"—Warburton, Whitby, Macknight, Origen, Hammond.

Dyfyniad yw hwn allan o Lef. 18, 5, yr hwn a gyfeiriai at y defodau Lefiticaidd.

*Fydd byw ;* nid a wneir yn ddedwydd, yn ol esboniad Stuart, er ei fod ef yn adeiladu ei esboniad hwn ar hen ddeongliad y Rabbi Onkelos, yr hwn a ddywedai :—"Efe a fydd byw mewn bywyd tragwyddol trwyddynt ;" ac ar Targum y Pseudo-Jonathan :—"Efe a fydd

byw yn dragwyddol, ac a gaiff ran gyda'r cyfiawnion." Tebygid nad oedd y Doctor yn gwybod fod y Rabbiniaid yn adeiladu gormod ar ufydd-dod i'r ddeddf. Ni phrofai mil o'u hesboniadau ddim oll, namyn eu bod o'r un argraff â Rabbiniaid cyfoesol Paul, pa rai a wrthddadlir yn ein hepistol. Beth! a oedd i rywun fywyd tragwyddol am gadw y defodau Lefiticaidd a nodwyd, at ba rai y cyfeiriai yr ymadrodd gan Moses ei hun? Fel mai cyfammod am fywyd daearol mewn parth arbenig o'r ddaear, ydoedd y ddeddf i gyd oll, felly gwobrwyon a chospau daearol oedd yr eiddi. Crefydd nid oedd. Y Ffydd oedd y gyfundrefn grefyddol, yn annibynol arni hi.

6 Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn; *Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hyny yw, dwyn Crist i waered oddiuchod.)

7 Neu, †pwy a ddisgyn i'r dyfnder? (hyny yw, dwyn Crist drachefn i fyny oddiwrth y meirw.)

* Deut, 30, 12, 13. "Yr ystyr yw, fod y gorchymyn yn eglur a hawdd ei gyrhaedd," Stuart. "Hyny yw, i ddwyn Crist i wared,"—J. Williams, A. Campbell, Hodge, Walford, Theophylact, Bloomfield. † "Pwy a ddisgyn i'r pwll dwfn?"—Belsham. "I ddwyn Crist, &c.,"—Walford. Deut. 30, 13. "A ddisgyn i'r anoddyfn,"—J. Williams. "Cymmerodd Paul ei ryddid yma i ddyfynu ysbryd, ac nid llythyren, yr ymadroddion Moesenaidd,"—Stuart.

Wele un o dystiolaethau edliwiog Moses dros eglurder y Ddeddf, yn ngwyneb ei deiliaid hi y pryd hyny, yn cael ei ddyfynu gan Paul dros gyfundrefn y Ffydd, yn ngwyneb ei deiliaid hithau. Sylwer, nad dywedyd y mae'r apostol mai at gyfundrefn y Ffydd y cyfeiriasai Moses, ond dywedyd fod y Ffydd yn llefaru yn yr un iaith gref ac eofn yn awr—"*mae* cyfiawnder y Ffydd *yn* dywedyd" *(legei)*, ebe efe—ag y llefarasai cyfiawnder y Ddeddf ar ei chyfnod cychwynol hithau. Ystyr dysgybl Moses wrth ofyn, "Pwy a esgyn i'r nef?" oedd ymofyn am olygfa newydd yn lle un Sina, a chyfryngwr arall yn lle Moses; ac ystyr dysgybl Cristionogol neu Iuddewig Rhufain, wrth ofyn yr un cwestiwn, fuasai ymofyn am i Dduw anfon Crist eilwaith i wared oddiuchod. A'r amcan wrth ofyn, "Pwy a ddisgyn i'r dyfnder?" (gwel ar y gair ychydig yn mlaen) oedd, Pwy gaiff ei foddi yn y môr i brofi gallu gwyrthiol Jehofa? a phwy a ddisgyn i'r bedd, ac a adgyfyd, er mwyn profi gallu gwyrthiol Duw yn Nghrist? Pwnc dwyn Crist i wared o'r nef, a Jehofa eilwaith ar Sina, oedd er mwyn cael adnabyddiaeth o'r Ffydd ac o'r Ddeddf fel cyfundraethau; a phwnc boddiad rhyw genedl elynol yn y môr, ac achubiaeth y genedl anwyl megys o feirw'n fyw, ynghyd ag adgyfodiad Crist eilwaith o farwolaeth, fuasai er mwyn sylfaenu y cyfryw gyfundraethau mewn gwyrthiau digon hynod, mai o Dduw yn ddiau yr oeddynt. Hyny oedd, mewn ffaith, ymofyn am gyfundraethau newyddion,—Deddf newydd, ac Efengyl newydd. Nid dim llai na hyn yw iaith "calon" y dyn anfoddog i gofleidio y ddeddf yn ei chyfnod, a'r efengyl eilwaith yn ei chyfnod hithau.

Yr ystyr mewn gair, yw fod cyfiawnder y Ffydd yn athrawiaeth eg-

lur ac agos atom. Nid yw wedi ei chau i fyny mewn priod-iaith ddyeithr, na chwedi ei chuddio oddiwrth lygaid pawb ond y dysgedicaf, fel y dirgeledigaethau paganaidd. Ni bu ond y ddau brophwyd mawr —Moses a Christ, a allent ddweyd fel hyn am eu pethau. Nid mewn gweledigaethau na breuddwydion y llefarent hwy, fel prophwydi ereill.

DYFNDER *(abussos)*. Yr Hebraeg yn Deut. 18, 3 yw, "Nid y tu hwnt i'r môr y mae." Gwahaniaetha'r ymadrodd oddiwrth eiddo Paul o ran geiriau, ond nid o ran ystyr cyffredinol. Arferir myned tu hwnt i'r môr, yr hwn a ystyrid o led diderfyn (Job 11, 9), ac yn anmhosibl ei groesi, fel dangosiad o'r hyn sy'n anhawdd neu anmhosibl. Yn yr un ystyr arferai Paul y gair *dyfnder*. Nid oes neb yn dychwelyd yn ol o'r byd isod, neu gartrefle y meirw, felly ni ddychwelodd Pharao a'i lu o ddyfnderoedd y môr.

Ond ystyr y gair *abussos* yw *buthos*, ac *a*, dim; sef dim gwaelod. Arferir yn Ngroeg yr Hen Destament yn Gen. 1, 2, a 7, 11, am y moroedd; yn Salm 61, 21, a 107, 26, am y byd isod. Arferir yn ein testyn am yr Hades neu fyd ysbrydol y meirw yn gyffredinol; ond yn fwyaf neillduol am y gyfran hòno o Hades yn mha un y tybid fod ysbrydion y rhai drygionus yn garcharedig, yn Luc 8, 31; Dat. 9, 1, 2, 11; a 20, 1, 3, â'r hon cymharer 2 Pedr 2, 4. Cyfieithir y gair yn llyfr y Dadguddiad yn gysson yn "bydew diwaelod;" yn y manau ereill yn "ddyfnder."

Eglurir y rhan fwyaf o'r arferiadau hyn o'r gair drwy gyfeiriad at y tybiau a goleddai yr Hebreaid am y pell-fydoedd, yn gydrywiol a'r dwyreiniol genedloedd ereill. Credid fod y dyfnder, neu fôr o ddyfroedd diwaelod, yn amgylchu yr holl ddaear. Nofiai y ddaear ar y dyfnder, o'r hwn ni orchuddiai hi ond cyfran fechan. Yn ol yr un dyb, sylfaenesid y ddaear ar y dyfroedd, neu'r oedd, o leiaf, ei sylfeini yn y dyfnder anferth isod. Gwel Salm 24, 2, a 136, 6. Odditan y dyfroedd hyn, ac ar waelod y dyfnder, darlunid y rhai drygionus fel yn griddfan, ac yn dyoddef cospedigaeth eu pechodau. Yno y caethiwid y Rephaim hefyd, sef yr hen gewri, y rhai pan oeddynt byw yma, a barasant i'r cenedloedd cylchynol grynu. Felly y tybiai Solomon (Diar. 9, 18: a 29, 16). Yn y trigfanau tywyll hyny y cyhoeddai y prophwydi fod breninoedd Tyrus, Babilon, a'r Aifft, yn dyoddef cosp eu creulonder a'u balchder. (Jer. 26, 14; Ezec. 28, 10, &c.) Hwn oedd y *dyfnder* i ba un y deisyfai yr ysbrydion drwg yn Luc 8, 31, gael peidio eu bwrw, pa le a amlwg ofnid ganddynt.

Eithr nid oedd y dyb am y fath *ddyfnder* wedi ei chyfyngu mewn un ystyr at wledydd y dwyrain. Coleddid hi yn ogymmaint, o leiaf, gan y Derwyddon, pa rai a ddalient allan fod *Annwn*, sef y dyfnder neu isel-borth, allan o'r hwn y saif y ddaear, yn drigfan yr egwyddor ddrwg, *Gwarthawn*, ac yn le yr ysbrydion ymadawedig, gan gynnwys yn ogystal Elysium a Thartarus yr henafiaid. Galwent ysbrydion crwydredig hefyd yn *Blant Annwn*, neu blant y dyfnder. Gwel ragor yn Davis's *Celtic Researches, p.* 175; *Myth. and Rites of the British Druids, p.* 49.

Am y pwnc o ddisgyniad Crist i'r dyfnder hwn, er nad yw yn dod

i mewn yn gyfreithlon dan ein sylw yma; er am a wn, nad yw gymmaint felly ag mewn un man arall o'r ysgrythyr; Gwel Storr and Flatt. *Biblical Theology.* § 88, 3, Morus' *Epit. Theol. Christ. p.* 189. Reinhard's *Dog. Sect.* 182. Pott *Epist. Cath., vol.* 2, *Excurs.* 3, Nid yw eu llafur a'u gwag-resymau yn werth eu coffâu i'r Cymro uniaith. Gwel hefyd ar Mat. 16, 18 yn y Gwaith hwn.

8 Eithr, pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? *Mae y gair yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu.

* Deut. 30, 14. "Yn dy enau, yw yn dy iaith,"—Stuart.

*Yn dy enau,* yn dy iaith dy hun. Mae yn destyn ymddyddan ac addysgiaeth. *Yn dy galon,* yn wrthddrych dy fyfyrdod a'th deimladau.

9 Mai os cyffesi a'th enau yr *Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon †i Dduw ei gyfodi ef o feirw, ‡cadwedig fyddi.

* "Dodir y cyffesu o flaen y credu gan Paul, oherwydd mai felly y dodasid gan Moses, yr hwn a ddyfynir ganddo,"—Paraeus, Koppe. "Bod Iesu yn Arglwydd,"—J. Williams. † Rhuf. 4, 25; a 1, 4; Act. 13, 34. "A chredu yn dy feddwl,"—Walford. ‡ "Tydi a gedwir,"—Groeg.

MAI *(oti)*. Arferir y cyssylltair yma yn lled fynych am "yn awr," mewn parhad o'r hanes neu yr ymresymiad, megys yn Ioan 4, 28, a 13, 6, a 6, 24; 1 Cor. 8, 4, a 11, 20. Heindorf *ad Plato Lysid, p.* 52, Bornemann *ad Xen. Mem. p.* 285. Gwel Raphel, a Palairet, ar y testyn.

CYFFESU *(omologeô)*, *to say the same things as another,* dywedyd yr peth ag arall. Ond ystyr arall yw cyfaddef—"Os cyfaddefwn ein pechodau," 1 Ioan 1, 9. Etto, ei ystyr yw cyffesu yn gyhoeddus, proffesu. "Proffesaist broffes dda gerbron llawer o dystion," 1 Tim. 6, 12. "Mi a'i cyffesaf ef gerbron fy Nhad, &c.," Dat. 3, 5. Felly Tit. 1, 16. Yr ystyr yma yw proffesu â'r genau, neu gyhoeddi y gredin-iaeth yn Nghrist, yr hyn oedd yn lefaru mewn cydgordiad â'r hyn a gyffesasid gan Gristionogion ereill. Nid yw yr hwn a eilw ei hun yn broffeswr unigol, neu broffeswr cartrefol, yn cyffesu â'r genau; canys ystyr yr ymadrodd yw proffesu yn gyhoeddus; nac ychwaith, yr aelod eglwysig a broffeso ryw broffes hynod i'w frodyr, canys nid yw yn dod o fewn ystyr y gair cyffesu *(omologeô)*. Gwelwn hefyd fod pob un na wnelo yr hyn a gynnwysir yn yr ymadrodd hwn, yn cyflawni yn gyhoeddus yr hyn a gynnwysir mewn *gwadu â'r genau.* Nid yw ystyr y geiriau hyn, a gwyddom nad yw rhediad y Testament Newydd, yn caniatâu sefyllfa ganol.

*Yr Arglwydd Iesu,* sef, fel y dywed Stuart, mai yr Iesu yw yr Arglwydd. Cymharer Act. 2, 36, 31; Phil. 2, 9, 10. Yno cyfieithir fel hyn; a chan fod trefn y geiriau gwreiddiol yma hefyd yr un fath, dylid eu gosod yma yn yr un Cymraeg.

CREDU *(pisteuô)*. Arferir am fod wedi ein perswadio o wirionedd

unrhyw beth, Rhuf. 14, 2—"Mae un yn credu y gall fwyta pob peth." Iago 2, 19—"Credu yr wyt ti mai un Duw sydd." Arferir yn y pedwar Efengylwr a'r Actau yn gyffredin am grediniaeth yn ngallu Crist a'i apostolion i gyflawni rhyw-beth, megys gwyrth neu arwydd; ond yn yr Epistolau, ac yn aml yn Efengyl Ioan hefyd, am y credu, neu ymddiriediad hwnw yn Nghrist, fod ei allu, ei awdurdod, a'i barodrwydd i achub, yn ddigonol a chyfaddas i gyflwr colledig y gweithredydd. Yma credu yn y galon, sef credu oddiar y teimlad a'r penderfyniad. Ond gwel ragor yn y Traeth. ar y diwedd.

*Ei gyfodi ef o feirw*; "sef credu fod Duw â llaw mewn cyfodi yr Arglwydd Crist Iesu o'r bedd, yr hyn a brawf'dy fod yn credu fod Duw â llaw yn ei farwolaeth, ac yn ei esgyniad, a'i ogoneddiad; ac wrth bob rheswm gan hyny yn ei gyfundrefn ef o grefydd. Rhaid i'r holl bethau hyn gael eu lle yn dy galon." Gwelwn nad rhyw gyfaddefiad sychlyd ar flaen tafod yw y ddyledswydd sydd ynglyn â'r cadw; ac nid coel neu gydsyniad moel â'r hanes am adgyfodiad Crist, ychwaith. Ni bu galon dyn erioed yn credu peth, a'i dafod hefyd yn ei gyhoedd gyffesu fel ereill, mewn undeb cymdeithas, yn ol ystyr y gair uchod am y peth, heb i'r fuchedd fod yn arddangos hyny yn gyfatebol.

10 Canys *â'r galon y credir †i gyfiawnder, ac â'r genau ‡y cyffesir §i iachawdwriaeth.

* "Yn ewyllysgar, megys yn Mat. 18, 25; Rhuf. 6, 17; Mat. 22, 37; Deut. 6, 7; Salm 119, 34," medd rhai. "A'r gydwybod, megys yn Rhuf. 2, 15; 1 Ioan 3, 20, 21," medd ereill. "A'r teimladau," medd ereill. "A'r deall neu y meddwl," medd ereill. "Y serchiadau, deall, a'r farn,"—Davidson. † "Y credir nes gwneyd yr hyn fo'n uniawn," medd rhai. "Y credir i feddu duwioldeb egwyddorol,"—Rhai. "Y credir nes meddu cyfiawnder cyfiawnhaol Duw yn Nghrist."—Amryw. ‡ "Y cyfaddefir mewn anrhydedd i iachawdwriaeth,"—Rhai. § Ceir "i iachawdwriaeth." yn ol yr un gair gwreiddiol, hefyd yn Act. 13, 47: Rhuf. 1, 16, a 10, 1; 2 Cor. 7, 10; Phil. 1, 19; 2 Thes. 2, 14; 2 Tim. 3, 15; Heb. 9, 28, a 11, 7; 1 Pedr 1, 5.

*Credir—cyffesir.* Ni wyddis yn sicr pa un ai yn hollol oddefol *(Passive)*, ai yn gweithredu arno ei hun, *(Middle.)* yr ystyrir y dyn yn y geiriau hyn; canys goddefa y ffurf wreiddiol bob un o honynt.

*I gyfiawnder* a gyssylltir â'r credu, ac nid â'r cyffesu; canys nid â'r ddyledswydd ddiweddaf, ond â'r flaenaf, y cyssylltir cyfiawnhad. Ond pa beth yw ystyr yr *i* hon? Tebycaf mai—"â'r galon y credir (gyda dymuniad) tuag at gyfiawnder, yna â'r genau y cyffesir (gyda dymuniad) tuag at iechydwriaeth," yw yr ystyr esmwythaf. Dywedais *tuag at*, am fod yr εις, *i*, yn dra chyffredin dan yr ystyr hwnw; a dywedais *yna*, am fod y δε yn hysbys ddwyn y cyfryw arwyddocâd.

11 Oblegid y mae yr ysgrythyr yn dywedyd, Pwy bynag sydd yn credu ynddo ef, *ni chywilyddir.

12 Canys nid oes †gwahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr: oblegid yr un Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb a'r ‡sydd yn galw arno.

* "Ni siomir, megys yr un gair yn Rhuf. 5, 5, a 9, 33; 1 Pedr 2, 6," medd rhai. † "Rhagoriaeth, fel yn Rhuf. 3, 22; 1 Cor. 14, 7," yn hytrach. ‡ "Sydd yn ei addoli, megys yr un gair yn adn. 14; 2 Tim. 2, 22; Act. 2, 21, a 9, 14: 1 Cor. 1, 2; Act. 22, 16, a 9, 21," medd amryw. "Sydd yn apelio ato fel at farnwr ar y frawdle, megys yr un gair yn Act. 25, 21," medd un.

Dyfynir allan o Esay 28, 16. Gwel hefyd 49, 23, a Jer. 17, 7, a Rhuf. 9, 33. Yn nghylch y *credu ar*, megys y mae yn y Groeg yma, Gwel TRAETH. ar GREDU. Mae Duw wedi bod erioed yn barod i wrandaw cwyn pawb, hyd yn nod dan gyfnod yr Hen Destament. Cawn yma bump *canys* yn olynol, a phob un yn arwain i mewn reswm dros, neu eglurhad o, yr ymadrodd o'i flaen. Ysgrifenydd aml iawn ei *ganys* oedd Paul.

13 *Canys pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd.

* "Pob gwir addolwr yr Arglwydd, yn ol ystyr Hebreaidd yr ymadrodd,"—Stuart. "Gwelwn fod galw ar Grist yr apostol Paul, ac ar Jehofa y prophwyd Joel, yr un peth,"—Michaelis, Pearson. "Cyfeiria y gair *Arglwydd* at Grist," medd y nifer luosocaf o'r hen esbonwyr. "Cyfeiria at Jehofa," medd y lleill.

Dyfynir allan o Joel 2, 32. Diau nad oedd y prophwydi yn son dim am Grist fel gwrthddrych addoliad, yn y testynau a nodir yma; etto cyfeirient at Dduw yn yr unrhyw gymmeriad; ac os nad Crist mewn rhyw ystyr yw Duw, ymddengys fod Paul yn cyflwyno i ddeiliaid y Testament Newydd, iselach gwrthddrych ymddiried nag a feddai yr Hen. "Ac megys y cymhwysodd Pedr ar y Pentecost y gyfran o'r brophwydoliaeth sydd am dywalltiad o'r Ysbryd Glân, yn Joel 2, 28, 29, at yr efengyl, gorfodir finnau i gymhwyso y gyfran o'r un brophwydoliaeth sydd ddwy adnod yn mlaen (fel pe dywedasai Paul) at yr un efengyl a'i deiliaid."

14 *Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a a pha fodd y clywant heb bregethwr?

15 A pha fodd y pregethant onis danfonir hwynt? megys y mae yn ysgrifenedig, †Mor brydferth yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd, y rhai sydd yn efengylu pethau daionus!

* "Gallant alw—gallant gredu—gallant glywed," yw darlleniad amryw o'r copiau Groeg henaf. "Y ddwy adnod hyn ydynt wrthddadl o eiddo yr Iuddewon," medd Grotius a Hammond. Gwrthwynebir gan Koppe a Wells; tra dywed Crellius, Taylor, Koppe, a Locke, mai yn adn. 16eg y ceir eu gwrthddadl hwynt. † Esay 52, 7; Nahum 1, 15. "Cyfeirir at yr apostolion eu hunain," medd Chrysostom, Theodoret, Ecumenius, a Photius. "Cyfeirid at y cenadau a ddygasant y newyddion da oddiwrth Cyrus, am ddychweliad Israel o Fabilon,"—Esgob Lowth. "Deallai y Rabbiniaid y cyfeiriad at amserau y Messia."—Wetstein. "Mor brydferth yw troediad," &c.,—Doddridge. "Dynesâad,"—Bloomfield, Crellius, Bos.

Yn awr, cyfodir gwrthddadl i athrawiaeth yr apostol, fel pe dywedasai rhyw Iuddew yn Rhufain—canys da yr adwaenai ein hapostol eu

holl wrthddadleuon :—"Os oedd yr ysgrythyr yn cyfeirio at y Cenedloedd, ac os oedd Duw, Arglwydd pawb, yn oludog i bawb a alwent arno, i ba ddyben yr oedd efe felly? canys ni addola neb, ac ni weddia neb ar, un Duw cyn yn gyntaf gredu ynddo; ac ni chred neb mewn gwrthddrych cyn clywed am dano, ac ni chlyw efe ychwaith heb i rywun i bregethu y pwnc iddo; ac ni phregetha neb heb gael ei ddanfon: ac, y mae Esaia yn caniatâu fod y cyfan yn dibynu ar y pregethwyr, canys efe a wnaeth gyfeiriad at hyny. Ac yn awr, tydi a weli, nad oedd dim a fynai Duw erioed â'r Cenedloedd, nac â neb ond â nyni, Iuddewon; a chan mai felly yr ymddygai efe erioed, diau mai felly yr ymddyga efe yn awr, ac o hyn allan."

Tybia Stuart ac ereill fod y gwrthddadleuwr yn sefyll ar y ffaith o fod y pagan heb glywed am Grist; eithr dengys atebiad Paul yn adn. 18, mai heb glywed am *Dduw* oedd y pwnc mewn dadl am y pagan; tra mai am yr Iuddew, y pwnc oedd rhaghysbysiad y dadguddiad dwyfol o alwad y Cenedloedd, yr hwn oedd mewn ffaith unig brif bwnc y ddadl yn y pennodau hyn. Fe geir y dyfyniad allan o Esay 52, 7.

16 Eithr nid' ufyddhasant hwy oll i'r efengyl: canys y mae Esaias yn dywedyd, *O Arglwydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni?

17 Am hyny ffydd sydd †drwy glywed, a chlywed ‡drwy air Duw.

* Esay 53, 1. † "Crediniaeth sypd drwy glywed, fel ei hachos effeithiol,"—Rhai. "Fel ei hachos annogaethol,"—Amryw. "Fel ei hachlysur neu foddion,"—Ereill. ‡ "Drwy air Duw fel cyfrwng, drwy yr hwn y daw y clywed,"—Winer, ac amryw ereill.

Wele atebion Paul i'r gwrthddadleuwr. Am eu trefn, gwel y *Rhagymadrodd*, Yr hyn a ddwg Paul allan yma, yw fod y prophwyd wedi rhaghysbysu mai anufydd i'r efengyl fyddai y nifer luosocaf o'r Iuddewon (Esay 53, 1), er eu bod wedi ei chlywed; yr hyn a brawf nad oeddynt ar dir ufydd-dod, nac ar dir anwybodaeth esgusol, yn ddieuog.

*Trwy glywed*, fel ei moddion neu offeryn. "Felly (ebe efe) y Ffydd *(he pistis)* yw hi fyth; canys gwelwch mai allan o *(ek with Gen.)* glywed, ac nid o weithredoedd defodol cyfundrefn y Ddeddf, yr oedd Esaias, eich prophwyd eich hunain, yn rhaghysbysu pethau i fod yn amser y Messia. Gan iddo osod ei holl bwys ar y *credu*, yr hwn sydd drwy glywed, dengys ar unwaith mai drwy y Ffydd yn unig y cedwir Iuddewon fel ereill; a dengys hefyd fod yr Iuddewon wedi cael mantais i gredu felly." Nis gwn pa fodd y gallai Stuart osod yr adnod hon yn wrthddadl yn ngenau yr Iuddew, tra yr oedd raid i bob Iuddew ganiatâu, fod Crist, a'r deuddeg, a'r deg-a-thriugain, wedi bod dros ddwy neu dair blynedd yn pregethu am yr efengyl yn Palestina yn unig, ynghyd â'r deuddeg, bron bob un, dros naw neu ddeg mlynedd eilwaith, heb son am y degau, efengylwyr ac athrawon oedd gyda hwynt. Ni chafodd oes o ddynion erioed gynnifer o freintiau, doniau,

ac arwyddion, ag a gafodd Iuddewon Palestina a Syria, o gyfnod bedyddiad Crist hyd alwad Cornelius; ac yn ngwyneb rhagolwg ar doster y farn oedd ar eu goddiweddyd, yr hon nid oedd fodd ei gochel heblaw drwy ymlynu wrth y Cristionogion, am ba rai yr oedd gofal Crist—y parodd yr Iesu tosturiol a gwladgarol i'w weision ddechreu yn Jerusalem, a gwneyd a allent i ennill pawb o afael y farn oedd i ddisgyn ar yr hen oruchwyliaeth gnawdol hòno, yr hon oedd wedi myned mor ddifudd, a llesg, a gelynol drwy ei chelfi a'i hategwyr, i deyrnas newydd y Messia yn y byd. O do! cawsant gymmaint o bregethu, fel nad oedd fodd i neb ddysgwyl y safai dyn o honynt i'w wadu.

18 Eithr meddaf, *Oni chlywsant hwy? Yn ddiau i'r holl ddaear yr aeth eu swn hwy, a'u geiriau hyd derfynau y byd.

* "Gwrthddadl yr apostol ei hun yw hon,"—Winer. Salm 19, 5. "Gwrthddadl yn nghylch yr Iuddewon ydyw," medd Chrysostom, Hammond, Koppe, a Rosenmuller. "Cyfeiriad at yr Iuddewon a'r Cenedloedd yw," medd Locke a Carpzov; tra priodolir gan Vatablus, Grotius, a Whitby, i'r Cenedloedd yn unig.

Eithr *(alla)*. Dengys yr *eithr* hwn nad yw yr ysgrifenydd ar yr un pwnc ag oedd dan ei sylw yn yr ymadrodd blaenorol. Yno dyfynai o'r prophwydi am yr Iuddewon, yma am y Cenedloedd. Codwyd allan o Salm 19, 5. Nid yw yn sicr fod pob pagan ac Iuddew gwasgaredig dros yr holl ddaear wedi cael cynnygiad o Grist, pan ysgrifenwyd yr epistol hwn; eithr yr oedd pob dyn yn parhaus dderbyn gweinidogaeth "y nefoedd, a'r ffurfafen, a dydd i ddydd, a nos i nos, a'r haul, a'r gwres, &c.," yn ol Salm 19; a dylasai pob pagan ymagweddu yn gyfatebol i'r weinidogaeth hon.

19 Eithr meddaf, Oni wybu Israel? Yn gyntaf, y mae *Moses yn dywedyd, Mi a baraf i chwi †wynfydu drwy rai nid yw genedl; ‡trwy genedl anneallus y'ch digiaf chwi;

* "Mouses," yw y darlleniad cryfaf ei awdurdod yn awr. † "Mi a'ch gwnaf yn selog o'ch breintiau uchel, drwy eu cyfranu i'r Cenedloedd,"—Robinson. Deut. 32, 21; Rhuf. 11, 11, 14. ‡ "Drwy genedl ynfyd,"—Rhai. "Eilunaddolgar," medd ereill, megys Grotius. Wrth "genedl anneallus" yn y prophwyd, meddyliai y Rabbiniaid Iuddewig, megys Solomo, Bechai, ac Abarbanel, am y Cristionogion, pa rai, meddynt hwy, oedd Edomiaid cyfeiriadau y prophwydi.

Try efe yn awr at fantais Israel i wybod am alwad ddyfodol y Cenedloedd, ac anufydd-dod, a gwrthodiad, a chwymp yr Iuddewon. Ceir allan o Deut. 32, 21. Eithr, os dadleuid fod y pwnc yn rhy dywyll yn Moses, try yr apostol at

20 Eithr y mae Esaias yn ymhyfhau, ac yn dywedyd, Cafwyd fi *gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio; a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf.

* "Cafwyd fi yn eu mysg—gwnaed fi yn eglur yn mysg, &c.," yw darlleniad rhai o'r copiau henaf yn y Groeg a'r Lladin. Esay 65, 1.

Yma mae yn fwy pendant. Dyfyna o Esay 65, 1. Cam dirfawr â'r

ymadrodd hwn yw ei gyhoeddi fel addewid uwchben anghredinwyr. Dylid attal dynion i bregethu efengyl, nes y gallont adnabod y gwahaniaeth rhwng addewid a phrophwydoliaeth. Y neb sy'n ceisio sy'n cael addewidion; nid felly am brophwydoliaeth.

21 Ac *wrth yr Israel y mae'n dywedyd, †Ar hyd y dydd yr estynais fy nwylaw, at bobl anufydd ac yn gwrthddywedyd.

* "Yn erbyn Israel y mae'n dywedyd,"—Beza, Erasmus, Piscator, Koppe. †"Uwch ben pobl anufydd," yw darlleniad rhai copïau. Esay 65, 2.

Profasid galwad y Cenedloedd, ac yn awr profir ystyfnigrwydd yr Iuddewon, ac o ganlyniad eu gwrthodiad a'u cwymp.

*Ar hyd y dydd*, yw yn wastadol a dibaid. *Estyn y dwylaw* yw cyfarch yn ddifrifol, deisyfol, tirion, a phwysig. *Anufydd-dod* oedd yn ddrwg, ond yr oedd *gwrthddywedyd* yn waeth.

Fel hyn arddangosodd yr apostol unwaith etto (fel y dywed Stuart) ac mewn ffordd wahanol i'r hyn a gerddodd efe yn pen. 4. fod y Cenedloedd yn sefyll ar dir cyfartal â'r Iuddewon, o ran breintiau efengylaidd, ac y gall Duw, mewn hollol gyssondeb â'i hen addewidion, fwrw ymaith yr Iuddewon, pan ymgaledant mewn anghrediniaeth, a derbyn Cenedloedd crediniol i'w ffafr yn eu lle. Ymddengys mai natur wrthwynebol yr athrawiaeth hon i'w falch a hunan-gyfiawn gydwladwyr, oedd yr achos fod yr apostol yn dychwelyd ati mor aml, ac yn ei gwasgu arnynt gyda'r fath apeliadau at yr Hen Destament, eu beibl hwy eu hunain.

Pa raddau o ddrygioni sydd yn mhob gweithred ddrwg? Yn mha le ond y beibl y cawn reol uniawn ar hyn? Yn mha le cyn y farn y cawn fesuriad uniawn yn ol y rheol uniawn ar hyn? Teifl ein pennod hon belydrau o oleuni ar y pwnc. Gwelwn fod yr hwn a gyflawno weithred dda ynddi ei hun, dan oleuni a chyfleusdra llai, yn fwy rhinweddol na'r hwn a gyflawno yr un weithred, dan oleuni a chyfleusdra mwy. Gwelwn, a than grynu, o'r ochr arall, fod yr hwn a gyflawno weithred ddrwg, dan oleuni llai, yn llai ei euogrwydd na'r hwn a gyflawno yr un weithred dan oleuni mwy. Yn ol y safon hyn, mae camfagu plant, er enghraifft, yn llai o bechod yn y pagan gwyllt nag yn yr un gwaraidd, yn yr un gwaraidd nag yn yr Iuddew, ac yn yr Iuddew nag yn y Cristion. O, y graddau uchel o ysgelerder a welir gerbron y frawdle, yn mhechod gwrandawwyr efengyl, erbyn crynhoi yn nghyd arno bob pelydryn o wybodaeth a chyfleusdra, dan ba rai ei cyflawnwyd! Mae dynion yn awr yn esgusodi pechodau dynion, yn ol eu hanwylder neu eu parch iddynt; ac yn eu hysgelerderu yn ol eu cyn-elyniaeth at y gweithredwyr; ereill, o dymherau pigog neu wammal, a drwythant weithredoedd pawb yn ffos eu teimladau eu hunain, ac a'u barnant yn ol eu lliwiau pan yn esgyn o'r drwyth. Eithr Crist, gyda theimladau diduedd perffaith, a fyn weled pob gweithred, yn ngoleuni ei holl gyssylltiadau, a'i pherthynasau, a'i dylanwadau, cyn ei dedfrydu. Anwyl ddarllenydd, dyma dy gyfrifoldeb! Ni thycia fod dy gydwladwyr wedi gwneuthur dy bechodau yn *fashionable*, a'n

gwrthrinweddau yn bethau gwarthus, ond ychydig iawn, yn nydd gwyl brawdle cyfiawnder

### CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. X.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) FRODYR, gwir ewyllys fy nghalon a'm gweddi ar Dduw drostynt sydd er iachawdwriaeth. (2) Canys yr wyf fi yn tystio drostynt, mai sel dros Duw sydd ganddynt, er nad yn ol gwybodaeth. (3) Canys tra yn anwybyddus o gyfiawnder Duw, ac yn ceisio sefydlu eu cyfiawnder eu hunain, i gyfiawnder Duw nid ymostyngasant. (4) Canys Crist yw terfyniad y DDEDDF, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu. (5) Canys desgrifia Moses y cyfiawnder sydd allan o'r DDEDDF, "Mai y dyn a wnel y pethau hyny a fydd byw drwyddynt." (6) Ond dywed y cyfiawnder sydd allan o FFYDD fel hyn, "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? hyny yw, i ddwyn Crist i wared: (7) Neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? hyny yw, i ddwyn Crist i fyny oddiwrth y meirw." (8) Eithr pa beth a ddywed efe? "Mae y gair yn agos atat, yn dy enau ac yn dy galon:" hwnw yw gair y FFYDD, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu. (9) Yn awr, os cyffesi a'th enau yr Iesu yn Arglwydd, a chredu a'th galon mai Duw a'i cyfododd ef o fysg y meirw, cadwedig fyddi. (10) Canys a'r galon y credir [gyda dymuniad] tuag at gyfiawnder, yna â'r genau y cyffesir [gyda dymuniad] tuag at iachawdwriaeth: (11) Canys dywed yr ysgrythyr, "Pwy bynag sydd yn credu [ymddiried] arno ef, ni chywilyddir."

(12) Nid oes, gan hyny, wahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr, oherwydd mae yr un Arglwydd pawb yn olndog i bawb ag sydd yn galw arno; (13) canys "pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd a fydd gadwedig."

GWRTHDDADL (14) Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant (ynddo)? A pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? A pha fodd y clywant heb bregethwr? (15) A pha fodd y pregethir onis danfonir hwynt? megys y mae yn ysgrifenedig, "Mor brydferth yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd, y rhai sydd yn efengylu pethau daionus!"

YR ATTEBIAD (16) Eithr nid ufyddhasant hwy oll i'r efengyl, canys dywed Esaias, "O Arglwydd, pwy a gredodd i'n pregethiad ni?" Y FFYDD sydd, gan hyny, allan o glywed, ond y clywed drwy air Duw. (18) Eithr meddaf, Oni chlywsant hwy [y Cenedloedd]? Diau "fyned allan i'r holl ddaear eu swn hwy [haul, lloer, dydd, nos, &c.], ac hyd eithafoedd y byd eu geiriau." (19) Eithr meddaf, Onid yw Israel yn gwybod? Yn gyntaf, y mae Moses yn dywedyd, "Myfi a gynhyrfaf ynoch eiddigedd drwy yr hon nid yw genedl, drwy genedl anneallus y'ch gwnaf yn ddig." (20) Eithr Esaias a ymhyfha, ac a ddywed, "Cafwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio, a gwnaed fi yn amlwg i'r rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf." (21) Ond wrth yr Israel y dywed efe, "Ar hyd y dydd yr estynais fy nwylaw, at bobl anufydd ac yn gwrth-ddywedyd."

---

## PENNOD XI.

§ 9. FOD DUW Y FFYDD, A'R ETHOLEDIGAETH, A'R ADDEWID, YN PARHAU MEGYS CYNT, HEB GYFNEWID UN EGWYDD R WRTH DDERBYN I MEWN Y CENEDLOEDD I FFAFR; TRA G RFODODD ANUFYDD-DOD ISRAEL I JEHOFA FEL EU BRENIN, A'R DDEDDF FEL EU CYFUNDREFN, EF I'W COSPI A'R FARN O GWSG, DALLINEB, BYDDARDOD, A CHWYMP, YN OL AMMODAU Y GYFUNDREFN HONNO. PEN, XI, 1—10.

**"Ni fwriodd Duw y Ffydd (nid Duw fel Jehofa) ymaith ei bobl, y rhai a rag-adnabu efe (ebe'r apostol), canys un o honynt ydwyf fi fy hunan" (adn. 1, 2). Yr oedd Duw wedi bod yn bwrw ymaith ddeiliaid y Ddeddf aml waith o'r blaen, megys yn amser Elias, etto gofalai Duw Rhad ras am ei etholedigion ei hun (3, 4); ac felly y mae hi yn bod yn awr (5), nid drwy y Ddeddf, ond drwy y Ffydd, canys ni all fod drwy y ddwy gyfundrefn fel eu gilydd (6); ac ni allodd Duw y ddeddf, heb groesi ei gyfundrefn, faddeu i'w ddeiliaid y pechodau oedd oddiallan i'w restr camweddau maddeuedig ef drwy ei aberthu ei hun; a chan na phlygai y genedl i dderbyn maddeuant ganddo ef fel Duw y Ffydd, ar dir crediniaeth, ymostyngiad, a rhad ras, ei farn oedd raid iddo ef fwrw arnynt; sef y gosp o ddallineb meddwl a chyfiawn gwymp; oblegid *aml*, ac nid llawn bob amser, o drugaredd oedd efe yn y cymmeriad hwnw (7—10). Nid oedd dim o'r fath farn â hon dan gyfundrefn Ffydd a'i chyfnod diweddaf hwn; eithr hwynt-hwy ni fynent ddyfod i mewn drwy ddrws y deyrnas nefoedd hon, onide cawsent adnabod y gwahaniaeth annhraethol rhyngddi â'r hen gyfundrefn.

AM hyny, meddaf, *A wrthododd Duw ei bobl? Na atto Duw. Canys yr wyf finnau hefyd yn Israeliad, o had Abraham, o lwyth Benjamin.

* "Ei etifeddiaeth," medd rhai hen gopïau, ac felly y darllenai beiblau Ambros, Hilarius, a rhai ereiil. "Ei bobl, y rhai ragadnabu efe," medd dau hen gopi parchus, Awstin, a rhai ereill. "Geiriau gwrthddadleuwr yw y rhai hyn,"—Stuart.

Gwrthddadl yr Iuddew, fel pe dywedasai—"Os gwir ydyw hyn oll, onid yw yn sicr Duw yn gwrthod ei bobl ddewisedig ei hun?"

Ei bobl *(ton laon autou)*. Pwy yw y rhai hyn? Ai yr holl genedl, ynte y rhai cadwedig, sef pobl Duw y ffydd? Cawn son am bobl Dduw hefyd gan Paul yn aml, a Matthew, Pedr, Ioan, a Luc; sef yn Mat. 1, 21, a 2, 6; Heb. 4, 9, a 11, 25; 1 Pedr 2, 10; Dat. 21, 3; Heb. 10, 30; Luc 1, 68, 77, a 7, 16; 2 Cor. 6, 16; Rhuf. 9, 25, 26. lle cawn yn mhob lle nodau amlwg duwiolion, neu bobl Dduw y ffydd, ac nid yr Israel, neu Jehofa. Rhaid, yn ol arferiad y gair yn y Testament Newydd, debygwyf fi, fod yr wrthddadl a esyd Paul yn ngenau yr Iuddew hwn, yn cyfeirio yn awr, nid at wrthodiad Duw o'r genedl fel yr oedd *hi* yn bobl iddo, canys aethid drwy y pwnc hwnw eisoes,—ond at bobl Dduw yn ol geiryddiaeth y Testament Newydd, sef y rhai a waredir oddiwrth eu pechodau, y rhai y mae gorphwysdra etto yn ol iddynt, y rhai sydd wedi cael trugaredd, ac yn meddu Ysbryd Crist i'w harwain yn y byd.

Atebiad Paul a gynnwysai nad oedd gwrthodiad cyffredinol y genedl *wedi* cymmeryd lle, canys yr oedd efe ei hun yn Iuddew, ac yn Gristion hefyd.

2 *Ni wrthododd Duw ei bobl, yr hwn a adnabu efe o'r blaen. †Oni wyddoch chwi pa beth y mae yr ysgrythyr yn ei ddywedyd am Elias? pa fodd y mae efe yn erfyn ar Dduw yn erbyn Israel, gan ddywedyd,

3 ‡O Arglwydd, hwy a laddasant dy brophwydi, ac a gloddiasant dy allorau i lawr; ac myfi a adawwyd yn unig, ac y maent yn ceisio fy einioes innau.

* "Yr hwn a garodd efe o'r blaen,"—Locke, Jaspis. "Yr hwn a gyffesodd efe unwaith yn eiddo iddo,"—Couquest. "Y rhai a ragbenderfynodd efe i fod yn eiddo iddo,"—Stuart, Barnes. Ymddengys fod yr olaf yn ystyried mai rhagordeinio i fywyd tragwyddol sydd yma. Felly Hodge. "Y rhai a gydnabu efe o'r blaen,"—J. Williams. † "Achwyn wrth Dduw yn erbyn,"—J. Williams, Barnes. "Yn y gyfran o lyfr y Breninoedd sydd yn son am Elias," medd yr Esbonwyr diweddaraf, gan mwyaf. ‡ 1 Bren. 19, 10, 14.

*Adnabu o'r blaen (proegno).* Gwel ar pen. 8, 29.

AM ELIAS *(en Elia)*, yn Elias, sef yn y gyfran o'r ysgrythyr sy'n son am Elias, ac yn cael ei galw ar ei enw ef. Peth a wnaed yn ddiweddar oedd dosranu y Beibl yn bennodau ac adnodau; nid oedd dim o'r fath yn ysgrifeniadau yr hen dadau. Y dosraniad presennol o'r Hen Destament Hebreig a wnaed gan Hugo de Cardinalis yn y ddeuddegfed ganrif, ac o'r Testament Newydd gan yr argraffydd hynod, Robert Stephens. Gan hyny, gwneid cyfeiriadau at yr ysgrythyrau cyn hyny, mewn ffordd hollol wahanol i'r un bresennol, a chan amlaf yn ol y dull yn ein testyn. "Yn y Berth," medd Marc 12, 26, am y gyfran sy'n son am y Berth yn llosgi.

*Erfyn yn erbyn*, sef yn pledio yn eu herbyn.

*Cloddiasant;* sef, cloddiasant i lawr, canys gwneid allorau yn gyffredin o goed a thywarch neu bridd.

4 Eithr pa beth y mae ateb Duw yn ei ddywedyd wrtho? *Mi a adewais i mi fy hun saith mil o wyr, y rhai ni phlygasant eu gliniau i Baal.

* 1 Bren. 19, 18. "I ddelw Baal,"—Belsham. "Mi a adewais i mi fy hun nifer mawr,"—Stuart. "Ond beth a ddywed yr ateb dwyfol iddo?"—Walford, &c. "Mi a adawaf i mi fy hun,"—Grotius, Koppe. "Gadewir i mi,"—Bloomfield.

*Plygu y glin*, oedd gyfran o wasanaeth crefyddol a delid i eilunod, ac yn arddangos parch ac erfyniad.

BAAL oedd enw y prif dduw yn mysg y Canaaneaid, Assyriaid, a Babiloniaid. Galwai y Phœniciaid ef yn Adoni, a'r Groegiaid, Adonis. Yma mewn modd anarferol, braidd, gosodir y fannod o flaen yr enw, —*y Faal*, megys y gwnaeth y Deg-a thriugain hefyd yn Hos. 2, 8; Jer. 2, 8, a 11 13, a 19, 5; Zeph. 1, 4; Hefyd Tobit 1, 5. Er mwyn deongli yr anghyssondeb hwn (os yw anghyssondeb hefyd), tybiai Erasmus, Beza, Grotius, a Robinson, fod y gair *delw* i'w ddeall, yr hyn a'i gwnelai yn "blygu y glin i'r Faal-ddelw." Ereill, megys Brais, Beyer, a C. Schmidius, a dybiant fod i'w chael dduwies hefyd o'r enw, sef y lleuad, ond odid. Eithr gwrthddadla Stuart yn erbyn hyn, oherwydd gwyddis mai Moloch oedd y Faal yn Jer. 32, 35. Ereill a dybiant fod Baal yn perthynu i'r ddwy ystlen, ac y gellir felly arferyd am dano y rhagenwau *hi* neu *efe* yr un mor gymmwys â'u gilydd; ac i'r ochr hon tuedda Stuart a'r Septuagint. Ereill a dybiant mai o ran diystyrwch y cyfnewidir ystlen yr eilun, megys y geilw y Rabbiniaid eilunod yn dduwiau benywaidd [Stuart]. Winer a duedda i dybied mai anghof Paul o ystlen yr eilun a barodd iddo ei alw yn fenyw. Ond, ys dwed yntau, nid yw ei ystlen o nemawr bwys. Nid ymddengys

fod Israel un amser yn galw Jehofa yn Baal, er mai ystyr y gair yw *arglwydd*, neu *feddiannydd;* canys nid yw yr ymadrodd yn Hosea 2, 16, yr hwn a nodir fel enghraifft o hyny, ond cynnwys y gair *baal* yn unig fel teitl mwy sarug a llai serchiadol ar *wr*.

Prif gartrefle addoliad Baal oedd Tyrus. Cofleidiodd Israel eilunaddolgar addoliad y Duw hwn (o'r bron yn gysson mewn cyssylltiad ag addoliad Ashtoreth) yn nhymmor y Barnwyr (Barn. 2, 13); glynasant wrtho yn nheyrnasiad Ahaz a Manasseh, breninoedd Juda (2 Cron. 28, 2; 2 Bren. 21, 3); ac yn mysg breninoedd Israel, yn neillduol yn nheyrnasiad Ahab, yr hwn, mewn rhan drwy ddylanwad ei wraig benderfynol, merch y brenin Sidonaidd Ethbaal, a ymddengys fel wedi gwneyd egni oddiar gynllun i attal addoliad Duw yn hollol, gan osod i fyny addoliad Baal yn ei le (1 Bren. 16, 31); ac yn nheyrnasiad Hosea (2 Bren. 17, 16), er fod Jehu a Jehoiada wedi dinystrio temlau ac offeiriaid y duw, unwaith bob un (2 Bren. 10, 18, a 11, 18).

Yr ydym yn darllen am allorau, delwau, a themlau yn cael eu cyfodi i Baal (1 Bren. 16, 32; 2 Bren. 3, 2). Ar uchelfenau yn gyffredin yr oedd yr allorau, megys copäau mynyddoedd a phenau tai (Jer. 19, 5, a 32, 29). Ei offeiriaid, y gair priodol am ba rai oedd *Kemarim*, oeddynt luaws mawr (1 Bren. 18, 19), ac yn cael eu dosranu yn ddau ddosparth, o brophwydi ac offeiriaid (oddieithr fod y gair "gweision," yr hwn a osodir rhwng y ddau hyn, yn arddangos trydydd gradd—math o Lefiaid, 2 Bren. 10, 19). Am y defodau drwy ba rai yr addolid ef, cawn aml son am arogldarthu iddo (2 Bren. 23, 5), ac weithiau am ychain yn cael eu haberthu (1 Bren. 18, 29), a hyd yn nod plant, megys ag i Moloch (Jer. 19, 5). Yn ol y desgrifiad yn 1 Bren. 18, dawnsiai yr offeiriaid ar bryd yr aberthu—neu yn hytrach elun hecient, yn ol iaith ddiystyrllyd yr ysgrythyr wreiddiol—oddeutu yr allor; a phan nad atebid eu gweddiau, torent eu cnawd â chyllill, nes dylifai y gwaed i'r llawr, fel y gwnai offeiriaid Bellona (Tertullian *Apologet.* ix). Heblaw plygu y glin, darllenwn am dalu gwarogaeth iddo drwy gusanu ei ddelw (1 Bren. 19, 18), a bod ei addolwyr yn arfer tyngu yn ei enw (Jer. 12, 16).

Pa un ai yr haul, ynte y blaned Iau, ynte rhyw seren, ynte ei hysbryd, ynte yr ysbryd seryddol yn gyffredinol, a addolid dan yr enw hwn, anhawdd penderfynu. Gall y sawl a ddarlleno y ddadl fawr rhwng Gesenius a Munter, ynghyd ag ysgrifeniadau Bellermann a Lindemann, ar y pwnc, ond odid, ddod i led benderfyniad mai yr haul oedd y duw, ar ol y cwbl.

5 *Felly gan hyny y pryd hwn hefyd y mae gweddill yn ol etholedigaeth gras.

* "Etholedigaeth cyfiawnhad,"—Beiblau Ethiopaeg. "Yn ol etholedigaeth drwy radioni,"—J. Williams. "Yn ol etholedigaeth drwy ras,"—Walford. "Gweddill wedi eu rhad-ddewis,"—Hodge. "Yn ol etholedigaeth ffafr Duw,"—Belsham. "Dyma'r etholedigaeth sydd yn 2 Pedr 1, 10, ag yr annogir y saint i'w sicrhau,"—Macknight, Bloomfield.

Megys mai ymgadw yn ffyddlon i Dduw yn ol y cyfammod rhyng-

ddo â'r genedl am deyrnas Canaan, oedd dyledswydd Israel yn oes Elias; felly ymgadw yn ffyddlon i'r un Duw, drwy ymdrechu am fyned i mewn i gylch y cyfammod rhyngddo â'r byd am deyrnas nefoedd, oedd dyledswydd Israel yr oes apostolaidd. Baal oedd canolbwynt gwrthgiliad oes Elias, dan gysgod ac esgus awdurdod llys Samaria; a Phariseaeth oedd canolbwynt gwrthgiliad oes ddiweddaf yr Hen oruchwyliaeth (yr hon a elwid hefyd yn "ddyddiau diweddaf"), dan gysgod ac esgus awdurdod Moses a'r prophwydi ar ei ol. Ac megys yr oedd Jehofa yn gallu dweyd wrth Elias, "Mi a gedwais i mi fy hun saith mil o wyr, y rhai ni phlygasant eu gliniau i Baal;" felly yr oedd gan Dduw yn Nghrist i'w ddywedyd wrth y Rhufeiniaid hyn drwy Paul, fod ganddo yntau weddill wedi hollol ymwrthod â choelgrefydd y tadau. Etholedigaeth Jehofa oedd y "mi a gedwais i mi fy hun," ac etholedigaeth *gras* Duw yn Nghrist yw y "gweddill" oedd o'r Iuddewon heb eu taro yn ninystr y genedl.

GWEDDILL *(leimma)*, ychydig rifedi, cyfran, yr hon, er ynddi ei hun, fe allai, yn llawer, nid yw ond ychydig mewn cydmhariaeth â'r gyfran arall. Felly yma, nid oedd nifer y credinwyr Iuddewig, er yn fawr a phwysig mewn ffaith, ond bychan a dibwys mewn cydmhariaeth â nifer yr anghredinwyr.

6 *Ac os o ras, nid o weithredoedd mwyach: os amgen, nid yw gras yn ras mwysch. †Ac os o weithredoedd, nid yw o ras mwyach: os amgen, nid yw gweithred yn weithred mwyach.

* "Nid yw gras yn ras, os oherwydd eu gweithredoedd y bendithir y gwrthrychau," Winer. Eithr, dylid sylwi mai gras yn ei *etholedigaeth* yn unig sydd felly. "Wrth weithredoedd y meddylir cydffurfiad â'r gyfraith,"—Barnes. † Gadewir oddiyma hyd ddiwedd yr adnod, allan o'r Beiblau presennol, oherwydd nad yw mewn saith o'r copïau henaf, y Coptaeg, Sahidaeg, Armenaeg, Vulgate, a'r hen gyfieithiadau Lladin ereill, ynghyd â Beiblau yr hen dadau Lladinaidd. Gadewir allan o destamentau Groeg Erasmus, Mill, Wetstein, Lachmann, Griesbach, a Scholz. Felly Flatt, Grotius, Tholuck, a Semler.

Cyferbynir *Charis*, gras, ac *Ergon*, gweithred. Yn awr, pa un ai y *gweddill*, ynte yr *etholedigaeth*, sydd mewe dadl? Pa un ai dadlu fod y naill, ynte fod y llall, yn tarddu o'r *charis* y mae efe? Gan mai rhwng gras a gweithred y mae yr ymddadleu, rhaid, debygwyf, mai y cwestiwn yma yw, pa un ai etholedigaeth gweithredoedd Duw Israel, ynte un gras Duw yn Nghrist, yw yr etholedigaeth sydd wedi cadw y Cristionogion Iuddewig dan sylw; sef "y gweddill" hyn. Cymmerodd Paul ofal i ychwanegu yn adn. 5ed, mai cyfundrefn Gras, neu y Ffydd, oedd bia'r etholedigaeth hon, er mai cyfundrefn Gweithredoedd bia'r etholedigaeth a gadwasai i Dduw y saith mil hyny yn amser Elias. Yma try i ymresymu er mwyn profi ei osodiad, ac er mwyn cadw allan yr enwaediad a'r gweithredoedd ereill perthynol i'r Ddeddf, ag a lusgid i mewn i gyfundrefn Gras, gan yr athrawon Iuddewig hanner Phariseaidd hanner Platonaidd, ag oedd yn ei olwg drwy gorff yr epistol. "Gwelwch (medd efe) mai allan o gyfundrefn y Gras y mae yr Iuddewon credinio1 presennol yn gadwedig; a deallwch eich bod

wrth gyfaddef hyn, yn cau allan holl weithredoedd Deddf Moses; canys nid oes gyfundrefn yn bod yn gynnwysedig o gyfran o ras a chyfran o Moses." Gwyn fyd pe gellid ennill Cristionogion Cymru i dderbyn cyfundrefn gras, yn unig a phur fel y mae hi, yn lle troi at Moses a'r yr hyn a alwant yn "ddeddf foesol," a "hen eglwys Iuddewig," &c. Trwy gyfundrefn y Ffydd, yn annibynol ar bob sill o gyfundrefn Sina, y cedwid hyd yn nod yr Israeliad crediniol, heb son am dduwiolion y cenedloedd ereill. A mwy na hyny, dyna yw dadl fawr yr epistol hwn. A'm weithredoedd da yn ol y Testament Newydd, a phob dyledswydd a all gyfodi oddiar bob perthynas, cyfleusdra, a mantais o bob rhyw, y mae cyfundrefn y Ffydd, sef gras Duw yn Nghrist, nid yn unig yn eu gofyn, ond yn eu hawlio, oddiar yr annogaethau cryfaf a phwysicaf. Cofiwn mai dwy gyfundrefn fawr yr oes hono o Iuddewon, oedd *Gweithredoedd* a *Ffydd* neu ras; a pha fodd y gall fod un rheswm mewn deongli y cyfryw air a *gweithredoedd*, fel pe cynnwysai weithredoedd da Cymru a Christionogion? Pwy sydd yma mewn perygl o fyned yn Iuddew? Mor anhawdd yw cael duwinyddion i gadw mewn cof nad yn Nghymru y bu y pethau hyn!

*Nid o weithredoedd mwyach* (*eti*, mwyach), *yet, still, longer, as before;* etto, yn hwy, fel o'r blaen. Dyma bwnc, gan hyny. Dyma ganiatad, o eiddo yr apostol, fod yr etholedigaeth a gadwodd weddill Jehofa yn amser Elias, yn etholedigaeth o weithredoedd yn unig. Mae ystyr y gair *mwyach* yn caniatau ac yn profi hyny. Nid yw Duw, fel y mae efe yn awr yn Nghrist, yn achub oherwydd gweithredoedd y gwrthddrychau mewn ufydd-dod i'r ddeddf, *mwyach*, fel o'r blaen. Gwaredigaethau tymhorol oedd y rhei'ny. Gall y sawl a ammheuo y deongliad hwn ar yr *eti*, "mwyach," ddarllen y cyfeiriadau canlynol, lle ceir y gair mewn cyssylltiad â nacâd, fel y mae yn ein testyn:—Mat. 5, 13; Luc 20, 40; Ioan 14, 30; Gal. 5, 7; Heb. 8, 12; Dat. 3, 12, a 7, 16; Buttmann, 149.

7 Beth gan hyny? Ni chafodd yr Israel yr hyn y mae yn ei geisio; *eithr yr etholedigaeth a'i cafodd, a'r lleill a galedwyd:

8 Megys y mae yn ysgrifenedig, †Rhoddes Duw iddynt ysbryd trymgwsg, llygaid fel na welent, a chlustiau fel na chlywent, hyd y dydd heddyw.

9 Ac y mae Dafydd yn dywedyd, ‡Bydded eu bord hwy yn rhwyd, ac yn fagl, ac yn dramgwydd, ac yn daledigaeth iddynt.

10 §Tywyller eu llygaid hwy fel na welont, a chydgryma di eu cefnau hwynt bob amser.

* "Eithr y lleill a ddallwyd hyd y dydd heddyw,"—Conquest. "Etholedigaeth y cadwedigion a feddylir," medd Stuart. "Ni sonir yma ond am y cyflwr o galedwch, heb son gan bwy eu caledwyd,"—Wahl, Bretschneider, Tholuck, Flatt, Barnes. "Rhoddwyd hwynt i fyny i galedwch eu calonau eu hunain,"—Hodge. "A ystyfnigwyd," medd rhai. "A wnaed yn ddideimlad,"—Ereill. Marc 6, 52, a 8, 17; 2 Cor. 3, 14; Job 17, 7. † Esay 24, 10; Deut. 29, 4; Esay 6, 9; Jer. 5, 21; Ezec. 12. 2; Mat. 13, 14 2 Cor. 3, 14, 16; Ioan 12, 40; Act. 28, 25, 27. "Rhoddes Duw

hwynt i fyny i, &c.,—Conquest, Hodge, Walford. "Llygaid heb weled, &c.,"—J. Williams. "'Hyd y dydd heddyw,' ydynt eiriau yr apostol, ac nid y prophwyd,"—Knapp, Fel arall y dywed Stuart a Reiche. "Goddefodd Duw iddynt fyned felly," Koppe. ‡ "Yn rhwyd o'u blaen hwynt," yw y Syriaeg, Arabaeg, Ethiopaeg, Morgan, a rhai ereill. Salm 69, 22. "Arferir y *ford* am yr ymborth fo arni," medd Koppe. Rosenmuller. § "Cyfeirir at effeithiau helbulon,"—Grotius, Rosenmulier. Salm 69, 23.

*Yr hyn y mae yn ei geisio*, oedd yr hyn a ellir gasglu oddiwrth pen. 10, 3, sef cyrhaedd cyfiawnder Duw. Eu ffordd ato oedd drwy geisio gosod eu cyfiawnder Phariseaidd eu hunain; nid un Moses ychwaith. Etto, cafodd rhywrai ef, sef yr etholedigion neu ddewisedigion a nodwyd yn ol adn. 5. Mynai y lleill wrthod cyfundrefn gras, gan lynu wrth un gweithredoedd. Tynghedfen pob un a bechai yn rhyfygus dan y gyfundrefn hòno, oedd cosp y gyfundrefn. Cawn allan o ammodau y cyfammod yn llyfrau Moses, ynghyd ag o'u heshoniadau yn eiddo y prophwydi, mai trymgwsg a dallineb meddwl oedd i fod yn rhagflaeniad dinystr. Pan nad aethai eu pechodau tuhwnt ffin maddeuant y gyfundrefn, tywelltid y farn heb eu caledu felly, a gadewid hwynt felly fel y gallai Duw eu harbed ar eu hedifeirwch. Eithr, pan dyfasai eu pechodau hyd y nef, a phan barai Jehofa i'w weision beidio gweddio drostynt, ond eu gadael yn eu hymlyniad wrth eilunod, yna cawod gyntaf y gosp bob amser oedd ysbryd trymgwsg, llygaid pwl, clustiau byddarol, cefnau crymedig, a phob peth yn fagl a rhwyd, i'w dal fel nad edifarhaent i erfyn maddeuant, ac fel na ddychrynent i ffoi ymaith. Dyma eithafnod uffern Jehofa. Nid oedd efe dan y gyfundrefn hòno yn cospi neb yn y byd nesaf. Duw mewn cymmeriad arall sy'n y byd hwnw. Megys yr oedd carchar y gyfundrefn hòno, a'i holl gospau, yn y fuchedd hon, felly y mae carchar a chospau yr oruchwyliaeth bresennol yn y fuchedd nesaf. Felly goruchwyliaeth y Ffydd erioed. Am y gwahaniaeth sydd rhwng y farn hon ar y meddwl, a'r hyn a elwir yn pen. 9, 22, yn "gymhwyso i golledigaeth," gwel ar y lle. Nid Duw oedd awdwr y cymhwyso *hwnw*, canys dan gyfundrefn Rhad Ras y gwneir ef. Yn ein testyn, cyfnod hollol wahanol sydd genym. Y mae'r ymdrechiadau a wneir gan y fath feirniaid â Tholuck, Bloomfield, Stuart, Taylor, Turner, Koppe, Valpy, Winzer, Whately, Calvin, Terrot, a Boehme, i gael allan fwlch diangfa o'r gors i ba un y syrthiasant, drwy gymmysgu y gwahanol gyfundraethau dwyfol â'u gilydd, yn peri i ni synu llai at ddiofalwch a phendantrwydd y fath ddosbarth ag A. Clarke, Doddridge, Hodge, Haldane, Barnes, Macknight, Davidson, Guyse, Burkitt, Whitby, Hammond, a Scott, wrth rwygo i ni ddalen o'u credoau pendant i'w gosod yn blastr ar y lle.

GALEDWYD *(epôrôthêsan), to make hard like a stone, callous, obstinate;* gwneyd yn galed fel careg, ystyfnig, neu wrol. Arferir yn Marc 6, 52, a 8, 17; 2 Cor. 3, 14. Cyfeiriwyd eisoes at ymdrechiadau y beirniaid wrth ddadymddyrysu o'r fagl yr arweinir hwynt iddi gan eu cynllun ar yr epistol hwn. Er enghraifft i'r darllenydd weled ychydig o'u helynt, llafuria Wahl, Tholuck, Flatt, a Bretschneider, i brofi mai cyflwr, ac nid gweithred o eiddo neb, yw y *caledu* hwn, gan geisio drwy hyny gloddio sail i allu dweyd mai y pechaduriaid hyn eu hunain oedd y gweithredyddion yn y peth. I hyn mae Stuart yn ateb, fod y dyfyn-

iadau a geir yn yr adnodau dilynol, yn dangos wrth ei enw, mai Duw ei hun oedd yn eu caledu. Eithr, pan y mae yntau yn ystyried mai yn y cymmeriad o Dduw yn Nghrist y caleda efe hwynt, yr â efe yn groes i holl ysbryd yr oruchwyliaeth, a rheolau beirniadaeth ddiwygiadol yr oes.

*Megys y mae yn ysgrifenedig.* Pa beth, a ydyw Paul yn dyfynu i brofi ei bwnc, ynte i'w eglurhau? Cyn ateb drosto, ail-ystyriwn ei eiriau:—"Y lleill a galedwyd, *megys* y mae yn ysgrifenedig," ebe efe. Os profi fod Duw yn caledu yr oes apostolaidd o Iuddewon yn neillduol, oedd mewn golwg yma, nid oedd y dyfyniadau yn *profi* y pwnc; eithr, gan mai profi fod Israel yn cael eu barnol galedu yn aml. heb groesi cyfundrefn Sina, oedd y pwnc, gwnaeth dyfyniadau o Moses a Dafydd y prawf yn berffaith. Ped aethai ein Hesbonwyr i dalu sylw, mai trin dadl fawr cyfundraethau, ac nid personau neillduol, yw tasg yr epistol, arbedasid iddynt y drafferth o osod apostol ysbrydoledig yn gamgymhwyswr, nac yn fenthyciwr, prophwydoliaethau yr Hen Destament, oddiwrth eu hamcan cynenid. Dyfynwyd adn. 8 allan o Deut. 29, 4, ac adn. 9 o Salm 69. 22.

*Eu bord;* sef eu tymhor o fwynhad ac adfywiad, pan dybiont eu bod mewn tawelwch a diogelwch.

*Tywyller—cydgryma:* hyny yw, gwna hwynt fel dyn fo'n methu gweled, yr hwn sydd yn gorfod crymu i geisio canfod y gwrthddrychau o'i flaen.

O eisieu gwahaniaethu rhwng cyfundrefn wladol y Ddeddf ag un ysbrydol y Ffydd, a dau gyfnod yr olaf hefyd, ymddyrysa Stuart, a'r esbonwyr ereill gydag ef, am eu bod yn canfod gweddiau Israel fel deiliaid dialgar Jehofa. Duw y rhyfel gynt, yn amddifaid o ysbryd maddeugar Duw yn Nghrist, Duw yr heddwch yn awr. Ac, fel na byddont yn gorfod cyfaddef anwybodaeth, dywedant am yr erfyniau, a'r deisyfiadau taerion a geir yn y Salmau, a rhanau ereill yr Hen Destament, nad gweddiau, ond prophwydoliaethau ydynt, gan dori y cwlwm yn lle ei ddattod.

---

§ 10. FOD CAMDDEFNYDD PHARISEAIDD CENEDL ISRAEL O GYFUNDREFN Y DDEDDF, WEDI EU HARWAIN YN ANOCHELADWY I GANOL PENYD NEU UFFERN Y GYFUNDREFN HONNO, HYD ONI DDARFYDDO, NAILL AI EU GWRTHODIAD HWY, NEU YNTE, DDERBYNIAD Y CENEDLOEDD, O'R EFENGYL; PAN Y GOLLYNGIR YR HEN GENEDL YN OL I'R UN FFAFR AG EREILL. PEN. XI, 11—36.

FOD Duw wedi gosod math o dramgwydd barnol o flaen y genedl, etto nid er mwyn iddynt gwympo i bechod, neu anghrediniaeth, er mai cwympo felly a fynasent wneyd (adn. 11, 12). Fod eu bai torcyfammodus hwn, er hyny, yn fantais i'r byd o genedloedd, drwy beri i'r efengyl chwilio am danynt hwy, ynte, i dderbyn ei goludoedd: a bod hyn eilwaith yn fantais i'r Iuddewon, drwy eu hannog i eiddigedd, a thrwy eiddigeddu at ereill, nesu yn mlaen eu hunain (12—15). Gan fod cenedl Israel unwaith yn gyssegredig, neu neillduedig, i freintiau dadguddiad dwyfol, eu bod felly tra byddent anwasgaredig [yn glamp toes, neu ganghenau wrth y pren] gan chwalfa barn

fawr olaf cyfammod Sina, ar yr ammod o dderbyn dadguddiad Duw trwy Grist yn roesawus (16); eithr, gan i'w toriad o'r cyfammod hwnw ryddhau Jehofa oddiwrth ei rwymau iddynt, a chan iddo ddewis gosod ar dir ei ffafr o ddadguddiadau dwyfol, yr holl genedloedd, nid *gyda* hwynt fel y dymunasid, ond *yn eu lle*, yn hytrach, mai ffordd i gael eu tori ymaith yr un modd, fydd i'r cenedloedd ymfalchio, a rhyfygu gwneyd yn ysgafn o'u breintiau (17—22). Yr aildderbynir yr Iuddewon i freintiau y cenedloedd, pa bryd bynag yr ymwrthodant â'u hanghrediniaeth, yr hyn fydd yn llai rhyfedd, ar y cyfan, nag oedd derbyniad y Cenedloedd ar y cyntaf (23, 24). Fod y dallineb barnol hwn ar Israel hyd nes delo cyflawnder y Cenedloedd i mewn, a dim yn hwy (25—32). Fod meddwl yr Arglwydd yn hyn wedi aros yn hir yn guddiedig, a bod doethineb trefn yr hirfaith ddirgelu yn anolrheiniadwy i ni (33—36).

11 Gan hyny, meddaf, *A dramgwyddasant hwy fel y cwympent? Na atto Duw: eithr trwy eu cwymp hwy y daeth iachawdwriaeth i'r Cenedloedd, i yru eiddigedd arnynt.

* "Fel y cwympent dros byth,"—Conquest, Stuart, Hodge, Barnes.

TRAMGWYDDO—SYRTHIO *(plaiô—piptô)*. Cynnwysa y gair cyntaf yr hyn oll a fwriodd Jehofa fel barn arnynt, a'r olaf yr hyn a dynasant arnynt eu hunain oddiar law Duw yn Nghrist. Er nad yw cyfundrefn Efengyl yn tywallt barn o galedwch ar neb, etto y mae hi i chwalu ei breintiau mewn doethineb. Annoethineb fuasai peidio troi at y Cenedloedd, pan gafwyd profion diymwad fod yr Iuddewon yn barnu eu hunain yn ddeiliaid anghymhwys i'r efengyl; a throi oddiwrth y naill at y lleill felly a wnaethpwyd. Ceir cynnwysiad y "tramgwyddasant" yn adnodau 8—10. Ceir arwyddocâd y "cwympent" yn y "lleihad" (adn. 12), "gwrthodiad" (adn. 15), a'r "tori ymaith" (adn. 17, 20). Cawn drefn ymresymiad yr apostol yn gyffelyb i hyn:—

1. Yr oedd cyfundrefn Duw y Ffydd yn cynnwys dygiad y Messia i'r byd.

2. Yr oedd cyfundrefn Jehofa yn cynnwys ei ddygiad allan o deulu breninol Moeseniaeth, a bod ei weinidogaeth ragarweiniol, a'i breintiau nerthol, i'w chyfyngu iddynt hwy yn unig.

3. Cynnwysai y gyfundrefn olaf a nodwyd, hefyd, yn naturiol, gynnysgaethiad deiliaid Jehofa â phrif freintiau teyrnas y Messia, neu "deyrnas nefoedd."

4. Cafodd y cyfryw o honynt ag a'i dilynasant Ef yn adenedigaeth ei gyfundrefn, eistedd ar orseddau yn llysoedd athrawiaeth a dysgyblaeth y deyrnas; a phe dilynasid ef gan y genedl i gyd, yr oedd iddynt i gyd hawlfraint arbenig dano.

5. Gwrthod dadguddiadau o'u Duw eu hunain, boed hyny yn y gyfundrefn a fo, oedd prif bechodau deiliaid Jehofa. A chan mai prif amcan eu cyfundrefn hwy oedd gwneuthur i'r Arglwydd Fessia bobl barod erbyn ei ymddangosiad, yr oedd amcan eu neillduad yn colli ar eu gwrthodiad o hono ef, a chyssondeb pethau yn dadgylchu y gyfundrefn, a'u gollwng hwythau ar led y byd.

6. Megys mai "hwyrfrydig i ddig" oedd Jehofa, felly hefyd "wrth y neb y mynai" yn unig y trugarhäai; a chan hyny, gwariwyd yr hwyrfrydigrwydd a'r drugaredd Foesenaidd hyn i gyd gan yr Iuddewon, drwy eu hymddygiad at y Messia a'i deyrnas.

7. Ar ol gwario o honynt holl dosturi y cyfammod, nid oedd le gan Jehofa ynddo mwy, i hyd yn nod attal cospau tymhorol y cyfammod, er edifarhau o honynt fel cenedl am eu trosedd; yna efe a benderfynodd arferyd ei hawl, a chyflawni ei ddyledswydd, fel Dialydd a Phlaid yr orsedd yn y cyfammod hwnw.

8. Yna, efe a'u gwrolodd o fewn, ac a'u hamddifadodd o faes;—sef, efe a'u caledodd, ac a gymmerth y goleuni oddiwrth eu golygon—efe a'u dallodd hwynt, fel na welent y farn, ac fel y tramgwyddent ar draws ymddangosiad tymhorol eu Messia, gan syrthio i'w chanol. Dyna ddiwedd y Ddeddf. Dyna deyrnas Canaan yn darfod, ac un y nefoedd yn dod yn ei nerth.

9. Cafodd Duw y Ffydd, o'r diwedd, ei ddwylaw yn rhyddion. Glanhawyd yr esgynlawr o holl gelfi Iuddewig Jehofa. Daeth hen gyfundrefn y Ffydd a rhad ras i'r golwg. Parodd Jehofa i'w ddeiliaid ei hun dramgwyddo, fel y nodwyd; etto, nid er mwyn iddynt gwympo i anghrediniaeth. Ni thramgwyddwyd hwynt fel y cwympent *felly*, ychwaith; ond fel y gollyngid cenadau efengyl yn rhyddion oddiwrth hen ymrwymiadau Jehofa i'r Iuddewon, i fyned at y Cenedloedd.

10. Felly eu Jehofa a'u tramgwyddodd, a hwynt-hwy eu hunain a gwympasant i anghrediniaeth, a Duw yn Nghrist a gadwodd, ac a geidw, ei ddrws yn agored i'w derbyn hwynt fel y cenedloedd ereill, ac nid yn amgen, i deyrnas nefoedd.

*Eu cwymp hwy.* Y gair am gwymp yw *paraptoma*, ystyr yr hwn yw trosedd amlwg o reol bendant. Cyfeiria yma at waith y genedl yn pechu oddiwrthynt yr iachawdwriaeth o ran ei breintiau.

*Peri eiddigedd* ar yr Iuddewon oedd yn ryw fantais iddynt. Yr oedd yr iachawdwriaeth a ddaeth i'r Cenedloedd drwy eu camwedd hwy, yn tueddu i fagu eiddigedd ynddynt; canys nid oedd un llwybr arall heb ei brofi a'i gael yn ofer. Eithr ofer fu hwn hefyd; etto, mae cyfundrefn Ffydd Crist yn rhwym o roi pob cynllun rhesymol ar waith, cyn methu achub dyn neu genedl.

12 *Oherwydd paham, os ydyw eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn olud i'r Cenedloedd; pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwy?

* Mae un o'r copiau henaf heb yr adnod hon. "Wrth eu lleihad y meddylir eu stad o euogrwydd, ac wrth eu cyflawnder, eu stad o gyfiawnhad a dychweliad,"—Tholuck. "Eu colled hwy yn olud, &c."—Conquest. "Cyfeirir at ddychweliad yr Iuddewon i'w gwlad,"—Whitby, Doddridge.

Achlysur golud a feddylir.

Lleihad (*hetléma*), *a worse state;* sef ystad waelach, mewn cyferbyniad i'w stad flaenorol; iselhad, gwarthruddiad, Gwel 1 Cor. 6, 7,

Eu *cyflawnder;* nid eu hail osodiad dan Jehofa, eu Duw gwladol. ond yn eu holewwydden fel yr oedd hôno yn ffafr freintiol gyda Duw.

13 Canys wrthych chwi y Cenedloedd yr wyf yn dywedyd, *Yn gymmaint a'm bod i yn apostol y Cenedloedd, yr wyf yn mawrhau fy swydd.

14 Os gallaf ryw fodd yru eiddigedd ar fy nghig a'm gwaed fy hun, †ac achub rhai o honynt.

* Gal. 1, 16; Eph. 3, 8; Gal. 2, 7, 8. † 1 Cor. 7, 18; a 9, 22; 1 Tim. 4, 16 Iago 5. 20. "Gosod rhai o honynt ar ffordd achubiaeth,"—Piscator, Vorstius, Bloomfield.

*Apostol y Cenhedloedd: the apostle of the Gentiles*, medd y beibl Saesonaeg, fel pe buasai Paul yr unig un o'r cyfryw. Ond arddengys gosodiad y teitl heb y fannod gan Paul ei hun, y gall fod apostolion y Cenhedloedd heblaw efe. Nid yw y fannod, ychwaith, arferedig yn 1 Tim. 2, 7, nac yn 2 Tim. 1. 11.

"Yr wyf yn mawrhau eich bendithion chwi, Genedloedd, (medd yr apostol) nid i'ch chwyddo mewn balchder, ond er mwyn enyn sylw yr Iuddewon at y breintiau arbenig a fwynheir genych chwi, pa rai a gollasant hwy drwy eu hanghrediniaeth." (STUART.)

SWYDD *(diaconia) ministry, ministration;* sef y swydd o weinyddu mewn pethau crefyddol; ac arferir gan mwyaf am apostolion a dysgawdwyr; megys y weinidogaeth gyn-bentecostaidd (Act. 1. 17); megys yn wahaniaethol oddiwrth apostoliaeth (adn. 25). Sonir am weinidogaeth y gair (6, 4); am ei derbyniad oddiwrth Grist (20, 24); am amrywiaeth ynddynt, ac ar wahan oddiwrth y doniau (1 Cor. 12. 5); arferir am weinidogaeth cyfamod Sina, fel swydd ddienyddol, ac am eiddo y Testament Newydd, fel gweinidogaeth cyfiawnhad i'r euog (2 Cor. 3, 7—9); a gweinidogaeth y cymmod, yr hon a elwir hefyd yn air y cymmod (5, 18, 19); ac yn gynnwysedig o waith (Eph. 4, 12). Dywedir mai trwy yr Arglwydd y derbynir hi (Col. 4, 17), a bod y gorchwyl o osod dyn ynddi, yn brawf o fod Crist yn ei ystyried ef yn ffyddlon (1 Tim, 1, 12), a bod y sawl a'i mwynhäai i brofi ei hawl iddi drwy ffyddlondeb ynddi (2 Tim. 4, 5). Gwelwn fod esgobion yn cael eu galw yn weinidogion, nid am eu bod yn weision i'r eglwysi, ond am eu bod wedi eu hymddiried gan Grist, i weinyddu ymddiriedaeth ac arolygiad ar gyflyrau a bucheddau y saint. Yn eu perthynas â Christ, brodyr ydynt—dyna yn unig ydynt fel teulu. Yn eu perthynas â'u gilydd, cydweithwyr ydynt. Ei gydweithrediad ef yw eu dysgu a'u harolygu hwynt; sef, gweinyddu *iddynt* athrawiaeth, a gweinyddu *arnynt* ddysgyblaeth, Crist ei hun.

*Achub.* Mae Paul yma yn siarad fel pe byddai efe yn ymgais, nid i arferyd y moddion yn unig, nac i oleuo yn unig, ond i *achub* yn unig. Nid yw rhai pregethwyr byth yn ceisio at hyn. Gadawant yr achub oll ar Dduw yn unig; eithr Paul oedd yn ymestyn cyn belled â'r achub. Diau fod gwaith priodol i Dduw, ac y mae mor ddiau, fod gwaith priodol i weinidogaeth y pregethwr hefyd, yn y gorchwyl dwys o achub pechadur. Ymestynwr diail oedd Paul. Yr oedd efe am estyn braich ei weinidogaeth hyd yn nod at adgyfodiad y meirw. Yr oedd hyn yn mhellach nag at nod achubiaeth enaid, ac yn ymawyddu am lusgo cyrff ei wrandawwyr yn ogystal, i fyd yr anllygredigaeth. Ni ddylai pregethwr ddysgwyl achub ei wrandawwyr heb geisio at hyny.

15 Canys *os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd, beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?

* "Beth fydd eu cynfeddianniad hwy, &c." yw darlleniad tri chopi tra hen. "Yn foddion o ddychweliad y byd i ffafr Duw,"—Rhai. "Yn gyfnewidiad tuag at y byd," Ereill.

*Cymmod i'r byd*, nid yw gymmod personol yr enaid â Duw, ond cymmod goruchwyliaethol yn unig. Fel hyn y cafwyd ef oddiamgylch. Pan wrthodwyd hwynt fel cenedl am eu hanghrediniaeth, darfu hen elyniaeth oruchwyliaethol Duw at y Cenedloedd, a throes yn gymmod cyhoeddus, gan anfon y cenadau Iuddewig eu hunain drwy y byd i gyhoeddi hyny. Trwy Grist fel drws newydd, a ffordd fywiol a newydd, y cafwyd Duw i eistedd ar yr orsedd gymmodiawn hon. Gorsedd gras ei gelwir yn yr Epistol at yr Hebreaid. Iawn yw yn yr Epistol at y Rhufeiniaid. Y Cyfryngwr oedd yr orsedd hon erioed; ond yn awr yr eglurwyd hyny. Ni bu Duw erioed yn pallu cymmodi ar dir rhad ras y Ffydd ag un Cenedl-ddyn, mwy nag Iuddew; etto, cadwodd ei gymmod yn bwnc dirgelaidd iddo ei hun hyd yn awr. Felly, drwy Grist fel aberth y cafodd Duw y Ffydd fodd cyfiawn i gymmodi â phechaduriaid yn rhad; a thrwy Grist fel rhaglaw neu bentywysog cyfundrefn yr un Ffydd, y cafodd efe fodd i gyhoeddi ei barodrwydd—parodrwydd anfeidrol, bellach—i dderbyn y byd ger bron gorsedd y cymmod.

*Bywyd o feirw*, cyffelyb i adgyfodiad yr esgyrn sychion yn Ezeciel. Nid yw efe yn dweyd "*y* bywyd o feirw," onide, gallesid tybied ei fod yn cyfeirio at yr adgyfodiad cyffredinol. Math o ddiareb, yn ddiau, oedd yr ymadrodd, am gyfnewidiad a diwygiad anghyffredin.

16 Canys *os santaidd y blaenffrwyth, mae y clamp toes hefyd yn santaidd: ac os santaidd y gwreiddyn, y mae y canghenau hefyd felly.

17 †Ac os rhai o'r canghenau a dorwyd ymaith, a thydi yn olewwydden wyllt a impiwyd i mewn yn eu plith hwy, ac a'th wnaethpwyd yn gyfranog o'r gwreiddyn, ac o frasder yr olewwydden.

* "Blaenffrwyth y genedl oedd y patriarchiaid,"—Stuart. "Wrth santaidd y meddylir cyssegredig i Dduw,"—Yr un. Felly Walford, yr hwn a ddywed fod cyfammod Israel yn parhau hyd ddiwedd amser. Yr un modd Hodge. Gwel hefyd yr un gair yn yr un ystyr yn Mat. 4, 5; a 7, 6; Luc 2, 23; 1 Cor. 7, 14. Cawn yma y cedwir corff y genedl," medd Barnes. "Felly y bydd y canghenau hefyd, &c.,"—Conquest. "Y blaenffrwyth oedd yr Iuddewon Cristionogol," medd Locke, Wetstein, Schoettgen, Ammon, Carpzov, Bloomfield. Ymddengys mai i feintiau cyfammod Abraham, yr ystyria Barnes y Cenedloedd yn impiedig. I'r eglwys Iuddewig, medd Hodge, a Stuart, yr hon a ystyrir gan y berniad olaf yn sail i'r un Gristionogol. Dywed Davidson mai Cristionogion Iuddewig yr oes apostolaidd oedd y blaenffrwyth hwn.

Gorchymynir yn Num. 15, 20, i feibion Israel gymmeryd cyfran o'u clamp toes, a'i offrymu fel blaenffrwyth i Dduw. Wrth santaidd y rhaid ystyried, *derbyniol*, ac wrth ansantaidd, *ysgymunedig;* canys pe cyssegredig at wasanaeth Duw oedd y blaenaf, paham y caniateid y

elamp foes yn ymborth i'r teulu gan Moses? Felly, nid cyssegredig at wasanaeth Duw oedd santeiddrwydd y canghenau; onide, mae pob cenedl yn gyssegredig fel yr oedd cenedl Israel gynt, ac yn meddu Duw yn fath o frenin, a'u gwlad yn fath o Ganaan, &c. Pe felly, derbyniad yn ol i'r hen wlad, dan yr hen gyfammod, a'r hen wasanaeth, gaiff yr Israel rhagllaw; er galw o Paul y cwbl yn llesg, yn gnawdol, ac wedi diflanu.

Gan hyny, cyfundrefn y Ffydd, neu hen drefn Rhad ras [Gwel ar pen. 3, 25], oedd yr olewwydden, o'i hystyried yn ei pherthynas â'r dadguddiad o honi. Datguddiesid hi i'r Israel, canys prawf pen. 4 mai drwyddi hi y cyfiawnhesid Abraham a Dafydd. Ac os hwynthwy, felly pob un arall. Felly yr oedd Israel, drwy fod yn cael deall am dani, fel canghenau perthynol i'r pren; tra yr oedd y lleill, am eu bod heb wybod am dani, yn cael dim o nodd y pren, ac felly yn tyfu yn wyllt. Nid oedd gan y rhai, a geisient gyfiawnder, yn mysg y paganiaid, ond math o olewwydden wyllt—math o Ffydd wyllt, ddrwgrywiog. Pallodd y canghenau Iuddewig a dwyn ffrwyth priodol i hen olewwydden iachus y Ffydd, a phob canghen o'r fath a dorwyd ymaith gan y gwinllanydd. Ioan 15, 2, 3. Dyna oedd gwaith efengyl yn eu gadael, ac yn troi at y Cenedloedd. Os paid y Cenedloedd hwythau â dwyn y ffrwyth teilwng, torir hwynt ymaith, ac impir yr hen ganghenau yn ol yn eu lle hwynt. Eithr, os dwg yr *holl* ganghenau newyddion, cenedlig hyn, ffrwyth toreithiog, yna ail-impir yr Iuddewon yn y fan. Mwy o arwyddion sydd ar olygfa y canghenau cenedlig, dros y pymtheg can mlynedd diweddaf, o addfediad i'r cryman, nag i gydarosiad ffrwythlon â'r rhai Iuddewig; eithr ar olygfa prophwydoliaeth y bennod hon, rhaid cyfaddef (a phwy na wna hyny yn llawen a diolchgar?) fod arwyddion, braidd, mai fel arall y bydd. Ond, beth am y brophwydoliaeth hon—a yw hi yn perthyn i'r dosbarth ammodol, ai peidio? Ar hyny y gorphwysa sicrwydd am y ffaith. Beth am adn. 29?

OLEWWYDDEN WYLLT *(agrielaios)*. Mae barnau y dysgedigion yn amrywio, ynghylch y pren, yn gystal ag yn nghylch y gyffelybiaeth. Un anhawsdra a geir yn cyfodi oddiwrth fod yr un enw yn cael ei arferyd am wahanol blanigion. Rhedodd yr esbonwyr yn hir ar ol y dyb, mai yr *Oleaster of Paradise* sy'n tyfu yn Portugal, yw y pren hwn; ac ymddengys ei fod mewn rhai nodweddau yn tebygu i'r wir olewwydden; sef, yn ffurf ac ymddangosiad y dail, yn ffurf hirfain y ffrwyth, ynghyd ag yn y ffaith mai o'r cnewyll y gwesgir yr olew; eithr ni chytuna â'r testyn, canys nid oes un dull o impio a bâr i'r *Oleaster* hon ddwyn ffrwyth o fath yn y byd. Ar ol llawer o drafferth uwchben olewwydden wyllt Ethiopia, India, a Phersia, a'r *apricot*, yn nghyda rhai rhywiogaethau ereill o goed, cafwyd allan yn ddiweddar mai y tebycaf i gydrywio â chymhariaeth y testyn, yw Oleaster wyllt y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, canys dywed Pliny (*Nat. Hist.* xvii, 18) fod y gwinllanwyr yn impio yr un wyllt ar y llall *(Olea)*, ac yn cael ffrwyth dymunol y pren cynhenid ar y canghenau cyn-wylltion impiedig. Ymddengys fod Stuart yn ystyried y gwahaniaeth rhwng yr

impyn a'r pren, yn unig yn ffrwythlondeb a diffrwythder yr un rhywogaeth o goed.

*O'r gwreiddyn*, sef o hen gyfundrefn y Ffydd.

*O frasder yr olewwydden*, yw o freintiau a bendithion y Ffydd.

18 *Na orfoledda yn erbyn y canghenau. Ac os gorfoleddi, †nid tydi sydd yn dwyn y gwreiddyn, eithr y gwreiddyn dydi.

* "Nac ymffrostia uwchben y canghenau,"—Groeg. † "Nid tydi sydd yn cynal y gwreiddyn,"—Stuart. "Canys os gorfoleddi,"—Walford.

*Na orfoledda;* nid na orfoledda yn dy impiad a'th olewwydden; ond, yn erbyn, neu, yn hytrach, *yn nghylch* y canghenau gwrthodedig; hyny yw, nac ymffrostia mewn gwawd o honynt hwy, ond mewn tosturi atynt, ac ymgais am eu hadimpiad yn ol. Y Ffydd a'i graslonrwydd sydd yn dy gynnal di, ac nid tydi sydd yn wreiddyn iddi hi. Ni allaf fi ddeall pa "eglwys Iuddewig" a allai fod yn meddwl yr esbonwyr, i ba un y dywedent fod y Cenedloedd wedi eu dwyn i mewn; canys wrth olrhain pob peth *Iuddewig* a feddai y genedl, nid ydym yn cael un o honynt yn perthyn i Gristionogion yn awr.

19 Ti a ddywedi gan hyny, *Torwyd y canghenau ymaith, fel yr impid fi i mewn.

20 Da; trwy anghrediniaeth y torwyd hwynt ymaith, †a thithau sydd yn sefyll trwy ffydd. Na fydd uchelfryd, eithr ofna.

* Nid yw y fannod o flaen y gair *canghenau* yn y Testamentau Groeg diweddaraf, megys eiddo Griesbach, Scholz, a Knapp. † "Trwy dy ffyddlondeb,"—Barnes. "Crediniaeth,"—J. Williams. "A thithau sydd yn cael dy gynnal drwy ffydd,"—Walford. "Trwy grediniaeth yn Nghrist,"—Stuart.

Fel *(ina)*. Weithiau arferir y gair hwn yn *fel* o amcan, waith arall yn *fel* o ganlyniad. Yr olaf sydd gydfynedol â'r cyd-destynau, yn y lle hwn, er fod Winer, er gwaethaf Tittman, yn ceisio gwadu ei fodoliaeth yn yr iaith.

Trwy ffydd *(tê pistei)*, sef trwy y ffydd. Yma cyfyd gwrthddadl digon naturiol yn erbyn yr arferiad a wneir yn yr Esboniad hwn o ddeongli y gair ffydd yn *gyfundrefn rhad ras*, yn lle yn *grediniaeth*; a gofynir, ond odid,—"Onid yw yn anhebgorol i'r ymadrodd hwn gael ei gyfieithu,—Trwy anghrediniaeth y torwyd hwynt ymaith, a thithau sydd yn sefyll drwy grediniaeth?" Nac ydyw; oherwydd annogir ni gan y fannod, pe felly buasai ystyr y gair, i ddywedyd—"Trwy yr anghrediniaeth y torwyd hwynt ymaith, a thithau wyt yn sefyll trwy y grediniaeth." Wele felly anghrediniaeth a chrediniaeth neillduol. Yn awr, pa grediniaeth neillduol, ac ar wahan oddiwrth grediniaeth achubol, a geir yn epistolau Paul? Nid ydym yn cael yr un, a phe caffem hi, gorfyddid ni i sylfaenu parhad yr efengyl yn ein mysg ni, Genedloedd, arni; ac nid ar ras Duw, nac ar grediniaeth achubol dynion. Gan hyny *y Pistis* yn ein testyn, fel yn rhanau ereill yr epistol, yw cyfundrefn y Ffydd. Ond pa fodd yr oedd, ac y mae

Ffydd yn peri i'r Cenedloedd sefyll yn ffafr Duw? Pa fath air gwreiddiol sydd genym am y *trwy* hwn?

*Trwy y Ffydd; (The noun is in the Dative Case)*, yr hyn a arddengys mai amcan yr apostol oedd cyhoeddi, mai Ffydd oedd yr *achos* o fod y Cenedloedd yn sefyll yn ffafr Duw. Ond, pa beth a wneir o'r ymadrodd sy'n gosod anghrediniaeth yn gyferbyniol i ffydd? Yr atebiad a geir yn null yr apostol, o ddechreu yr epistol hwn yn mlaen, Nid yw efe ond profi fod rhywbeth drwy y gyfundrefn o Ffydd, ac yna casgla yn naturiol ei fod drwy y ddyledswydd o gredu. O'r ochr arall, pan brofa fod unrhyw fendith wedi deilliaw i un o'r hen saint drwy y ddyledswydd o gredu, casgla yn ddigwmpas ei bod drwy y gyfundrefn o Ffydd. Felly yma, nid oedd gofal arno, ond i brofi mai drwy drefn Ffydd yr oedd y gras hwn, ac yr oedd y rhinwedd o gredu yn gynnwysedig. o ganlyniad. Cyfeiria "*yr* anghrediniaeth" at yr anghrediniaeth hwnw o eiddo y genedl fel deiliaid cyfammod Jehofa, drwy yr hwn y pallasant wneuthur i'w Jehofa eu hunain mewn cnawd, bobl barod. Pe safasent hwy yn ffafr Duw, nid drwy gyfundrefn y Ffydd y buasai hyny, ond drwy ragorfraint addawedig y Ddeddf a i chyfammod. Safasent hwy felly o fewn y deyrnas hòno hyd ei diwedd, a cherddasent gyda'u brenin, yn ei ffurf newydd ef a'u ffurf newydd hwythau, i mewn i freintiau teyrnas nefoedd; a diau mai i brif swyddogion Jehofa dan ffurf Shecina, y cyfranesid prif swyddau yr un Jehofa yn ffurf Mab y dyn, oni buasai eu hanghrediniaeth yn eu prophwydi a'u cyfundrefn eu hunain. Pe gwrthodasai pob Iuddew ef, y Cenedloedd a gawsent y prif swyddau; ond gan i "bublicanod a phechaduriaid" y genedl gyfammodol gipio y breintiau, hwynthwy oedd yr etholedigion a'u cawsant—y gweddill yn ol etholedigaeth gras.

Hefyd, nid yw yn ymddangos fod sefyllfa y Cenedloedd yn ffafr Duw, yn ymddibynu ar grediniaeth rhyw bersonau neillduol; onide, yr ydym yn sicr o'i ffafr ef yn barhaus. Nid yw yn ymddibynu, ychwaith, ar grediniaeth yr holl genedloedd, canys o fewn y deunaw can mlynedd hyn o anghrediniaeth y mwyafrif, torasid ni ymaith yn ddiau. Ond, cawn olrhain etto i sail ein cymmeradwyaeth a'n harbediad hynod hwn. Yn unig sylwer, y rhaid i ni fynu gwybod, paham y mae'r Duw a wrthododd un ran o'r byd, am nad oedd dros un o bob ugain o honynt yn credu, yn gallu peidio gwrthod y ran arall, tra nad oes un o gant o honynt felly. Dylesid sylwi, fod y gair *estecas*, sefyll, yn yr amseriad a fu; eithr, gan na fedd y berwyddiad hon un ffurf am ddyn yn *presennol* sefyll, i Paul orfod arferyd y ffurf hwn yn yr ystyr presennol. Ystyrier mai gweithred o eiddo y Cenedloedd eu hunain, ac nid o eiddo y gyfundrefn, yw y *sefyll* hwn.

21 Canys onid arbedodd Duw y canghenau naturiol, *gwylia rhag nad arbedo dithau chwaith.

* "Nid arbeda efe dithau ychwaith," yw darlleniad tri o'r copïau henaf oll, heblaw llawer ereill, y Coptaeg, a beiblau Awstin a Rufinus. "Pa faint mwy nid arbeda, &c.," yw yr Arabaeg. "Nis gwn a arbeda efe di, ai peidio," yw yr Ethiopaeg. "Yna ofna rhag, &c,,"—Stuart. "Felly y mae i'w ofni nad arbedai efe dithau ychwaith," Winer, *Gram.* Gan fod y Testamentau Groeg diweddaraf yn darllen y ferf *arbedo*

yn y Modd Mynegol yn lle Modd Galluadwy yr hen ddarlleniad, mae eisieu dywedyd gyda Winer (Gram. § 60, 2), "Yr wyf yn ofni, ac yn tybied, fod ond odid nad arbeda efe dithau ychwaith." Yr awdurdodau dros y darlleniad newydd, ydynt bump o'r copïau henaf, ynghyd â lluaws ereill, a'r Goptaeg, Arabaeg, Ethiopaeg, Syriaeg, y Polyglott, a beiblau amryw o'r hen dadau Lladinaidd. "Ysgatfydd, nid erbyd, &c.," J. Williams.

RHAG NAD *(mê pôs oude)*. Mae yma eisieu ychydig eglurhad. Yr ystyr yw "felly (y mae lle i ofni) nad arbedo dithau ychwaith." Nid yw y *gwylia* yn y testyn gwreiddiol; etto, mae yr apostol yn meddalu yr ymadrodd *nid arbeda*, gan ddywedyd, fod *fe allai* yn bod, na thorir ymaith y Cenedloedd, dan drefn raslonach y Ffydd, er yr anghredin-iaeth a allent ddangos. "Os nad arbedodd Duw,—yr wyf yn ofni ac yn tybied, na bydd iddo, fe allai, dy arbed dithau."

22 Gwel gan hyny ddaioni a *thoster Duw, sef i'r rhai a gwympasant, toster; †eithr daioni i ti, os arosi yn ei ddaioni ef. Os amgen, torir dithau hefyd ymaith.

* "Nid oes un meddylddrych o greulonder yn y gair gwreiddiol am doster," medd Barnes. Rhuf. 3, 4; Tit. 3, 4. † "Os arosi mewn stad o ffafr,"—Tholuck. "Os arosi yn y stad y'th ddygwyd iddi gan ddaioni Duw,"—Beza, Vorstius. "Os cedwi atat ddaioni Duw, drwy ymddwyn yn deilwng o hono,"—Grotius, Whitby, Crellius. "Gwelir oddiyma nad yw Cristionogion mewn un sicrwydd dios o barhau mewn gras a ffafr Duw,"—Slade.

DAIONI *(chrestotes)*, *goodness, gentleness, kindness;* daioni, tynerwch, tiriondeb. Gwel ar pen. 2, 4.

TOSTER *(apotomia)*, toriad ymaith; ond yn allegawl, *cutting severity, sharpness, rigour.* Yma yn unig yr arferir y gair; ei ystyr yw llymdostedd, gerwindeb, llymder.

Cawn yma diriondeb, neu *gymmwynasgarwch* (yr un gair) Duw yn Nghrist Iesu (Eph. 2, 7), sef *daioni* (yr un gair etto) Duw ein Hachubwr tuag at ddyn yn gwneyd ei ymddangosiad (Titus 3, 4). Cawn yma hefyd lymder yr un Duw fel Jehofa, neu Dduw y Ddeddf. Megys nad allai Jehofa ddangos daioni Duw yn Nghrist, felly ni all Duw yn Nghrist ddangos llymder y Jehofa. "Gwnaf i'm daioni fyned heibio," ebe Dduw wrth Moses. Yn Nghrist y daioni hwn a arosodd; neu yn ol Tit. 2, 4, efe a ymddangosodd.

I TI OS *(epi se—ean, with Subj.) upon, over, towards;* ar, dros, tuag at. Yr ydym i sylwi, mai dull arall o ymadroddi a arferasai yr apostol, pe mynasai ddywedyd—"Nid wyf wrth ddweyd *os*, yn son dim pa un ai aros yn ei ddaioni ef, ai peidio a wnei" [*ei, with Indic. Pres.*]: neu, pe meddyliasai efe—"*Os arosi*—neu *ped arosit;* canys yr wyf yn ystyried fod mai aros a wnei yn beth posibl, neu debygol, a hyny yn unig" [*ei, with Opt.*]: neu, pe dywedasai—"*Ped arosit:* yr wyf yn cymmeryd dy arosiad yn ganiataol, er nad yw, ac nas dichon fod, felly." Eithr, gyda'r dull a ddewisodd efe o ymadroddi, mae ymddangosiad dyfodol yn y geiriau, sef—"*Os aros a wnei*—yr wyf yn cymeryd yn ganiataol mai hyny fydd, ac y mae yn hollol bosibl y peth; etto, mae pa un a fydd efe ai peidio, yn trwyadl ddibynu ar ffaith

arall ag sydd etto yn anhysbys, ac yn aros yn nghroth y dyfodol; Gwel Hermann *ad Vigerus, Note* 422.

YN EI DDAIONI EF *(Noun in the Dative)*; sef, os aros a wnei mewn cydgordiad â natur, neu ag egwyddorion, neu ag amgylchiadau, neu ag ammodau, y daioni goruchwyliaethol hwn o'i eiddo ef dan y Testament Newydd. Ceir yr unrhyw ffurf ymadrodd yn Act. 15, 1; a 7, 20; 2 Cor. 10, 7. "Os arosi yn y daioni," yw y testyn gwreiddiol.

OS AMGEN *(epei, with Subj.)*—"Os amgen y gwnei—os peidio aros yn gydgordiol â'i ddaioni ef a wnei di, yna gelli dithau hefyd gael dy dori ymaith." Mae ammheuaeth wan yn nghylch ffaith ein harosiad, ac ammheuaeth eilwaith, ond ei bod yn wanach, yn nghylch ein toriad ymaith os nad aroswn. Mae yn beth lled debygol mai aros a wnawn, ac y mae yn beth mwy tebygol, os nad aroswn, y cawn ein tori ymaith. Nid oes sicrwydd am y naill na'r llall, ond y mae yn anhawddach sicrhau y cyntaf na'r olaf: etto ar fethiant y peth tebygol blaenaf, y mae lle i'r olaf ddod i mewn, hyd yn nod yn ei debygoldeb.

*Torir dithau ymaith.* Mae yn deilwng o sylw, fod yr apostol yn son yn adn. 17, 19, 20, am doriad ymaith y canghenau Iuddewig, ond yn ein testyn am doriad ymaith y rhai Cenedlig. Hefyd, nid yw efe wedi arferyd yr un gair am y ddau doriad ymaith; canys ei air am yr Iuddewon yw *ecclaô*, eithr *eccoptô* am y Cenedloedd. Ystyr y tori Iuddewig yw tori *ymaith*, ond ystyr y llall yw tori *ymaith* ac *i lawr*. Nid yw y canghenau Iuddewig ond wedi eu tori ymaith, yn unig, heb gael eu bwrw i bant; tra rhaid deongli am y Cenedloedd, pa bryd bynag y torir hwynt ymaith, mai eu bwrw *i lawr*, i fysg y canghenau crinion, gwrthodedig, a gânt.

23 A hwythau, *onid arosant yn anghrediniaeth, a impir i mewn. Canys fe all Duw eu himpio hwy i mewn drachefn.

* 2 Cor. 3, 16. "Cyfeirir at yr hyn a ddichon, ac nid at yr hyn sydd yn sicr o, fod,"—Koppe, Carpzov. "Nid oes dim ond eu hanghrediniaeth yn attal Duw i'w himpio hwythau,"—Koppe, Whitby, Rosenmuller, Macknight, Jaspis.

Hyny yw, yn ol *ean with the Subjunctive;* sef y Modd Galluadwy, gydag *os*, yn ol y testyn gwreiddiol—"Mae yn bosibl, a hyd yn nod yn lled debygol, mai peidio aros o hyd mewn anghrediniaeth a wnant hwythau; a pha bryd bynag y credant eu prophwydi eu hunain am y Messia, sef Iesu o Nazareth, cânt eu gosod eilwaith yn nghanol breintiau y Ffydd, pa rai ydynt yn awr, ac a fyddant y pryd hyny, yn perthynu i gyfnod Ffydd *Crist*, ac nid i Ffydd *Duw* fel y cyfryw, megys cynt. Etto, yr un gyfundrefn sydd o hyd yn derbyn deiliaid, a'r un olewwydden sydd o hyd yn colli ac yn derbyn canghenau impiedig; canys nid yw Duw yn Nghrist yn fyr ei amynedd, ac yn tywallt barnau, fel yr oedd Duw y Ddeddf. *Yno* ni allasai, eithr *yma* efe a all yn ddiau, eu himpio hwynt yn ol, a'u derbyn i'w ffafr." Gwelwn nad oedd pechod yr Iuddewon yn ngwyneb cymmaint o oleuni, pan wrthodasant Grist, ag a fydd yr eiddom ni, os gwrthodwn ef; canys ni chwympodd y canghenau hyny mor isel, ag y cwympa y rhai Cen-

edlig, ar oruchwyliaeth y toriad ymaith. Adferadwy yw eu codwir hwy; anadferadwy fyddai yr eiddom ni.

24 *Canys os tydi a dorwyd ymaith o'r olewwydden yr hon oedd wyllt wrth naturiaeth, a'th impio yn erbyn naturiaeth i mewn gwir olewwydden; pa faint mwy y caiff y rhai hyn sydd wrth naturiaeth, eu himpio i mewn yn eu holewwydden eu hun?

* "Sicrha yr adnod hon ddychweliad yr Iuddewon," medd Stuart, a Walford. "Dengys ei fod yn debycach o fod, ar yr olwg allanol, nag ydoedd dychweliad y Cenedloedd,"—Hodge.

A oes yma sicrhad yr impir y canghenau Iuddewig etto? onid ar ammod eu crediniaeth y gadewir y ffaith i orphwys? ac os felly, a oes yma sicrhad mai credu a wnant? Oes, medd yr esbonwyr yn gyffredinol. Ond, gwell yw olrhain cyfansoddiad yr ymadrodd apostolaidd yma, cyn penderfynu. Ei air ef yw,

*Pa faint mwy—(posô mallon)*. Naw gwaith y cawn y frodd-eg hon yn y Testament Newydd; a chan mai arferiad yr ymadrodd yw y Geiriadur goreu bob amser, bydded felly i ninnau yn awr. Ein cwestiwn yw, A yw'r fath ymadrodd yn dibynu ar ammod; ac os yw, pa faint sydd o debygoliaeth am ei chyflawniad?

Mat. 7, 11—Wele *os*, a *pha faint mwy?* fel yn ein testyn. Mae yma sicrwydd cryfach y dyry ein Tad o'r nef bethau da i'r rhai a ofynant, nag sydd y dyry tadau dynol fara i'w plant. Etto, ar yr ammod o ofyn y dibyna y sicrwydd i gyd. Rhaid i'r gofyn fyned o flaen y derbyn. Felly Luc 11, 13.

Mat. 10, 25—Cawn yma fod mwy o reswm i ddysgwyl y gelwid y dysgyblion yn Beelzebub na'u hathraw: etto, gwyddom nad yn ol y tebygoldeb hwn y bu. Ymresymu yr oedd Crist, gan hyny, ac nid sicrhau dygwyddiad y ffaith.

Luc 12, 24—Cawn yma *pa faint mwy* heb yr *os* yn flaenorol. Yr annogiad oedd yn erbyn rhagofal yn mynwesau y deuddeg, tra ar eu taith drwy Galilea, i bregethu nesâd y deyrnas. Nid rhagori ar y brain mewn gwerth fel creaduriaid Duw, a feddylir, canys y mae pob dyn sydd yn cael ei adael i farw o newyn yn rhagori felly. Yr ymresymiad yw—"Pa faint mwy yr ydych chwi yn peidio rhagofalu, na'r brain? canys yr ydych chwi, o'r ochr arall, yn ymddiried yn Nuw." Gan hyny, os na byddent yn rhagori yn y teimlad hwn, ni ellid cymhwyso y *pa faint mwy* atynt. Felly adn. 28. Eglur yw fod y *pa faint mwy* yn seiliedig ar eu cyflawniad o'r hyn a orchymynir yn adnodau 29, 31, 32, 33.

Philem. 16—*Pa faint mwy* heb yr *os*. Dibyna yr oll ar yr *ysgatfydd*, a'r *fel y derbynit*, yn yr adnod flaenorol.

Heb. 9, 14—*Os* oedd gwaed teirw, &c., *pa faint mwy* y bydd i waed Crist buro, &c. Mae yn hysbys nad oedd Paul yn sicrhau puredigaeth eu cydwybodau hwynt—yr holl Hebreaid proffesol hyn, yn ddiammodol. Yr oedd yr ammodau mor hysbys am gymhwysiad gwaed teirw, ynghyd ag am waed Crist, fel nad oedd raid eu nodi mewn cyssylltiad â'r fendith bob amser yr enwid hi.

Rhuf. 11, 12—*Os* oedd eu camwedd a'u lleihad, &c., *pa faint mwy* eu cyflawnder? Gan nad dweyd y mae efe y bydd cyflawnder iddynt, ond cyfeirio at y cyflawnder fel peth yn cael ei adeiladu ar yr hyn a geir mewn adnodau ereill, nid yw'r ymadrodd yn y testyn hwn yn penderfynu ystyr yr ymadrodd yn yr adnod mewn dadl.

Gwelir bellach nad yw yr apostol yn ein testyn yn sicrhau impiad y canghenau Iuddewig yn ddiammodol. Mae yr ymadrodd a ddewisodd efe yn arferedig yn y Testament Newydd, yn unig, pan fyddo y weithred sy'n ei ddilyn yn dibynu ar ryw ammod adnabyddus neu egluriadol. Esbonir yn adn. 28 pa beth a feddylir wrth *naturiol* yn ein testyn.

*Eu holewwydden eu hun*, a gyfeiria at hen sefyllfa y genedl dan foddion y Ffydd, a than enwaediad, insel cyfiawnder y gyfundrefn rasol hòno. Pa un a fyddant yn coleddu yr insel hwnw, ynte bedydd, insel cyfnod Cristionogaeth, sydd bwnc i'w olrhain. Gwyddis mai condemnio enwaedu ar y Cenedloedd, ac nid ar yr Iuddewon, yr oedd yr apostolion. Eithr, dichon iddynt ddal at insel cyfiawnhad dan gyfnod cyntaf y Ffydd, ac ymuno â ni, Genedloedd, dan insel cyfiawnhad y cyfnod presennol, hefyd. Gwyddom mai felly y gwnelai yr Iuddewon ol-bentecostaidd—blaenffrwyth y cyflawnder dysgwyliedig; etto, yr ydym yn cofio ar yr un pryd, fod y deml a chelfi y cyfammod Moesenaidd yn sefyll y pryd hwnw; ac y mae yn deilwng o ystyriaeth drwy y cwbl eilwaith, mai insel o gyfiawnder rhad cyfundrefn y Ffydd, ac nid o gyfiawnderau cnawdol cyfundrefn y Ddeddf, oedd yr enwaediad. Uwchben y cwbl, nid oes genyf fi i'w ddywedyd ddim yn rhagor, oddieithr fy mod yn penderfynu cipio y cyfleusdra cyntaf, i olrhain yr holl gymmysgedd a wnaed gan ein duwinyddion, o enwaediad, bedydd, cyfammodau Abraham a Sina, cyfiawnhad Abraham gynt, a ninnau yn awr, a thynghedfen yr hen genedl yn eu canol oll, gan geisio gwrando yn unig ar y Beibl pur, os gellir cael clust a wrendy arnaf finnau eilwaith.

25 Canys ni ewyllysiwn, frodyr, eich bod heb wybod y dirgelwch hwn (fel na byddoch ddoethion yn eich golwg eich hun), *ddyfod dallineb o ran i Israel, hyd oni ddel †cyflawnder y Cenedloedd i mewn.

* 2 Cor. 3, 14. † "Lluaws mawr o'r Cenedloedd,"—Barnes, Hodge, Stuart. "Y nifer a fwriada Duw gasglu allan o'r Cenedloedd,"—Walford. "Ei ystyr yw y Cenedloedd bob un,"—Reiche. "Sicrheir yn awr y daw cyflawnder y Cenedloedd a'r Iuddewon i mewn,"—Koppe, Dr. Campbell. "I mewn i'r eglwys Gristionogol,"—Beza, Piscator, Paraeus, Grotius, Koppe.

DIRGELWCH *(musterion)*. Cyfeiria y gair yn gyffredin at athrawiaethau a fuont yn guddiedig, ond a ddadguddiwyd dan yr efengyl. Gwel ar Mat. 13, 11.

O RAN *(apo merous)*. Cawn yr un ymadrodd yn 2 Cor 1, 14, a 2, 5; Rhuf. 15, 15, 24, oddiwrth ba rai y dysgwn mai ar ran yn unig o'r genedl y syrthiodd y dallineb hwn; ac nad yw yr apostol yn dweyd mai y *dallineb* oedd o ran. Prawf adn. 1—5 fod cyfran o'r genedl yn yr oes hòno yn credu.

Hyd oni *(achris ou, with the Subjunctive)*. Cyfansoddwyd yr ymadrodd i fod yn brophwydoliaeth ammheus, canys mae y ferf *dyfod i mewn (eiselthē)* yn y Modd Galluadwy. Mae cyflawnder y Cenedloedd i ddod, nid *cyn*, ond *pan* ddarffo dallineb yr Israel, sef dallineb barnol goruchwyliaeth Jehofa, dan ba un y mynant aros. Ni roddes Duw y Ffydd un dallineb arnynt hwy, na neb arall erioed.

Cyflawnder *(plērōma)*, *full measure, abundance*; mesur llawn, digonedd. Hefyd, *full number, complement, multitude*; llawn rifedi, lluaws. Eithr, nid wyf yn cael y gair yn sicr ddwyn yr ystyr olaf, yn y Testament Newydd. Ammheus yw Eph. 1, 23. Arferir yn Herodotus, Xenophon, Lucian, a Groegwyr ereill, am gyflawn rifedi o ddwylaw ar long *(crew)*. Os am bersonau yr arferir y gair, nid wyf fi yn gallu gydredeg â Stuart i osod arno yr ystyr o *luaws* yn unig, oddieithr fod rhyw un o'r ysgrifenwyr santaidd wedi ei arferyd felly. Gall yr ystyr fod yn llawn fesur, neu lawn rifedi. Eithr gwel y Traeth. ar *Ddychweliad yr Iuddewon.*

26 *Ac felly, holl Israel a fydd cadwedig; fel y mae yn ysgrifenedig, Y Gwaredwr a ddaw allan o Seion, ac a dry ymaith annuwioldeb oddiwrth Jacob.

* "A chwedi hyny," medd yr Armenaeg. Tybia Walford fod pob Israeliad i gael ei gadw, o wyr yr oes dan sylw; ond Barnes a Stuart mai corff y genedl sydd mewn golwg. Esay 59, 20. "A fydd broffeswyr,"—Locke, Macknight. "A osodir ar ffordd cadwedigaeth,"—Bloomfield. "Cyflawnwyd hyn oll dan weinidogaeth Paul ei hun,"—Grotius, Hammond, Wetstein. Eithr anghofiodd yr esbonwyr dysgedig hyn, fod yr epistol hwn wedi ei ysgrifenu ar ol y rhan fwyaf o lwyddiant pregethawl yr awdwr. "Cyfeirir at yr Israel ysbrydol yn unig,"—Lightfoot.

Felly *(outō)*. Nid yw efe yn dywedyd *gan hyny*, ond *felly, yn y modd yma.* A gedwir holl Israel? Gwneir, yn y modd yma. Pa fodd yw hwnw? Trwy ddod o gyflawnder y Cenedloedd i mewn, yr hyn sy'n cael son am dano fel peth galluadwy (Gwel ar adn. 25), a thra thebygol (Gwel ar adn. 22). Eithr, oni ddaw y cyflawnder hwn, a'rammodau ereill fu dan ein sylw ar yr adnodau blaenorol, i ben, ni ddaw y felly yn ein testyn ychwaith, na'r cadwedigaeth sy'n seiliedig arno. Eithr, gwel y Traeth. ar *Ddychweliad yr Iuddewon.*

*Efe a dry ymaith.* Ar ammod yr oedd y brophwydoliaeth hon hefyd, canys pan ddaeth y Gwaredwr allan, ni fynai Jacob eu troi oddiwrth eu hannuwioldeb, ond gwyddys mai yn nglyn wrtho y daliwyd hwynt gan y farn. Dyfynwyd o Esay 59, 20: a cheir y prophwyd yn cyhoeddi y fendith yn nglyn wrth ei hammod, gan ddywedyd—"Gwaredwr i Seion a ddaw, ac i'r rhai a droant oddiwrth annuwioldeb yn Jacob."

27 *A hyn yw yr ammod sydd iddynt genyf fi, pan gymmerwyf ymaith eu pechodau hwynt.

* Esay 59, 21; Jer. 31, 33, 34, a 27, 9. "Nid yw y prophwydoliaethau hyn yn addaw ymddangosiad personol Crist, na dychweliad yr Iuddewon i'w gwlad," medd Barnes. "Pan gymmerwyf ymaith gosp eu pechodau hwynt,"—Conquest. "Pan gospaf hwynt,"—Hodge. "Cymmeryd ymaith eu pechodau hwynt drwy ddiwyg-

iad,'' medd rhai. "Pwrcasu maddeuant eu pechodau, fel y caflo hawl i'w symud ymaith, o ran eu heuogrwydd,'' medd ereill.

Yr ammod, neu yn hytrach cyfammod.

CYMMERYD YMAITH *(aphaireô)*. Arferir yn unig am symud ymaith euogrwydd pechodau a dynasent farn ar Israel. Geiriau ereill sydd am faddeu i ni dan y Testament Newydd. "Anmhosibl i waed teirw a geifr *symud ymaith* bechodau barnol," Heb. 10, 4. Felly Exod. 34, 7, 9; Lef. 10, 17; Esay 27, 9; Zech. 3, 4, cyfieithiad Groeg pa fanau a brawf fod y Deg-a-thriugain yn deall y gair mewn ystyr cyffelyb i'r apostolion.

GENYF FI *(par' emou)*. Ymddengys oddiwrth Winer (Gram. § 30, *Note* 5, a Passow, *in loc)* fod yma ystyr fwy cwmpasog nag a ystyrid gan yr hen Rammadegwyr yn y fath ymadrodd. "Hwn yw y cyfammod sydd iddynt oddiwrthyf fi, ac nid oddiwrth eu cyfundrefn Foesenaidd hwynt, yr hon a fu gynt genyf iddynt. Mae cyfammod newydd i ddeilliaw oddiwrthyf fi *(par' emou)*, pan symudwyf ymaith yr hyn, o ran ei gosp farnol, a elwir eu 'pechodau hwynt.' Nid yw efe wedi dod iddynt hyd yma, er ei fod wedi cyrhaedd y Cenedloedd eisoes."

Ond, dylid talu sylw manylach i'r dyfyniad hwn, yn ei berthynas â'r hyn a ddywedasid gan y prophwyd. Tybia Stuart mai allan o Jer. 31, 33, 34 (yr ymadrodd a ddyfynir yn ei helaethder yn Heb. 8, 8—12) y cafwyd y geiriau. Felly Robinson o Andover, yr hwn a ddywed fod Heb. 10, 16 hefyd yn ddyfyniad o'r un lle. Gwel ar y gair *Cyfammod* ar Mat. 26, 27. Dywedaf yn awr, er cymmaint yr anhawsdra i esbonio a chyssoni Jeremi a Phaul, yn y fan hon, mai cyfnod y Cenedloedd o gyfundrefn y Ffydd, sydd wedi esgor ar y cyfammod newydd hwn i Israel; ac mai o'r un gyfundrefn yr esgorir ar y symudiad ymaith o farn eu hen gyfundrefn Foesenaidd hwynt, dan ba un y dewisasant, ac y dewisant, lechu, hyd nes gwawria cyfnod ammodol y *pan* bendithfawr sy'n ein testyn arnynt.

28 Felly o ran yr efengyl, *gelynion ydynt o'ch plegid chwi: eithr o ran yr etholedigion, caredigion ydynt, oblegid y tadau.

* "Gelynion i ni a'r efengyl,"—Luther, Baumgarten, Fritzche, Grotius, Cameron, Theodoret. "Gelynion Duw,"—Stuart, Walford, Barnes. "Cas ydynt,'' medd rhai. "Gwrthodedig," medd ereill. "Er mwyn eich lleshad chwi,"—Locke, Koppe. "Y maent, yn wir, yn elynion, ond gelynion er eich mwyn chwi ydynt,"—Bloomfield.

Mae yma ddwy drefn—yr efengyl a'r etholedigaeth; a dau achlysur neu achos—y Cenedloedd, a phatriarchiaid y genedl Iuddewig; a dau gyflwr, yn cyfodi o'r ddwy drefn, ac yn disgyn drwy y ddau gyfryngol achosion—bod yn elynion, a bod yn anwyliaid.

*Yn gyntaf*, y ddwy drefn, sef yr Efengyl a'r Etholedigaeth: ac yn flaenaf o'r ddwy, yr efengyl, ac *o ran yr efengyl (katta with acc.)* ystyr yr hyn yw— o ran dull eu perthynas hwy a'r efengyl. Nid yw yr amser ar ba un y maent felly, ar lawr. Wrth yr Efengyl y meddylir y pregethiad o athrawiaeth Rhad ras. yn ei pherthynas â'r Cenedloedd, ar ol y Pentecost. Gwyddis mai yn nghorff y deg mlynedd ol-bente-

costaidd, pan oedd yr efengyl heb gael ei chynnyg i'r Cenedloedd, y cofleidiwyd hi gan y miloedd Iuddewon a geid yn yr eglwysi cyntefig. Yr awdurdodau Iuddewig oedd, gan mwyaf, yn ei gwrthwynebu ar y dechreu, tra'r oedd y werin yn ei derbyn; ond, pan aethpwyd i dy Cornelius, a chwedi hyny ar led y byd; ac yn enwedig, pan aeth Paul i fewn i drysorau efengyl, gan eu chwalu yr unwedd i'r naill a'r llall, cyfododd holl werin y synagogau yn ei erbyn, a chafodd yntau wybod fod athrawiaeth "cymmodi'r byd," a "marwolaeth Crist dros bawb," yn dramgwydd i'r holl genedl o faes, ac i gyfran nid bechan o fewn, i'r eglwysi. Glynasant wrth Moses yn ei wisgoedd anghymhwys Phariseaidd, a gorfu ar eu Duw cyfammodol eu hunain ollwng arnynt ei brif farn o ddallineb a dinystr. [Gwel y *Traeth.* ar hyn.] Ac yn *olaf*, yr etholedigaeth, ac *o ran yr etholedigaeth*. Ond, pa etholedigaeth yw hi? Cawn yr ateb yn pen. 9, 11, lle mae yr un etholedigaeth yn yr un berthynas *(kat' eglogen)* ag yn ein testyn. Yma, yr ystyr yw—"O ran dull perthynas yr Iuddewon â'r etholedigaeth, anwyliaid, &c.' Yr un etholedigaeth a'u dewisodd hwynt fel cenedl i'r breintiau a fwynhaent, ag a ddewisodd Jacob eu tad o flaen Esau ei frawd. Etholedigaeth rasol yr Elshadai, Duw Abraham, oedd hon. Gwel ar pen. 9, 11.

*Yn ail*, y ddau gyflwr, Gelynion, sef rhai yn casâu Crist, a Duw drwyddo; felly yr Iuddewon yn awr. Anwyliaid, sef rhai yn caru Duw yn y Shecina; felly yr Iuddewon gynt. Ac nid yw y ferf *ydynt* yn y testyn gwreiddiol, yr hyn sy'n ein gadael yn rhydd i chwilio pa bryd yr oeddynt yn anwyliaid, a pha bryd yn elynion.

*Yn drydydd*, Cyfryngau cyfranogiad y genedl o'r cyflyrau hollol wahanol hyn. O achos *(dia, with acc.)*. *Anwyliaid* o Dduw, a chan Dduw, fuont yn hir, oherwydd i Dduw "garu eu tadau; am hyny y dewisodd efe eu had hwynt ar eu hol" (Deut. 4, 37). Eithr nid yw efe yn dywedyd eu bod yn anwyliaid mwy, ond *gelynion* yn hytrach. Pan ddaeth teyrnas nefoedd, ni thyciai glynu wrth y berthynas Foesenaidd â Duw. Drwy Grist yr oedd raid bod yn anwyliaid, o hyny allan. Gwrthodai yr Amaleciaid, a'r Cenedloedd cylchynol ereill, berthynu i Dduw fel Jehofa, ac am hyny cyfrifid hwynt yn elynion i Dduw yn y cyfryw gymmeriad. Gwrthododd cenedl Israel fod yn berthynasau â Duw yn Nghrist, ac am hyny cyfrifir hwynt yn elynion Duw yn y cyfryw gymmeriad. Buont fel gwerin o bobl, yn derbyn Duw yn Nghrist, yn lled gyffredin, hyd nes gwelsant Grist yn gosod y Cenedloedd ar yr un tir a hwythau; yna digiasant a thramgwyddasant, a throisant yn brif elynion efengyl. Felly *o achos* y Cenedloedd yr aethant i'r cyflwr truenus hwn. Byddai tybied mai o achos y tadau y gall neb fod yn etholedig i fywyd tragwyddol, yn gofyn golygiadau hollol wahanol ar drefn Gras i'r eiddof fi; etto, ceisio ei chwmpasu hi i'r man yna mae Stuart, ac amryw ereill, fel efe. Tholuck sydd wahanol.

29 *Canys diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw.

* Num. 23, 19. "Yr un peth yw galwedigaeth yma ac etholedigaeth,"—Hodge. "Canys anghyfnewidiadwy," — Walford. "Cyfeiria yma at alwedigaeth allanol y

Iuddewon," medd Tholuck. "Nage, at alwedigaeth effeithiol pechaduriaid dan y gair,"—Stuart.

Cawn yma ddoniau a galwedigaeth o eiddo Duw, yn amlygedig o'r blaen, ac yn cynnwys y gwirioneddau a nodwyd yn y pedair adnod ddiweddaf, ac am ba rai y tystia ein hapostol eu bod yn bethau diedifarus. Beth yw y doniau hyn? Y gair yw *charisma*, am yr hwn gwel ar pen. 1, 11. "Felly mae y dawn," pen. 5, 15—"y dawn sydd i gyfiawnhad," adn. 16—"dawn Duw yw bywyd tragwyddol," 6, 23. Dyna ddawn fawr neu *charisma* iachawdwriaeth Crist. Dawn neu *charisma* arall a geir yn 2 Cor. 1, 11, sef gwaredigaeth o berygl; doniau ereill oedd y rhai oedd yn wyrthiol, pa rai a gyfrenid drwy arddodiad dwylaw.

GALWEDIGAETH *(klêsis)* i deyrnas nefoedd a'i bendithion; sef galwedigaeth lwyddiannus ac effeithiol. Ceir hefyd yr un gair yn Eph. 4, 1; Phil. 3, 14; 2 Thes. 1, 11; 2 Tim. 1, 9; Heb. 3, 1; 2 Pedr 1, 10; Eph. 1, 18, a 4. 4.

DIEDIFARUS *(ametamelêta)*, anghyfnewidiadwy, sicr, a dios. "Er diedifarus edifeirwch," 2 Cor. 7, 10. Diau fod Duw fel Elohim Adonai, fel Elshadai, ac fel Jehofa, yn edifarhau yn fynych am ei fygythion, megys y gwelir yn yr Hen Destament. Ond, a oedd ei ddoniau ef dan y cymmeriadau *yna* felly, ai peidio, nid wyf wedi cael hamdden i olrhain; eithr dan y Testament Newydd, amlwg eu bod fel arall, ynghyd â'i alwedigaeth ef hefyd. Ond, ai perthynol i'r oruchwyliaeth olaf hon yr ystyrir dawn adn. 26, 27?

30 Canys *megys y buoch chwithau gynt yn anufydd i Dduw, eithr yr awrhon a gawsoch drugaredd drwy anufydd-dod y rhai hyn.

31 Felly hwythau hefyd †yr awrhon a anufyddhasant, fel y caent hwythau drugaredd trwy eich trugaredd chwi.

* Eph. 2, 2; Col. 3, 7. † Dywed Winer a De Wette fod yr anufydd-dod hwn yn gysylltiedig â chynllun Duw i gyfranu iddynt ei drugaredd; ond, er anhawdded yw meddwl am anghydweled â beirniaid o'r fath bwysau, felly yr wyf yn gorfod gwneyd. Gwel yr *Esboniad*.

CANYS MEGYS *(hosper gar)*, yr hyn a geir yn adn. 30, FELLY HEFYD *(outo kai)*, yr hyn a geir yn adn. 31. Dengys y *canys* yn mhellach fod y testyn yn eglurhad ar yr ymadrodd blaenorol.

ANUFYDD *(apeitheô)*, *not to suffer one's self to be persuaded, to refuse belief, to be disobedient*; sef peidio cymmeryd eu perswadio, gwrthod credu, anufyddhau. Dengys pen. 2, fod manteision gan y Cenedloedd i gyrhaedd cryn adnabyddiaeth o Dduw. Yr oedd ei dragwyddol allu ef yn eu parhaus berswadio, ond ni oddefent eu hennill. Gwrthod credu yn *Nuw* oedd y pryd hyny, yn awr anghredu yn *Nghrist* yw y pechod. Arferir y gair am anghredu i *Dduw*, hefyd yn Heb. 3, 18; 2 Pedr 3, 20; Rhuf. 10, 21; Deut. 9, 7; Esay 50, 5, a 63, 10. Ceir ef am anghredu hefyd i Grist, i'r Mab, i'r gwirionedd, i'r gair, i'r efengyl, &c.

TRWY, *(Dative of cause or occasion)* hyny yw, "Cyfyngiad y drugaredd i chwi a achoswyd gan wrthodiad y rhai hyn i gymmeryd eu perswadio." Ni chynnygiwyd y drugaredd hon i'r Cenedloedd oherwydd fod yr Iuddewon wedi ei wrthod yn gyntaf, canys dengys yr hanes mai ar old erbyniad y Cenedloedd i mewn y sorodd yr Iuddewon yn unfrydol. *Yn awr*, oddeutu cyfnod ysgrifeniad yr epistol hwn, ac ychydig cyn a chwedi, yr oedd y genedl yn ymgilio ac yn addfedu i farn,—yn pechu yn erbyn yr Ysbryd Glân.

"Felly hwythau hefyd yn awr a beidiasant gredu i'ch (neu mewn perthynas i'ch) trugaredd chwi, fel y buasai iddynt hwythau hefyd gael trugaredd." Er nad oes un deonglydd wedi cyfieithu yr adnod fel hyn, ceir gweled, debygwyf, mai dyma yr ystyr, pan ystyrir yr hyn a ganlyn.

FEL Y CAENT DRUGAREDD *(hina eleêthôsi)*. Gwelir fod y gair yn yr amser gorphenol o'r Modd Galluadwy *(1st. Aorist Subj. passive)*. Cyfeiria y hen gyfieithiad at gaffaeliad y drugaredd gan yr Iuddewon, yn yr amser dyfodol; eithr pa degwch oedd mewn troi "fel y buasai" o eiddo Paul, yn "fel y byddo," i brofi dychweliad *sicr* i'r genedl? Diau nad yw yr hen ysgrifenwyr Groegaidd *(Classics)* yn arfer yr amser dyfodol yn y Modd hwn, etto mae y Testament Newydd yn arferyd y cyfryw amseriad ynddo, ar droion, er nad yn aml. Eithr arferir yr amseriad hwn *(Aorist)* yn aml am yr amser Rhagfynedol *(Pluperperfect)* fel y cyfieithir yn yr esboniad hwn; ond nid wyf fi yn gallu cydweled â Stuart, fod iddo yr ystyr dyfodol yn y naill na'r llall o'r ddau destyn sy'n ei olwg ef. Dengys gosodiad y gair "caent drugaredd" yn y Modd sydd yn ein testyn, fod y caffaeliad yn unig yn bosibl, gyda chyfeiriad ar ei ammod neu ei amgylchiadau; a dengys ei osodiad yn yr amseriad a arferwyd, mai posibilrwydd wedi bod, a chwedi myned heibio, ydyw.

32 Canys *Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufydd-dod, fel y trugarhäai wrth bawb.

* "Duw a gauodd bawb oll mewn, &c.," yw darlleniad y Vulgate, a'r Tadau Lladin yn gyffredinol. "Duw a roddodd bawb oll i fyny i, &c.,"—Stuart, Walford, Hodge, Barnes, er nad oes i'r gair yr ystyr o oddef iddynt gyd-gau eu hunain, yn un man: er enghraifft—Luc 5, 6; Exod. 14, 3; Gal. 3, 22, 23; Salm 31, 9, a 78, 50; Jos. 20, 5. "A'u profodd hwynt oll yn euog o bechod, drwy ei ddeddf,"—Chrysostom, Photius, Glassius, Teger, Paraeus, Carpzov, Wetstein. "Duw a ganiataodd iddynt aros yn ufydd i bechod,"—Crellius.

CAUODD *(sunecleise)*, *to shut up together*, *to enclose together*; sef cyd-gau, cyd-amgau; ond yn allegawl, traddodi gyda'u gilydd. "Cydgauodd yr ysgrythyr bob peth dan bechod."—"Wedi ein cyd-gau i'r ffydd." Gal. 3, 22, 23. Felly cyd-gauasai Jehofa yr holl genedl i gyfundrefn y Ffydd, yr hon oedd i'w dadguddio, gan amcanu eu trosglwyddo gyda'u gilydd i'r gyfundrefn hono; hwythau, pan welsant Dduw yn dangos arwyddion o osod Crist yn ddrws, i'r Cenedloedd ymwthio drwyddo i mewn hefyd, a gauasant yn eu herbyn. Nid oedd dim i'w wneyd ond naill ai eu bwrw hwynt allan, neu gadw y Cenedl-

oedd allan; a dewisodd Duw y Ffydd y blaenaf. Ciliodd y genedl yn ol at Foeseniaeth; a chan eu bod wedi eu cydgau eisoes i'r Ffydd, o fewn y cyd-gauad eu gadawwyd. Yno yr oedd barn drom y Ddeddf i ddisgyn; etto, dani yr arosasant. Y farn oedd dallineb a byddardod meddwl, yn ol adn. 8—10; ac nid anghrediniaeth. Nid *dan*, ond *i (eis)*, anghrediniaeth, y cydgauodd Duw hwynt. Arferir y darddodiad hwn gyda pherwyddiad o fynediad; eithr gan mai berf o orphwysiad neu arosiad mewn ystad sydd yma, dywed y Grammadegwyr am y cyfryw arferiad, fod mewn golwg gan yr ysgrifenydd, ddyfodfa i'r cyfryw ystad. Am hyny, yr Iuddewon eu hunain a aethant i'r sefyllfa hon, a chydgauodd Duw hwynt ynddi. Y ffordd sydd ganddo yw drwy eu dallu, &c., fel na welont eu perygl, na'r ffordd o ddiangfa; ac nid drwy eu llenwi o anghrediniaeth. A sylwer, mai fel Duw eu cyfammod eu hunain yn unig y gall efe wneyd hyn, dan ba gyfammod y mynant eu cyd-gau. Dan hwnw, eilwaith, nid oes na braint na bendith, na dim, bellach, ond y farn hon; ac y maent hwythau yn cael yr hyn y mae efe yn ei gynnwys. Pan gyfododd Haul cyfundrefn y Ffydd, nesaodd Moeseniaeth i awyrgylch y nos, a dewisasant hwythau fod yn y nos hòno eu hunain, yn hytrach na chyfranogi o'r dydd gyd a'r holl Genedloedd. Ac felly, yn gynt na pheidio trugarhau wrth bawb, gwnaeth Duw fel hyn gyda hwynt, fel y gallai drugarhau wrth y lleill.

Gan fod y gair Groeg *pawb (pas)* yn cael cyfyngu neu helaethu ei ystyr, yn ol y byddo efe yn y Rhif lliosog neu yr unigol, ac yn ol y byddo y fannod o'i flaen, ei ystyr yma yw:—"Cyd-gauodd Duw y naill bawb —, fel y gallai drugarhau wrth y pawb arall,"

33 *O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd, mor anolrheiniadwy ydynt!

* "Golud a doethineb, &c.," yw y Groeg. Gadawodd ein cyfieithwyr ni allan yr *a*, gan ddilyn un hen gopi Groeg, gyda'r Vulgate, Ethiopaeg, a'r tadau Lladinaidd. "Wrth *olud* y meddylir cyflawnder,"—Stuart. "Mae y geiriau hyn yn hollol groesi arfaeth bendant a diammodol Awstin," medd Tholuck; eithr dywed Stuart nad oedd Awstin na Chalfin yn dal athrawiaeth tynghedfen bendant. "Cyfeirir at ddoethineb cyfundrefn Duw gyda golwg ar iachawdwriaeth cenedloedd cyfaon,"—Hardy. "Wrth *farnau* y meddylir llywodraeth Rhagluniaeth Duw; ac wrth *ffyrdd* y modd o'u dwyn hwynt i weithrediad," medd Grotius.

DYFNDER *(bathos)*. Arferir am ddyfnder y môr, am fawredd. cyflawnder, Diar. 18, 3; am amcanion annatguddiedig Duw, 1 Cor. 2, 10. neu Satan, Dat. 2, 24. Cymharer Preg. 7, 24; Salm 92, 5; Dan. 2, 22.

GOLUD *(ploutos)*. Arferir am roddion a bendithion goludog Duw a Christ, Phil. 4. 19; Eph. 3, 1; Heb. 11, 26; Rhuf. 9, 23; Eph. 1, 10; a 3, 16; Col. 1, 27. Cawn yma pump testyn syndod:

1. Dyfnder gwybodaeth Duw, yn adnabod pa effaith ar y paganiaid a gaffai deddf natur i ddechreu, a'r efengyl ar ol hyny; ac yn gweled yn mlaen pa fodd yr ymddygai yr Iuddewon yn ngwyneb Moeseniaeth yn Nghanaan, ac o dan faich ofergoeledd Phariseaeth yn ngwyneb y

Messia; ac yn ngwyneb goruchwyliaeth yr Ysbryd ar ol hyny; ac yn ngwyneb cyflawnder y cenedloed yn y diwedd. Mae dyfnderoedd gwybodaeth Duw, cyn belled ag y dadguddiwyd ar ein byd bach ni, yn ymagor yn y dadguddiadau hyn.

2. Dyfnder doethineb Duw. Wrth edrych ar ymddygiadau paganiaid, ac Iuddewon, a Christionogion, yn ngwyneb pob un o'r goruchwyliaethau a nodwyd tuag atynt; os mynai Duw eu hachub, yr oedd ganddo, heblaw ei holl drefniadau gogyfer â'i briodoliaethau ei hun, drefniadau gogyfer â rhyddid, cyfrïfoldeb, ac ennilliad y gwrthddrychau. Felly, nid oedd gwybodaeth yn unig yn ddigonol, heb ddoethineb i drefnu y peiriant, ac amgylchiadau ei ymosodiad ar ei orchwylion, yn y modd goreu at gyrhaedd y ddau amcan, o lesâd llaweroedd, a gogoniant Duw, ffynnon fawr y cwbl. Dyfnder doethineb, a mawr amryw ddoethineb, Duw yw hyn.

3. Dyfnder golud, neu roddion a bendithion Duw. Ffynnon ddofn, yn tarddu yn ddiysbydd, yw hon. Cyn y mesurir yr holl olud hwn, rhaid casglu ynghyd holl ddaioni deddf natur, enwaediad, Moeseniaeth, ac efengyl, ynghyd. Rhaid etto ystyried mor anhaeddiannol oedd pob cenedl ac oes, pan eu cynnysgaethwyd â'r naill a'r llall o'r rhagorfreintiau hyn, cyn y gellir adnabod, nid yn unig mesur, ond natur y breintiau. Mae yn yr holl oruchwyliaethau hyn ddyfnderoedd goludoedd Duw.

4. Dyfnderoedd ei fárnau ef. Cawn y farn *(crima)* hon, hefyd yn pen. 2; 2, 3, a 3, 8, a 13, 2; ynghyd ag amryw fanau ereill. Yr ystyr yma yw barnau tymhorol, canys y cyfryw oedd y barnau fu dan sylw yr apostol eisoes. Am farn y dydd olaf, nid oes dim yn ddwfn yn egwyddorion hòno, canys gwyddis mai yn ol cyfiawnder pur y bydd. Barnau Duw ar Pharao, Israel, &c., fel yr Elshadai a'r Jehofa, oedd mewn golwg yma.

5. Dirgelion ffyrdd Duw. Ceir hefyd son am ffyrdd Duw, yn Act. 13, 13, a Dat. 15, 3, oddiwrth yr hyn y gellir casglu, mai ei oruchwyliaethau a feddylir.

Eithr, ar ol i Paul drwy gorff yr epistol hwn, olrhain a dadguddio, goludoedd, barnau, a goruchwyliaethau Duw; a chan nad yw efe yn dywedyd eu bod yn aros yn anchwiliadwy, mwy na'u bod yn peidio. ni allwn ninnau amgen na dywedyd, mai anchwiliadwy fuant, cyn i efengyl daflu goleuni arnynt. Diau fod goludoedd breintiau, a doethineb, a gwybodaeth Duw, i aros byth tuhwnt olrheiniadau yr holl greadigaeth; etto, gan nad oedd neb o eglwys Rhufain, debygid, yn ammau hyny, rhaid mai at y gyfran ddadguddiedig o honynt yn athrawiaethau yr epistol hwn, yn unig, y cyfeirid.

34 *Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd, neu pwy a fu gynghorwr iddo ef?

* Job 15, 8; Esay 40, 13; Jer. 23, 18; 1 Cor. 2, 16.

Pwy a adnabu feddwl neu ddirgel fwriad yr Arglwydd, ynghylch y goruchwyliaethau a'r tymhorau hyn? neu, pwy fu gynghorwr iddo ef ynghylch pa fodd goreu i'w trin a'u trefnu hwynt?

35 *Neu pwy a roddes iddo ef yn gyntaf, ac fe a delir iddo drachefn?

* Job 41, 3; Mat. 20, 14.

Pwy a roddodd iddo ef yn gyntaf, dan ddeddf natur neu ddeddf ddadguddiedig—dan weithredoedd neu ras? Neb; ond, pe byddai y fath un i'w gael, ad-delid iddo yn uniawn. Nid oes neb dan y naill na'r llall o'r cyfnodau, na'r goruchwyliaethau hyn, i gael aros ar ofyn Duw.

36 Canys o hono ef, a thrwyddo ef, *ac iddo ef, y mae pob
peth. Iddo ef y byddo gogoniant yn dragywydd, Amen.

* "Ac ynddo ef,"— Syriaeg, Arabaeg, Ethiopaeg, a'r tadau Lladinaidd. 1 Cor. 8, 6; Col. 1, 16.

Ped edrychid ar holl annhrefn a drygau y bydysawd fel saethau yn ehedeg oddiar linynau yr annelwyr, gwelid pob un yn wynebu ar ei amcan ei hunan yn unig; eithr pe gellid eu gweled mewn cyssylltiad â dylanwad arfaethol a daionus Duw arnynt, o'u cychwyniad cyntaf mewn ynfydrwydd, drygioni, a hunanoldeb, hyd eu tragwyddol effeithiau yn yr eangderau oesol, lle bydd y Duwdod ei hun yn oll yn oll, ceid eu gweled wedi eu troi a'u hannelu, ar ol cyrhaedd, ond odid, amcanion agosach yr îs-weithredyddion, yn tueddbenu at ogoniant digwmwl a diddadl, yr Ior ei hunan byth! byth!

Allan o Dduw fel ffynnon, a thrwyddo fel goruchwyliwr a threfnwr, ac iddo fel y nod a'r amcan, y mae pob peth. Iddo ef y byddo y gogoniant, canys efe a'i pia, oddiwrth bob cynllun a nodwyd o'i eiddo, yn dragywydd, Amen.

"*Him first, Him last, Him midst, and without end.*"—Milton.

*O hono* Ef ei hunan!—O, *iddo*,
A *thrwyddo*, mae'r cyfan!
Holl hòniaid enaid, anian,
Ymhob modd, ac ymhob man!

## Cyfieithiad Newydd.—Pen. XI.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

Gwrth. (1) Oni wrthododd Duw ei bobl?

Ateb. Dim mewn un modd; canys myfi fy hun wyf Israeliad, o had Abraham, o lwyth Benjamin. (2) Ni wrthododd Duw ei bobl, y rhai a ragadnabu. Oni wyddoch chwi yr hyn a ddywed yr ysgrythyr yn [hanes] Elias, pan eiriolai ar Dduw yn erbyn Israel? gan ddywedyd, (3) "Arglwydd, dy brophwydi a laddasant, dy allorau a gloddiasant i lawr, a myfi a adawwyd yn unig, a cheisio y maent fy einioes innau." (4) Ond pa beth yw atebiad yr oracl ddwyfol iddo ef? "Myfi a adewais yn ol i mi fy hun saith mil o wyr, y rhai ni phlygasant lin i'r Faal." (5) Yr un modd, gan hyny, y mae yr amser hwn hefyd weddill yn bod yn ol Etholedigaeth Gras. (6) Ond, os o Ras, nid o Weithredoedd mwyach; onide, nid yw y Gras mwyach yn ras.

Ac, os o Weithredoedd, nid yw o Ras mwyach, onide, nid yw y Weithred mwyach yn weithred.

Gwrth. (7) Beth am hyny? yr hyn y chwiliai Israel am dano, nis cafodd ef.

Ateb. Eithr yr Etholedigaeth [sef ei phlant hi] a'i cafodd; a'r lleill a galedwyd; (8) megys y mae yn ysgrifenedig: "Rhoddes Duw iddynt ysbryd mudrondod [*stupor*, hurtni], llygaid nad y'nt yn gweled, a chlustiau nad y'nt yn clywed, hyd y dydd heddyw." (9) A Dafydd hefyd a ddywed: "Bydded eu bwrdd yn rhwyd i'w dal hwynt, ac yn achlysur cwymp a thaledigaeth iddynt: (10) tywyller eu llygaid fel na allont weled, a chrymer bob amser eu cefnau hwynt."

Gwrth. (11) Eithr meddaf, Oni thramgwyddasant hwy oddiar amcan [Duw] o'u cwympo.

Ateb. Dim mewn un modd: etto, drwy eu cwymp hwy [y daeth] iachawdwriaeth i'r Cenedloedd, i gynhyrfu cystadleuaeth eiddigus ynddynt. (12) Yn awr, os [bu] eu cwymp hwy yn olud byd, a'u lleihad hwy yn olud cenedloedd, pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwynt! (13) Canys wrthych chwi, genedloedd, yr wyf yn dywedyd (yn gymmaint a'm bod yn ddiau yn apostol y Cenedloedd, yr wyf yn mawrhau fy swydd), (14) os mewn un modd y gallaf gynhyrfu i gystadleuaeth eiddigus fy eiddo [yn ol] y cnawd, ac achub rhai o honynt. (15) Canys os yw eu bwriad hwynt ymaith yn gymmod i'r byd, pa beth fydd eu derbyniad hwynt ond bywyd oddiwrth y meirw? (16) Os santaidd y blaenffrwyth, felly hefyd y clamp toes: ac os santaidd y gwreiddyn, felly hefyd y canghenau. (17) Eithr, os torwyd ymaith rai o'r canghenau, ac os tydi, tra yn olewwydden wyllt, a impiwyd i mewn yn eu lle hwynt, ac a wnaed yn gyfranog o wreiddyn ac o frasder yr olewwydden, (18) nac ymffrostia uwchben y canghenau; eithr os ymffrostio a wnei, nid tydi sydd yn dwyn y gwreiddyn, eithr y gwreiddyn dydi.

Gwrth. (19) Ti a ddywedi, gan hyny, Torwyd ymaith y canghenau, fel yr impid fi i mewn.

Ateb. (20) Boed felly; drwy anghrediniaeth y torwyd hwynt ymaith, ond drwy y Ffydd yr wyt ti yn sefyll. Na fydd uchelfryd; eithr ofna; (21) canys os nad arbedodd Duw y canghenau naturiol, yr wyf yn ofni, ac yn tybied, fod ond odid nad arbeda dithau chwaith.

(22) Gwel, gan hyny, diriondeb a thoster Duw! Toster tuag at y rhai a syrthiasant ymaith; ond tiriondeb tuag atat ti, os aros a wnei yn ei diriondeb ef; os amgen, torir dithau hefyd ymaith. (23) A hyd yn nod hwythau, os peidiant ag aros mewn anghrediniaeth, a impir i mewn; canys y mae Duw yn abl i'w himpio hwythau hefyd cilwaith i mewn. (24) Canys os torwyd di ymaith o'r olewwydden ag oedd yn wyllt wrth naturiaeth, a'th impio yn erbyn naturiaeth mewn olewwydden dda; pa faint mwy yr impir yn ol eu nhatur y rhai hyn i'w holewwydden eu hun!

(25) Ymhellach, ni fynwn i chwi fod yn anwybodus, frodyr, o'r dirgelwch hwn (rhag bod neb o honoch yn ddoeth yn eich tyb eich hunain), fod dallineb wedi dyfod ar Israel mewn rhan, hyd oni ddel cyflawnder y Cenedloedd i mewn. (26) Ac felly, holl Israel a fydd gadwedig, megys y mae yn ysgrifenedig, "Gwaredwr a ddaw allan o Seion, ac efe a dry ymaith annuwioldeb oddiwrth Jacob;" (27) hefyd, "Hwn yw y cyfammod sydd iddynt oddiwrthyf fi, pan gymmerwyf ymaith eu pechodau hwynt." (28) O ran yr efengyl yn ddiau, gelynion ydynt o'ch achos chwi; ond o ran yr etholedigaeth, caredigion y'nt o achos y tadau. (29) Canys diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw. (30) Canys, megys y buoch chwi gynt anufydd i Dduw, eithr yr awrhon ydych wedi cael trugaredd drwy anufydd-dod y rhai hyn; (31) felly y maent hwythau yn awr wedi dod yn anufydd, fel y caffont drugaredd drwy y drugaredd a gawsoch chwi. (32) Canys cydgauodd Duw y pawb i anghrediniaeth, fel y gallai drugarhau wrth y pawb.

(33) O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! mor anolrheiniadwy yw ei ffyrdd ef! (34) Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd, neu pwy a fu gynghorwr iddo ef? (35) Neu pwy a roddodd yn gyntaf iddo

ef, ac ad-delir iddo. (36) Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef, [y mae] pob peth; iddo ef byddo y gogoniant yn oesoesoedd, Amen!

---

## PENNOD XII.

### RHAN III. PEN. XII—XVI.

*Hunan-ymwadiad a brawdgarwch—rhinweddau newyddion ac arbenig y Gyfundrefn Gristionogol.*

### § 1. HUNAN-YMWADIAD SWYDDOL. PEN. XII, 1—8.

MEGYS yr offryma pob Cristion, o leiaf, ei enaid, a'i feddiannau, a'i ddylanwad, felly yr offryma y Swyddog Cristionogol ei gorff hefyd mewn modd arbenig, ynghyd â'i holl ddoniau, at wasanaeth Crist.

AM hyny yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, *er trugareddau Duw, roddi o honoch eich cyrff yn aberth byw, santaidd, cymmeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi.

* "Roddi o honoch eich hunain,"—Barnes, Hodge, Walford, Schoettgen, Beza, a Koppe. "Gosodir yma y gair *rhesymol* i arddangos fod y dyn oddimewn, ac nid y dyn oddiallan, fel dan y ddeddf, yn ofynol,"—Barnes, Hodge. "Camgymmeriad yw ystyried fod yma y gair *trugareddau* am *drugaredd*,"—Carson, Bloomfield. "Yn aberth fel y cyflwynid yr aberthau Iuddewig;"—Beza, Bos, Elsner. "Fel y cyflwynai milwr ei gorff,"—Theophylact. "Cyfeirir dan y gair *byw* at aberth *ysbrydol*, ac nid seremoniol, fel ebyrth Moses,"—Photius, Jaspis, Bloomfield. "*Rhesymol* yw cyfaddas i reswm dyn a natur Duw;"—Grotius, Beza, Erasmus, Viger, Hammond, Macknight. "Yr hyn yw eich ysbrydol, ac nid seremoniol, wasanaeth chwi," medd Chrysostom, Estius, Mede, Wetstein, Rosenmuller, Koppe, Olearius, Carpzov, Jaspis. "Perthynol i'r rheswm neu y deall,"—Stuart. "Wrth *aberth byw*, dywedir aberth *parhaus*, ac nid am unwaith, fel y rhai Iuddewig,"—Stuart.

*Er trugareddau, &c.* Yn 2 Cor. 1, 3, cawn yr un gair, lle dywedir "Tad y trugareddau." Rhaid i'r ystyr yma, fod yn naill ai drwy drugareddau Duw fel moddion: neu ynte, rhaid fod eithriad Grammadegol yn y frawddeg wreiddiol. Pe buasai yn yr hyn a elwir yr *Accusative Case*, gallasai fod yn—*er mwyn*, neu *oherwydd* trugareddau Duw; eithr, gan mai yn y *Genitive* y mae, dylem olrhain i'r arferiad hynod hwn mewn manau ereill, pa rai ydynt fel y canlyn:

Rhuf. 15, 30—"Yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, trwy yr Arglwydd Iesu Grist, a thrwy gariad yr Ysbryd."

1 Cor. 1, 10—"Yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist."

2 Cor. 10, 1—"Myfi Paul wyf yn atolwg i chwi, trwy addfwynder a hynawsedd Crist."

Ac yma, trwy drugareddau Duw. Gwel yn mlaen.

TRUGAREDDAU *(oiktirmos), pity, compassion, mercy;* tosturi, cydymdeimlad, trugaredd. Mae yr ystyr yn ysgafnach a llai gwresog nag ystyr y gair *Eleos*. Ceir ef yn Col. 3, 12; 2 Cor. 1, 3; Phil. 2, 1;

Heb. 10; 28, "heb drugareddau." Arferir yn unig gan Paul, ac yn y rhif lliosog. Cyfeiria at dosturiaethau cymdeithasol, brawdol, tadol, &c., yn arbenig. Gan hyny, drwy y tosturiaethau hyn yn Nuw yr oeddynt i roddi eu cyrff at wasanaeth crefydd Crist.

*Aberth byw.* Arferir y gair *aberth (thusia)* yn allegawl am wasanaeth i Dduw, eithr rhaid oedd iddo fod yn wasanaeth pur, digymmysg, a hollol ymroddawl, megys yn Heb. 13; 15, 16; Phil. 2, 17, a 4, 18. Sonia 1 Pedr 2, 5 am aberthau ysbrydol. Amlwg yw, gan hyny, nad yw y meddylddrych o roddi y naill beth yn lle y llall, yn gynnwysedig yn y gair *aberthu*. Gan hyny, nid yn y gair ei hun, ond yn y geiriau cyssylltiedig ag ef, y ceir yn gyffredin brofion o drososodiad yn aberthiad Crist. Nid oes sail i'r Pabyddion ddadleu fod gwasanaeth ordinhadol Cristionogaeth yn ddyhuddiadol, ac yn gwneuthur y swyddog a'i cyflwyno yn offeiriad. Nid oes yn hyn, ychwaith, un sail i'r Sociniaid ddal allan, gan nad oes yr ystyr drososodiadol o fewn y gair *aberth* ei hun, nas gallai aberthiad Crist o hono ei hun fod felly; oherwydd yn y cyd-destynau y ceir natur yr aberth a'i berthynasau.

Gwelwn yn ein testyn athrawiaeth werthfawr, deilwng iawn o sylw, wedi myned gyda *ni* yn dra disylw er's rhai canrifoedd. Derbynia Crist yn y cymmeriad o Dywysog neu Raglaw y Ffydd, bob rhodd a wirfoddol gyflwynir iddo. Pan gyflwynir iddo yr hatling fach, mae efe yn ei derbyn; mae ei nawdd iddi; mae ei fendith arni; ac mae ganddo yn nghadw ei wobr am dani. Felly am y dernyn o arian, neu o aur. Byth ni chipia efe ddwy hatling pan gyflwynir iddo ddim ond un. Nid oes ganddo ddim yn y byd yn nghadw o'r eiddom, ond a wirfoddol, ddifrifol, roddwyd iddo. Pan gyflwyner enaid euog felly iddo, O mor llawen, mor groesawus, y derbynia efe ef! Etto, yr enaid hwnw yn unig y mae efe y pryd hyny yn ei gymmeryd. Pan gyflwynir eiddo iddo, yr eiddo, ac nid yr enaid, sydd dan ei nawdd, a than ei fendith, ac yn aros am ei wobr. Pan gyflwyner enaid colledig iddo, yr enaid yn unig, ac nid y corff hefyd, fydd dan ei nawdd, a than ei fendith. Nid yw efe fel Rhaglaw mawr y Ffydd yn teimlo ei hun dan rwymau i ofalu am nag arian nag eiddo, ond y cyfryw ag a gyflwynwyd iddo: nac ychwaith am nag enaid na chorff, ond y cyfryw ag a gyflwynwyd iddo. Mae tynghedfen yr enaid sydd wedi ei roddi i Grist felly, uwchlaw niweidiau oddiwrth nac angau nac einioes, pethau presennol a phethau i ddyfod, nac un creadur arall; etto gall corff yr enaid hwnw gael ei dori i lawr gan bob damwain fel corff rhyw un arall, hyd yn nod ar ganol ei ddefnyddioldeb, os na bydd efe wedi ei gyflwyno yn arbenig i wasanaeth Crist. Nid oedd llabyddio â meini, na llongddrylliad, na dim arall, yn gallu cyrhaedd Paul, cyn iddo orphen ei waith. Meddylied pregethwyr efengyl yn ddifrifol am hyn. Mor fendigedig yw y rhei'ny sydd wedi aberthu eu cyrff yn ebyrth, nid ar ol eu marw, ond tra'n fyw, i Dduw; etto, O mor gymmaint mwy yw y pechod o wrando ar lais esmwythyd a chwantau y corff, ynddynt hwy, ar ol y cyfryw hunan-gyflwyniad, nac yn neb arall!

*Rhesymol wasanaeth.* Ystyr y gair *latreia*, ag a gyfieithir yma yn *wasanaeth*, yw gwasanaeth neu addoliad crefyddol; sef yr addoliad yn mha un yr arferir y corff, ac nid y meddwl yn unig. Gair arall a arferid

am ddirgel addoliad y meddwl. Ceir hefyd yn Ioan 16, 2; Rhuf. 9, 4; Heb. 9, 1, 6; Exod. 12, 25, 26. Megys yr oedd cyflwyno eu hanifeiliaid a'u degymau yn *latreia* cnawdol dan y ddeddf, felly y mae cyflwyno ein cyrff yn wasanaeth addoliadol, neu *latreia* i ninnau; sef ein gwasanaeth *rhesymol*, ac nid cnawdol—crefyddol, ac nid gwladol. Mae ein cyrff ni yn llenwi yr un lle ag a lenwid gan eu haberthau cnawdol hwynt. Ar ol cyflwyno anifail yn aberth byw i Dduw, ni hònai y cyflwynwr un gyfran o hono, na hawl ynddo mwy; felly ninnau, ar ol cyflwyno ein cyrff yn aberthau byw, at wasanaeth crefyddol allor fawr hunanymwadiad achubiaeth y byd, sef croes Crist, nid ydym yn hòni un gyfran o, nac o hawl yn, ein cyrff hyny mwy. O, pa fraint yw hon! O, pa leied sydd a gyrff at wasanaeth yr allor hon heddyw! "Fi fy hun; a'm teimladau corfforol fy hun," yw y llais sy'n cael y gwrandawiad penaf yn aml gyda ni, pregethwyr yr oesoedd aflwyddiannus hyn!

2 *Ac na chydymffurfiwch â'r byd hwn; eithr ymnewidiwch drwy adnewyddiad eich meddwl; †fel y profoch beth yw daionus a chymmeradwy a pherffaith ewyllys Duw.

* "Ac na chydymffurfiwch, ac nac ymnewidiwch gyda'r byd hwn, eithr cydymffurfiwch ac ymnewidiwch drwy, &c.," yw darlleniad yr hen gopiau Groeg henaf, ac amryw ereill. † Fel y gwybyddoch yn brofiadol,"—Conquest. "Cyfeirir at ragoriaeth ewyllys Duw dan yr efengyl, ar yr hyn ydoedd dan y ddeddf,"—Paraeus, Grotius, Locke, Macknight.

*Y byd hwn*, oedd yr oes hòno o Iuddewon, neu yn hytrach, yr oruchwyliaeth hòno ag a safai o hyd, er gwaethaf efengyl; sef yr eiddo Moses. Ceir yr ystyr hwn i'r gair *aiôn*, ag a arferir yma am *byd*, yn 1 Cor. 10, 11, &c. [Gwel ar Mat. 13, 39.] "Na chydymffurfiwch â'r oruchwyliaeth hon, sydd yn hulio wyneb y wladwriaeth Iuddewig. Nad pa mor rinweddol oedd cyduno â Jabez, i weddio am helaethiad o'ch terfynau daearol; ac am yd, a gwin, ac olew Canaan, gyda'r hen Salmwyr a'r prophwydi, tra parhaodd goruchwyliyeth Sina; rhaid ymadnewyddu yn *awr*, hyd yn nod yn ysbryd eich meddwl, gyda golwg ar fydoldeb yn gystal a dialgarwch." Er eu bod yn rhinweddau Moesenaidd, pechodau gwaethaf Cristionogaeth ydynt.

PROFOCH *(dokimazein)*, *to make trial of*, *to put to the proof;* gosod ar brawf. "*Profiad* eich ffydd chwi," ebe 1 Pedr 1, 7. "Lle y *profodd* eich tadau fyfi," ebe Duw yn Heb. 3, 9. Felly yma, "fel y rhoddoch ar brawf, fel y profir cynnyrch y mwynglawdd gan y toddydd, pa beth yw ewyllys Duw, sef yr un ddaionus, gymmeradwy, a pherffaith." Trwy yr hunangyflwyniad hwn y gosodid ar brawf teg ewyllys Duw am gadw dynion. Ewyllys at un genedl oedd ei hen ewyllys ddadguddiedig ef. At yr holl fyd y mae hon.

*Cyfiawn*, gan dalu yn ol gweithredoedd oedd hòno: *daionus*, gan gyfrsnu yn ol ei ras ei hun, yw hon. Yr ewyllys, neu oruchwyliaeth wrthodedig, yw hòno; yr un *gymmeradwy* yw hon. Yr un anmherffaith mewn hunanymwadiad a maddeugarwch yw hòno; yr un sy'n berffaith yn y ddwy riewedd newydd hyn yw hon. Mae llw Duw, a chymmeriad marwolaeth Crist, wedi eu gwystlo i hon, yr achubai hi y byd; rhodd-

wch hi yn onest ar ei phrawf. Cyflwynwch eich cyrff, nes eu gosod ar eu hegni, hyd ferthyrdod, drosti, fel y rhodder hi genych ar ei *threial*, er mwyn gweled o honoch pa un a all hi achub y byd colledig, ai peidio. Oni wnewch hyn, ni ellwch haeru eich bod wedi ei phrofi. Nid yw y sawl a ddilynant wyr yr hen oruchwyliaeth, drwy "gymmeryd hyd da yn helaethwych beunydd," yn ei gosod hi ar brawf teg; ïe, nid ydynt yn *awr* yn gymmaint a chadwedig eu hunain.

3 Canys yr wyf yn dywedyd, *trwy y gras a roddwyd i mi, wrth bob un a'r sydd yn eich plith, na byddo i neb uchel-synied yn amgen nag y dylid synied; †eithr synied i sobrwydd, fel y rhanodd Duw i bob un fesur ffydd.

* "Trwy fy apostoliaeth."—Grotius, Crellius, Stuart. † "Ei fesur o ffydd,"—Conquest. "Ei fesur o wybodaeth grefyddol,"—Koppe, Morus. "O ddawn wyrthiol,"—Photius, Theodoret, Grotius, Flatt, Tholuck.

Etto, rhaid oedd gan Paul gael rhoi rhybyddion ar ochr y llwybr hwn hefyd, rhag i neb ruthro gyda hunangyflwyniad ar draws ei frawd, nes gosod y naill ddawn i wasgu ar gyffiniau y llall.

*A roddwyd.* Sonia Paul am y "gras a roddwyd" iddo, hefyd yn 1 Cor. 3, 10; adn. 6 o'r bennod hon; Eph. 3, 8, &c. Tybiwyf mai at ras neu ddawn wyrthiol y cyfeiria efe. Gwelir hyn gan y sawl a ddarlleno y cyfeiriadau. Etto, tebycach mai at ras cadwedigol o foddion y cyfeiria Iago (4, 6). Cyfeiria Paul yma at yr awdurdod a feddai efe fel apostol, i drefnu yn gystal â chyfranu, doniau saint ereill.

*I sobrwydd (eis to sôphronein), to use sound judgement and moderation; to be of the same mind;* bod o synwyr cyffredin; arferyd gweddeidd-dra pwyllog. Tit. 2, 6; 1 Pedr 4, 7. Ei ystyr yma, yw traddodi yr hyn a ddadguddid iddynt drwy y ddawn wyrthiol, yn bwyllog, heb ymwylltio fel yr oraclyddion paganaidd; malu ewyn, a hanner lewygu, fel y gweledyddion Moesenaidd. Un yn unig oedd o'r rhai hyny yn y man ar y pryd, canys nid oedd ei ddull, na'i awdurdod arno ei hun, yn gyfryw ag a ganiatäai i amryw o'i fath fod o ddefnydd mewn cymdeithas; eithr, dan y cyfraniadau apostolaidd, nid oeddynt felly. Yr oeddynt yn amryw yn yr un gymdeithas, ac yn derbyn dawn fwy pwyllog, a llywodraethadwy. Yr oedd *mesur o ffydd* neu ddawn gan bob un oddiwrth Dduw. Wrth ymarfer â'u gilydd, bnan y gallent ddod i ddeall graddau eu gilydd. Ar ol deall o wr y gradd bach gymmaint yn uwch nag ef ydoedd ei frawd, yn ngraddau y ffydd, ei ddyledswydd ef oedd cymmeryd llai o le yn gyfartal â hyny. Wele le i ninnau dderbyn addysg gyda'n harferiad o'n dysg a'n doniau presennol.

4 Canys y mae genym ni aelodau lawer mewn un corff, ac nad oes gan yr holl aelodau yr un swydd:

5 †Felly ninnau, a ni yn llawer, ydym un corff yn Nghrist, phob un yn aelodau i'w gilydd.

* "Un corff dan Grist,"—J. Williams.

Cymharir yma gylch doniau a swyddau yr eglwys Gristionogol aelodau y corff dynol. Nid yr *eglwys* ei hun yw y corff, oherwydd nid oes i'r personau fel y *cyfryw* o'i mewn, un lle neillduol yn y gymdeithas, na gorchwyl neillduol ychwaith. Mae pob un i gynghori cyfranu, trugarhau, &c., hyd eithaf ei allu. Fel swyddwyr yn y gymdeithas, mae i bob un ei le yn y corff; ac nid yw y naill, er dim, i ymyraeth â gwaith y llall, mwy nag y mae y naill aelod i gyflawni gorchwylion y llall, yn y corff dynol.

*I'w gilydd:* nid oes un aelod yn ben ar aelod arall. Aelod i'r troed yw y llaw, ac aelod i'r llaw a'r troed yw y llygad: *aelodau* i'w gilydd, ac nid *penau* i'w gilydd, ydynt. Crist yw pen y naill a'r llall. Felly nid yw yr athrawiaethwr i fynu dysgu y cynghorwr, na'r cynghorwr i fynu llywodraethu y cyfranwr. Y pen, yr ymenydd, ffynnonell yr holl *nerves*, sydd i lywodraethu pob aelod.

6 A chan fod i ni amryw ddoniau yn ol y gras a roddwyd i ni, *pa un bynag ai prophwydoliaeth, prophwydwn yn ol cyssondeb y ffydd.

7 †Ai gweinidogaeth, byddwn ddyfal yn y weinidogaeth, ‡neu yr hwn sydd yn athrawiaethu, yn yr athrawiaeth.

8 §Neu yr hwn sydd yn cynghori, yn y cynghor: ‖yr hwn sydd yn cyfranu, gwnaed mewn symlrwydd; ¶yr hwn sydd yn llywodraethu, mewn diwydrwydd; **yr hwn sydd yn trugarhau, mewn llawenydd.

* "Y prophwydi oeddynt y radd nesaf i'r apostolion, ac yn ysbrydoledig i ryw raddau,"—Barnes. "Yn ol mesur y ddawn,"—Barnes, Hodge, J. Williams. "Yn ol ein mesur o'r ffydd,"—Conquest. "Yn gysson â'r ffydd,"—Walford. "Y prophwyd oedd ddeonglydd o'r ysgrythyr,"—Carpzov. "Mewn cyssondeb â'r credo derbyniedig,"—Beza, Paraeus, a'r Pabyddion. "Yn ol mesur y ddawn fo gan un,"—Hardy. † "Gweinidogaeth y gair a'r ordinhadau,"—Barnes. ‡ "Dysgu yr athrawiaethau yn unig,"—Barnes. "Manylu y mae'r apostol ar y gwahanol fathau o brophwydi,"—Grellius, Koppe. § "Cynghori gyda golwg ar yr ymarweddiad,"—Barnes. "Nid swydd, ond dyledswydd, oedd,"—Hodge. ‖ "Y diacon,"—Barnes, Hodge. "Gwnaed gyda llygad syml ar y cywir amcan,"—Barnes. "Yn anhunangar,"—J. Williams. ¶ "Y *president*, ond odid,"—Barnes. ** "Y rhai a ofalent am y cleifion,"—Calvin, Barnes, Hodge.

Gwel y TRAETHAWD ar *Swyddau yr Epistol*, yn y diwedd.

---

§ 2. CARIAD A HUNAN-YMWADIAD—RHINWEDDAU NEWYDDION CRISTIONOGAETH, YN EU PERTHYNASAU PERSONOL. ADN. 9—21.

GWESGIR arnynt y rhinweddau o ddiriondeb, llonder, cydymdeimlad, cydweithrediad,

a maddeugarwch; pa rai ydynt, mewn naill ai natur ai graddau, yn newydd yn ymyl eiddo saint yr Hen Destament.

9 Bydded cariad yn ddiragrith. Casewch y drwg, a glynwch wrth y da.

Cariad *(agape)*. Hwn yw y cariad o ewyllys da arbenig a berthyn i'r teimlad Cristionogol. Ei darddiad sydd o Dduw yn rhoddiad ei Fab (Ioan 3, 16). Cariad yr Iuddew oedd wladyddol, yn caru cymmydog fel efe ei hun. Mae hwn yn myned yn mhellach na hyny. Nid yw yn ystyried teilyngdod y gwrthddrych, na'i annheilyngdod. Ewyllys da pur, difesur, dinag, ydyw. Dyma deimlad Duw wrth sefyll yn ei ddrws i gyfranu i bechadur, a dyma deimlad Cristion wrth sefyll yn ei ddrws yntau i gyfranu i'r sawl a ofyno ei haelioni. Hwn yw y teimlad y mawr awydda Crist ei weled yn ei ddysgyblion, megys y dengys Ioan 15, 13; a 17, 26; Rhuf. 13, 10; 1 Cor. 13, 1; Heb. 6, 18; 1 Ioan 4, 7.

Casewch y *malais*, a glynwch wrth y *tiriondeb*. Casewch yr hen gariad *drwg*, cyfyng, yr hen "gasâ dy elyn, &c.," a glynwch wrth y cariad *da*, ehelaeth, y "cerwch eich gelynion, &c."

10 *Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd: yn rhoddi parch, yn blaenori eich gilydd:

* "Yn gwasanaethu yr amser," gan roi *kairo* yn lle *kurio*, yw darlleniad amryw hen gopïau Groeg a Lladin; er mai dros y darlleniad cyffredin y mae mwyaf o awdurdod o lawer. Feily Knapp, Morus, &c.

Caredig *(philostorgoi)*. Caredig fel y mae dyn at ei agos berthynas. "Byddwch mor garedig i'ch gilydd ag yr ydych i'ch plant, eich brodyr, a'ch perthynasau yn ol y cnawd." Dyna ystyr y gair. Gristionogion, gwridwn uwchben yr adnod hon; ïe, uwchben pob adnod o fewn y gyfran hon o'r epistol; canys yn ngwyneb pa un o honynt y gallwn brofi ein hunain yn well nag anffyddwyr ymarferol!

11 *Nid yn ddiog mewn diwydrwydd; yn wresog yn yr ysbryd, yn gwasanaethu yr Arglwydd.

* "Nid yn ddiog mewn gorchwyl,"—Barnes, Walford. "Mewn gofal am eich gilydd,"—Conquest. "Cyfeirir at ddiwydrwydd crefyddol yn unig,"—Hodge. "Yn gwasanaethu y cyfleusdra,"—Walford.

Diwydrwydd *(spoude)*, *diligence, earnest effort, forwardness;* egni difrifol a diymaros. Gorchymyna adn. 8 i'r hwn fo'n llywodraethu, gyflawni ei swydd fel hyn. Os nad ydym yn ystyried y llywodraethwr eglwysig yn gyfryw â hyn, ynfyd a phechadurus ynom yw ei hymddiried iddo, na'i gadael yn ei law. Cyfieithir yr un gair yn *astudrwydd*, yn 2 Cor. 8, 7, 8; 2 Cor. 1, 5; a Judas 3. Cynnwysa y gair fod y ddyledswydd dan sylw i'w chyflawni gyda brys. Cyfeiliornus yw y dyb hóno sydd wedi ymlusgo i'r eglwysi, fod yn rhaid wrth hwyrfrydigrwydd gyda *phob* peth. Yr ystyr yw:—"Mewn perthynas i ddiwyd-

rwydd, annioglyd; i'r ysbryd, gwresoglawn; i'r Arglwydd, gwasanaethgar." *All the Datives here are those of relation.*

*Yr ysbryd;* nid yr Ysbyd Glân, ond eu teimlad eu hunain, fel y cawn fod Apollos, yn ol Act. 18, 25.

12 Yn llawen mewn gobaith; yn ddyoddefgar mewn cystudd; yn dyfal-barhau mewn gweddi.

Mewn perthynas i obaith—yn llawen. Wrth gyfryw ymadroddion â hyn, gwelwn nad oedd y Cristionogion cyntefig hyn yn brudd eu gobaith. Nyni, drwy gymmysgu prudd-der yr Hen Destament gyda llawenydd y Newydd; ac ofn yr Hen gyda hyder y Newydd; ac ysbryd caethiwed yr Hen gydag ysbryd mabwysiad y Newydd, sydd yn brudd, yn benisel, ac ocheneidus, mewn gobaith. Ddarllenydd, paid â bod yn brudd dy obaith, os ymddiriedaist dy fywyd i'r Ceidwad. Llawenha yn dy ran. Mae yn golled i ti beidio. Mae yn gam a'r drefn, ac â'r gwaed â'i seliodd, ac â'r cyfammod a'i cadarnhaodd, i beidio canu uwchben dy obaith. Un o'th bechodau penaf yw. Pechod yn unig a ddylai gael dy bruddhau. Eithr os wyt ti blentyn i Dduw dan y Testament Newydd. mae y prudd-der hwn etto yn dy gynhyrfu yn mlaen: os dy bechod dy hun fydd, yn mlaen at fynu ei ladd, a thrwy waed Crist, at gael maddeuant o hono: os pechod rhai ereill fydd, yn mlaen at fynu, drwy ddylanwad dy gall a thirion egni dy hun, a bendithiol ras Duw, at gael ei wywo, a'i ddadwreiddio yn hollol. Eithr cofia na fyn Duw dy wasanaeth gyda hyn, ychwaith, ond gyda gobaith llawen. Os dy bechod dy hun yw y pwnc, mae yr Iawn genyt, a bydd lawen dy obaith yno; ac os pechodau dynion ereill, mae dylanwad y groes—hunanymwadiad a maddeugarwch y groes genyt—a bydded lawen dy obaith am lwyddiant yno; canys onid yw hwn yn nerthol *drwy Dduw*, i fwrw i lawr fel caerau Jericho, bob castell moesol a'th gwrddodd erioed, ac a'th gwrdda byth!

CYSTUDD *(thlipsis), affliction, distress, calamity;* trallod, drygfyd. Mae yn deilwng o sylw, fod allan o'r 33 o weithiau yr arferir y gair hwn gan Paul ac Ioan, ei gymhwysiad bron yn gyffredinol at gystudd y Saint drwy erlidiau am eu crefydd. Ceir gwpl o weithiau am gystudd ceryddol oddiwrth Dduw, yn llyfr y Dadguddiad. Mae yr holl gysuron a'r addewidion, o fewn duwinyddiaeth Crist a'i apostolion, a addawyd i'r cystuddiol, yn unig i'r cystuddiol drwy erlidiau, a'r gweddill, am a wyf yn gofio yn awr, i'r llafurus ac egniol dros achub dynion, a'r hwn a ddyddano y saint fo dan y cyfryw gystuddiau.

DYFAL-BARHAU *(proskartereô), to be strong or firm towards any thing, to endure or persevere in, or with, or near any person or thing;* bod yn rymus a diysgog tuag at ryw beth. dal at, neu gyda rhyw beth, neu berson. Arferir am weddio felly, hefyd yn Act. 1, 14; a 6, 4; a Col. 4, 2: am athrawiaeth, yn Act. 2, 42. Oddiwrth yr arferiadau hyn o'r gair, gwelwn nad yw gweddi annyfal, a diegni, ac egwan, yn gydweddol â theimladau yr Eiriolwr fu'n rhuddo glaswellt Gethsemane â'i waedlyd chwys, ac sydd yn parhaus dynu sylw nef y nef â'i egnïol weddiau! Mae dirfawr anghen am ail ddistyllio yr holl ddyledswydd-

au a'r teimladau Cristionogol, allan o frawddegau grawnsypiawl yr epistolau, a'u gwasgu, meddaf, â manwl ddwylaw beirniadaeth onest ac ansectyddol.

13 Yn cyfranu i gyfreidiau y saint, ac yn dilyn llettygarwch.

Cyfranu *(koinôneô), to share in common, to be partaker of or in any thing;* bod yn gydgyfranog o beth â rhywun. Megys y bu Crist gydgyfranog â phlant Duw o gig a gwaed, yn ol arferiad y gair yn Heb. 2, 14; felly y dylem oll fod yn gydgyfranog o dylodi a gwasgfeuon y saint. Nid *cyfranu* yw ystyr y gair: mae hyny yn rhy ysgafn. Dylem ranu â'r saint cyn belled ag y goddefa ein bywiolaethau. Felly gwnant yn y nef. Felly dechreuwyd gwneyd ar y ddaear; o leiaf, ar Galfaria gan y Pen, ac yn yr oes ddilynol gan ei ddysgyblion

Cyfreidiau *(chreiai).* Yr hyn y mae dyn yn ei wneyd yn orchwyl *(business, employment)*: hefyd, *need, want, necessity;* yr hyn sydd anghenrheidiol ar rywun.

Trefniad Grammadegol yr ymadroddion blaenorol sydd fel hyn.
Mewn perthynas i; neu mewn—
Cariad brawdol.—tyner-dosturiwch;
Parch,—blaenorwch tuag at eich gilydd;
Diwydrwydd,—byddwch annioglyd;
Ysbryd,—byddwch wresoglawn;
Yr Arglwydd,—byddwch wasanaethgar;
Gobaith,—byddwch lawen;
Cystudd,—byddwch ddyoddefgar;
Gweddi,—byddwch egniol yn barhaus;
Anghenrheidiau y saint,—byddwch gydgyfranogion.

Mae newydd-deb yn mhob un o'r rhinweddau personol hyn. O'u cymharu â'r rhinweddau a geir yn yr Hen Destament dan y cyffelyb enwau, cawn eu bod yn myned lawer yn mhellach, yn ymestyn yn eangach, ac yn meddu math o burdeb nad yw yn y dosbarth arall—purdeb yn cyfodi oddiwrth ysbryd yr oruchwyliaeth—y purdeb ag a ddysgwyliesid mewn rhinweddau a drwythesid, ac a ganesid, yn ngwaed Tywysog hunanymwadiad a maddeugarwch—purdeb a luniwyd i daro mor ddylanwadol ar y galon ddynol, nes ei hennill i'w gofleidio, ac ymwasgu at y gymdeithas â'i meddiannai—purdeb a luniwyd hefyd i daro mor gydrywiol ar y galon ddwyfol o fewn mynwes ein Harglwydd; nes ei hennill hithau i fendithio ei ddylanwad, a'i ymdrechiadau, a'i berarogl Cristioneiddiol; ac i osod holl rym y perffeithiau dwyfol sy'n preswylio yn gorfforol yn y galon ddigyffelyb hono, mewn cydweithrediad â'r cyfryw burdeb rhinweddol, i ennill y byd i gasineb trwyadl at, ac i ryfel gonest yn erbyn, pob pechod gwrth-gyferbyniol, a hyd yn nod pob efelychiad anmherffaith, rhagrithiol, a hannerog, o'r rhinweddau gogoneddus hyn.

Dilyn *(diôkô), to pursue, to follow after;* dilyn, neu hela ar ol rhywbeth, er mwyn ei ddala, neu ei gaffael: gwasgu ar ol llettygarwch. Nid aros, fel y gwnai plant Israel, i'r dyeithr alw yn ein drysau, ond rhagofalu, a chwilio am gyfleusdra i gael rhoddi llety i'r saint. Y

mae proffeswyr crefydd Crist yn ymranu, yn amlwg iawn i lygad craff-us, yn ein hoes hon, ar gyfleusderau cymmanfaol a'r cyffelyb, yn Iudd-ewon a Christionogion. Chwilia y naill am y cyfeillion y maent ddyledus iddynt, neu y rhai a allant ad-dalu iddynt, yn unig; tra chwilia y lleill am saint yr Iesu fel y cyfryw, yn unig. Y dosbarth cyntaf yw Iuddewon, neu Foeseniaid y Gymmanfa; a'r olaf yn unig ydynt ei Christionogion. Caiff y rhai'n ei holl fendithion lleawl hi, tra disgynai ei melldithion, pe meddai y fath bethau hefyd, ar y lleill. O, am nefoedd, am ystad ddyfodol, am rywle, na bydd Deistiaid ymarferol ynddo, yn trwsio eu hanffyddiaeth yn ngynau gwynion benthycol y Ffydd.

14 Bendithiwch y rhai sydd yn eich ymlid; bendithiwch, ac na felldithiwch.

Mor newydd oedd yr egwyddor anwyl hon i'r byd! Tra cawn holl saint yr Hen Destament yn melldithio y rhai a'u melldithient, ac a'u herlidient, cawn Grist a'i ganlynwyr yn eu bendithio. Onid yw yr eglwysi a gyssegrant faneran rhyfel â'u gweddiau, yn gwadu Cristionogaeth! Ac, onid yw y rhai a gyssegrant ymprydiau i erfyn llwyddiant ar arfau rhyfel, ac i ddiolch i Dduw eilwaith am dano, yn aros dan y ddeddf, ac yn gwrthod dod yn mlaen o dan ras! Erfyn ar y Tywysog a fu farw dros ei elynion ei hun, i gefnogi a hwyluso llofruddiaeth ein gelynion ni! Gwrided clochdai a llan-glychau ein pentrefi! ymblyged ffroenau ein cyflegrau yn eu ffauau castellawg! a gwrided gruddiau y llewod a'r unicorniaid ar ein banerau, wrth hyn! Tröed y wyneb ei wep ddialgar at Sina wrth erfyn am hyn! Na chymmysger ag awyrgylch maddeugarol Calfaria anadl y fath weddi â hon! I'r nef nid esgyna—i'r un blaned â Chalfaria fynydd ni wedda—i uffern obry yr ymgilio—yn uffern obry yr aroso—y fath weddi â hon—gweddi dial—gweddi melldith—gweddi â'i llwyddiant yn llofruddiad rhengau cyfaon o'n cydgreaduriaid anfarwol, ac yn eu gosodiad wrth y miloedd ar unwaith, mewn broydd diobaith cyrhaeddiad pereiddsain efengyl atynt byth!

BENDITHIWCH (*eulogeite*), *to speak well of, to commend;* dywedyd yn dda am: hefyd, gyda mawl a diolch erfyn bendith Duw ar y cyfryw.

MELLDITHIO (*kataraomai*), *to pray against, to wish evil to, any one:* gweddio yn erbyn, dymuno drwg i, rywun. Ceir hefyd yn Mat. 5, 44; Luc 6, 28; Iago 3, 9; Mat. 25, 41.

15 Byddwch lawen gyda'r rhai sydd lawen, ac wylwch gyda'r rhai sy'n wylo.

Pa fodd y dichon yr hir-wynebawg a'r ocheneidgar, yr hwn a osododd ei wyneb-pryd dan sel-argraff prudd-der, a'i anadl yn megin ocheneidiau, fod yn llawen gyda'r rhai sydd lawen, mewn golwg ar ras a gogoniant teyrnas Crist? Pa fodd y gall yr hwn sy'n anystyriol wylo gyda'r fam fo'n wylo uwchben colledigaeth ei phlentyn, gyda'r gweinidog a'r eglwys fo'n wylo uwchben colledigaeth y gwrandawwyr ang-

hrediniol? Llawenhau ac wylo *crefyddol* yn unig sydd yma. Nid oes destyn chwerthiniad na deigryn—nid oes dim yn werth yr un o honynt, o fewn y byd condemniedig hwn, oddiallan i neges fawr a thragwyddol crefydd!

16 *Byddwch yn unfryd a'ch gilydd; heb roi eich meddwl ar uchel-bethau; †eithr yn gydostyngedig â'r rhai iselradd. Na fyddwch ddoethion yn eich tyb eich hunain.

* "Byddwch unol mewn serch i'ch gilydd,"—Conquest. "Byddwch o'r un duedd tuag at eich gilydd,"—J. Williams, Walford. "Nid at farn, ond at deimladau, y cyfeirir,"—Origen, Beza, Erasmus, Cameron, Crellius. † "Goddefwch eich llusgo gerbron yr ynadon gyda Christionogion dirmygedig,"—Koppe, Schleusner, Stolz. "Goddefwch eich harwain gan yr iselradd; hyny yw, byddwch debyg iddynt,"—Grotius, Limborch, C. Schmidt.

*Un fryd:* bryd, *phronema.* Gall fod yn naill ai—"byddwch o'r un *opinion*, tyb, dull o feddwl, a'ch gilydd," fel yr arferir y gair yn Act. 28, 22; Rhuf. 12, 3; 1 Cor. 4, 6; Gal. 5, 10; Phil. 1, 7; neu ynte yn —"byddwch o'r un deimladau a'ch gilydd," megys yn Phil. 2, 5, a 3, 15. Eithr nid yw y gosodiad o'r geiriau gwreiddiol yn ein harwain at y naill na'r llall o'r deongliadau hyn. "Tuag at eich gilydd," ac nid "a'ch gilydd" *(eis allelous)*, yw yr ymadrodd. Un teimlad sydd i fod mewn sant at yr holl saint; felly, â'r un teimlad y meddylient am eu gilydd. Yr oedd yn y naill yr un teimlad i fod at y llall ag a feddai y llall ato yntau.

UCHEL-BETHAU *(upsela)*; ISEL-RADD *(tapeinoi)*. Cyferbynir y naill â'r llall. Goddefa yr iaith i ni ddywedyd isel-wyr, neu isel-bethau, am yr olaf; ond rhaid i ni osod y blaenaf am *bethau*, ac nid dynion. Er mwyn cadw y gymhariaeth, dywedwn:—"Na roddwch eich meddwl ar y pethau sy'n uchel yn ngolwg y byd, ond yn hytrach, ar y swyddau a'r dyledswyddau a ddiystyrir gan y byd uchelfrydig." Gwel Passow ar y gair *Tapeinos.*

17 Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg. * Darperwch bethau onest yn ngolwg pob dyn.

* "Nid yn unig yn ngolwg Duw, ond hefyd yn ngolwg pob dyn,"—Rhai hen gopiau, a'r Armenaeg, Gothaeg, Vulgate, a rhai beiblau Lladin ereill.

Dywed cyfieithiad y Deg-a-thriugain yn Diar. 3, 4—"Ti a ddarperi bethau da gerbron Duw a dynion," gan ymgadw yn unig o fewn cyfyng derfynau y gyfraith:—"Câr dy gymmydog yn unig:" eithr Paul a naid dros y ffiniau cyfyng hyn, gan gynnwys "pob dyn" o fewn ein terfynau.

GONEST *(kalos)*, daionus, anrhydeddus. Mae *gonest* yn rhy gyfyng. Yr ystyr yma yw *noble, honourable;* rhydd-galon, anghrintachlyd, boneddigaidd. Felly y gair yn Mat. 5, 16; 1 Tim. 5, 25; Tit. 2, 7, 14; Heb. 10, 24; 1 Pedr 2, 12; 2 Cor. 8, 21. Darllener yr holl gyfeiriadau hyn yn fanwl, ac yna cofied y darllenydd proffesedig am eu priodol ystyr, yn y ffair a'r farchnad. Cofied eglwysi am y *kalos* hwn, pan

yn cyfranu at amgylchiadau eu gweinidogion; cofied pawb, yn neillduol tafarnwyr a siopwyr diystyr, pan eu llettyant. Derbynir ni gan rai fel boneddigion o fyd arall, ac nid oes dim yn ddigon da ganddynt ar ein cyfer; derbynir ni gan ereill fel ysgubion y byd, ac y mae gwr y ty yn cadw ei wyneb ar ryw astell fry uwch ein penau tra byddom dan ei gronglwyd, fel pe llechai atebiad Cain i Dduw yn nghylch cadwraeth Abel dan ei guwch, am gyfleusdra i ymddangos, ac y mae arlwy cyffredin y bwrdd yn rhy dda i'n harchwaeth; derbynir ni gan ereill fel brodyr o'r un cig a gwaed, ac fel etifeddion o'r un gras, a hwy eu hunain, ac y mae ymborth arferol y teulu, a chroesaw calon yn ei goroni, ger ein bron. Yr olaf hyn sy'n darparu pethau rhydd-galon a boneddigaidd ger ein bron. Cyfeiria yr apostol yr ymddygiad at bob dyn hefyd.

18 *Os yw bosibl, hyd y mae ynoch chwi, byddwch heddychlawn â phob dyn.

* "Cynnwysa hyn fyw mewn heddwch â hereticiaid hefyd,"—Dr. Barrow, Chrysostom, Bloomfield.

Nid yw yn anmhosibl i ni fyw mewn heddwch â phawb ar eu tir eu hunain; eithr ar dir crefydd yn unig y "mae ynom ni" ei gyrhaedd: pan fo heddwch a dyledswydd mewn rhyfel, rhaid gwerthu y cyntaf er mwyn yr olaf. Ceisiwn deyrnas Dduw yn gyntaf, hyd yn nod o flaen heddwch ei hun.

19 *Nac ymddialwch, rai anwyl, ond rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn ysgrifenedig, †I mi y mae dial, a myfi a dalaf, medd yr Arglwydd.

* "Rhoddwch le i ddigofaint Duw," yw darlleniad y Gothaeg. Felly Chrysostom, Barnes, Hodge, J. Williams, Walford, Awstin, Luther, Beza, Hammond, Elsner, Wolf. "Rhoddwch iddo ddigon o le, fel yr oero,"—Yr Arabaeg, Ambros, De Dieu, Surenhusius, Stuart. "Rhoddwch ddigon o le i ddigofaint y gelyn, drwy gilio ymaith,"—Drusius, Wetstein, Cortius, Anselm, Tirinius. † "Os nad ymddiali, myfi a dalaf,"—Yr hen Feibl Syriaeg.

*Rhoddwch le, &c.* Cawn yr un ymadrodd gwreiddiol yn Luc 14, 9; Eph. 4, 27, sef, "Dyro le i hwn;" "Na roddwch le i ddiafol." O'r tri esboniad a gymhwysir i'r ymadrodd; sef—Lle i ddigofaint y gelyn gael ei ffordd, nes yr oero—Lle i'n digofaint ein hunain fyned heibio, heb ei gadw yn frwd i ddial—Lle i ddigofaint Duw,—tebycach mai yr olaf yw y cywir, canys arddengys y fannod o flaen y gair *orge*, digofaint, mai at rhyw ddigofaint neillduol y cyfeirir. "Rhoddwch le i'r digofaint priodol, canys ysgrifenwyd, Myfi a dalaf," ebe Paul. Nid oes yma annogiad i bledio y bygythiad hwn mewn gweddi yn erbyn y gelyn, onide croesai holl ysbryd y Testament Newydd; eithr fel pe dywedasai:—"Rhoddwch le i ddigofaint Duw, canys y mae yn ysgrifenedig gogyfer â'r genedl hon, pan addfedo i farn, na raid i neb, ac na chaiff neb, arall ddial arni." Dyfynir yr ymadrodd allan o Deut. 32, 35, lle prophwydai Moses am ddinystr y genedl. Yn ol dyfyniad o'r un ymadrodd yn Heb. 10, 30, yr oedd Paul yn ystyried fod y farn

ofnadwy hon ar ddisgyn arnynt, pan ysgrifenai efe yr epistol; ac felly yr ydoedd. Nid wyf yn sicr fod un farn arall, oddieithr yr hon a ddisgyn ar y genedlaeth a oesola yma ar ddiwedd y byd, i'w dysgwyl oddiwrth lyfrau prophwydoliaeth. Am farnau llyfr y Datguddiad, rhaid cael manylach arholiad na dim a ymddangosodd hyd yma yn ein hiaith, cyn y gallwn sicrhau nad pethau i "ddod i ben ar fyrder" oeddynt oll, yn ol yr adnod gyntaf o'r llyfr ei hun. Nad pwy oedd i ddial ar y genedl hon a'r llall, Duw yn unig oedd bïa dial ar Israel am eu hymddygiad at fywyd Crist a'i apostolion. Yr oeddynt hwy dan gyfammod i dderbyn teyrnas nefoedd, ac nid oedd esgus a ddigonai drostynt. Llechasant dan hen deyrnas Sina, a chawsant gawod fawr ei barn hi ar eu penau.

20 Am hyny, os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro
iddo ddiod: *canys wrth wneuthur hyn, ti a bentyri farwor tanllyd
ar ei ben ef.

21 Na orchfyger di gan ddrygioni; eithr gorchfyga di ddrygioni
drwy ddaioni.

† "Ti a beri y boen, a'r gofid, a'r cywilydd mwyaf iddo,"—Barnes, Stuart. "Cyfeirir at effaith gyffelyb i effaith y tân melltenol,"—Hodge. "Tydi a doddi ei elyniaeth ef,"—Macknight, Jerom, Piscator, Vorstius, Francke, Hammond, Schultens, Wolf, Heumann, Doddridge, Taylor, Jaspis. "Ti a bentyri farwor digofaint neu gosp Duw arno,"—Beza, Estius, Grotius, Whitby, Wetstein, Hardy, Slade, Turner.

*Marwor tanllyd, &c*, Dyfynwyd yr ymadrodd hwn allan o Diar. 25, 21, 22. Rhed y rhai a gymmysgant ddialau goruchwyliaeth y ddeddf â bendithion goruchwyliaeth yr efengyl, sef plant y crefyddau gorfodol, yn rhwydd i farnu mai at ddial dwyfol y cyfeirir yma. Diau fod marwor tanllyd yn arferedig yn yr Hen Destament am y cyfryw gosp; eithr, gan fod hanes cenedl Israel yn profi mai canlyniad y gosp yn aml, oedd ymostyngiad y pechadur, paham nas gellir esbonio ein testyn fel hyn:—"Peidiwch a dial; gorchfygwch eich gelyn â thiriondeb; dwg hyn ef i gywilyddio a gofidio am ei fai; tawdd eich marwor ei elyniaeth."

Bwrw da am ddrwg i'w wyneb,
Dial arno â thiriondeb.

### Cyfieithad Newydd.—Pen. XII.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) Am hyny yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, ar roddi o honoch eich cyrff, drwy dosturiaethau Duw, yn aberth byw, santaidd, cymmeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi. (2) Ac na chydymffurfiwch â'r oruchwyliaeth hon [ag sydd yn mron cwympo], eithr ymnewidiwch drwy adnewyddiad eich meddwl, nes y profoch beth yw ewyllys Duw; sef y ddaionus, a chymmeradwy, a pherffaith. (3) Canys yr wyf yn dywedyd, drwy y gras a roddwyd i mi, wrth bob un sydd yn eich mysg, i beidio synied yn amgen i'r hyn ddylid synied; eithr synied i sobrwydd, megys y rhanodd Duw i bob un fesur [perthynôl i'r] **Ffydd**. (4) Canys megys mewn un

corff y mae aelodau lawer genym, ond nad yr un swydd sydd gan yr holl aelodau; felly ninnau hefyd, er yn llawer, un corff ydym yn Nghrist, eithr aelodau bob un i'n gilydd.
(6) A chan fod y doniau sydd genym, yn ol y gras a roddwyd i ni, yn amrywiol; pa un bynag ai prophwydoliaeth, bydder yn ol cyssondeb y Ffydd [yn y prophwydo];
(7) ai ynte gweinidogaeth, yn y weinidogaeth; neu ynte y dysgawdwr, yn y ddysgeidiaeth; (8) neu ynte y cynghorwr, yn y cynghor; neu ynte y cyfranwr, mewn symlrwydd; neu ynte y llywodraethwr, mewn diwydrwydd; neu ynte y trugarhawr, mewn llawenydd.
(9) Y cariad diragrith! ysgymun-gasewch y drwg; ymlynwch wrth y da. (10) Mewn cariad brawdol, byddwch garedig i'ch gilydd; o ran parch, rhoddwch y flaenoriaeth i'ch gilydd: (11) byddwch annioglyd o ran diwydrwydd; gwresog o ran ysbryd; yn gwasanaethu yr Arglwydd; (12) yn llawen o ran gobaith; yn ddyoddefgar dan gystudd; yn dyfal-barhau mewn gweddi; (13) yn cydgyfranogi o gyfreidiau y saint; yn dilyn llettygarwch. (14) Bendithiwch y rhai fo yn eich herlid; bendithiwch, ac na felldithiwch. (16) Llawenhewch gyda'r rhai fo yn llawen, ac wylwch gyda'r rhai fo yn wylo. (16) Byddwch o'r un deimlad, y naill tuag at y llall: na osodwch eich bryd ar yr uchel-bethau, eithr cydymiselwch â'r rhai isel-radd. (17) Na thelwch ddrwg am ddrwg i neb; derperwch bethau da gerbron pob dyn. (18) Os yw bosibl, hyd y mae ynoch, byddwch heddychlawn â phob dyn. (19) Anwylyd; nac ymddielwch; eithr rhoddwch le i'r digofaint; canys y mae yn ysgrifenedig: "Dial i mi! talaf fi! medd yr Arglwydd." (20) Am hyny, os newyna dy elyn, portha ef; os sycheda efe, dioda ef; canys wrth wneuthur hyn, y pentyri farwor tanllyd ar ei ben ef. (21) Na orchfyger di gan y drwg; eithr, drwy y da gorchfyga di y drwg.

---

## PENNOD XIII.

### § 3. PERTHYNAS CRISTIONOGION AG AWDURDODAU LLYWODRAETHOL, MASNACHWYR, AC ARFERION, EU GWLAD. PEN. XIII, 1—14.

FOD y llywodraethwyr sydd yn ofn i weithredoedd drwg, a heb fod felly i'r rhai da, yn weinidog Duw i ni er daioni, ac yn teilyngu ufydd-dod a theyrnged (adn. 1—7). Fod dyledion masnachol i'w talu, hyd yn nod gan blant Duw, i baganiaid eilunaddolgar (adn. 8); nid fel y benthycai Israel gan lunio peidio talu yn ol. Nad oedd un dyled i gael aros ar y naill i'r llall, ond y dyled o gariad, a bod hyd yn nod cyfraith wladol yr Iuddew ei hun yn gofyn am hyny (adn. 8—10). Er fod cyfeddach, meddwdod, cydorwedd, anlladrwydd, &c., yn arferiadau cyffredin, a diniwed yn ngolwg eu cyd-ddinasyddion, fod yn rhaid i ddysgyblion Crist ymddidoli, ymgadw, a gwisgo rhinweddau Cristionogol yn eu lle (adn. 11—14).

YMDDAROSTYNGED pob enaid i'r *awdurdodau goruchel; canys nid oes awdurdod ond oddiwrth Dduw; a'r awdurdodau y sydd, gan Dduw y maent wedi eu hordeinio.

* "Mae pob ynad drwy ganiatâd Duw,"—Stuart. "Y ffurf o lywodraeth a feddylir,"—Macknight. "Dan Dduw y maent, &c.," medd rhai copïau tra pharchus. "A'r rhai y sydd," gan adael allan y gair "awdurdodau," medd y Testamentau Groeg diweddaraf. "I bob awdurdodau goruchel ymddarostyngwch," yw darlleniad tri hen gopi tra pharchus, ynghyd ag amryw gyfieithadau Lladin. "Ymddarostynged pob enaid i'r awdurdod a fo," medd yr Armenaeg. Gadewir y gair "goruchel" allan o'r Beibl Ethiopaeg. "Cyfeirir yn unig at yr awdurdod orseddol,"—Barnes. "Cyfeirir at bob gradd o awdurdod,"—Hodge, Conquest. "Dan Dduw y gosodwyd hwynt,"—J. Williams. "A'r awdurdodau y sydd," a hyd ddiwedd yr adnod, a adewid allan o feiblau Rufinus, Jerom, a Sedulius. "Pob swyddog llywodraethol a feddylir,"—Hodge.

*Pob enaid* sydd ddull Hebreig o lefaru am *pob un*.

*Goruchaf;* "pa un bynag ai i'r brenin, megys goruchaf," ebe 1 Pedr 2, 13, gan arferyd yr un gair am *goruchaf* ag a geir yma. Cyfeirir at y brif awdurdod, yr hon sy'n ffynnonell cyfraith y wlad."

*Ond oddiwrth Dduw.* Gwel ar adn. 4.

2 Am hyny, pwy bynag sydd yn ymosod yn erbyn yr awdurdod. sydd yn gwrthwynebu ordinhad Duw: *a'r rhai a wrthwynebant. a dderbyniant farnedigaeth iddynt eu hunain.

* "Barnedigaeth y swyddog gwladol,"—Barnes. "Cyfeirir at gosp ddwyfol mewn byd arall,"—Hodge. "A gospir gan yr awdurdodau,"—Stuart, Chrysostom, Paraeus, Vorstius, Whitby. "Nage; ond gan Dduw,"—Crellius. "Y naill a'r llall,"—Bloomfield.

Ymosod, &c. *(antitassô), to draw up an army against, to arrange in battle array;* ymfyddino, trefnu byddin yn erbyn. Dywed yr esbonwyr a'r Geiriaduron, mai yn ffigwrol yr arferir y gair yn y Testament Newydd, ac mai ei ystyr yw *gwrthwynebu*. Fel hyn ystyriant fod pob math o wrthwynebiad i'r awdurdodau gwladol yn croesi ein testyn, ac o ganlyniad, yn bechod yn erbyn Crist. Eithr, ai yn ffigwrol y dylid deongli y gair yn y pum lle ei ceir yn nghorff y Testament Newydd? Dyfyner ac olrheinier hwynt.

Act. 18, 6; lle cawn yr Iuddewon yn ymosod yn erbyn Paul, Silas, a Thimotheus.

Iago 4, 6, 7; lle sonir am waith Duw yn gwrthwynebu y beilchion (1 Pedr 5, 5), ac am ein gwaith ninnau yn gwrthwynebu y diafol.

Eithr, gan mai dynion sy'n ymosod ar ddynion yn Act. 18, 6, ac yn ein testyn, pa raid sydd am ffigyraw y gair oddiwrth ei ystyr cyffredin ynddynt? Y rheol wrth osod deongliad ffigwrol ar ymadrodd, yw dewis yr un llythyrenol yn hytrach, tra na bo hwnw yn anmhosibl gan ystyriaethau ereill. Mae yn rhaid i ni ffigyraw y cyfeiriadau yn Iago a Phedr, oherwydd hyny. Nid yw Duw yn ymfyddinaw yn erbyn y beilchion, na ninnau yn erbyn y diafol, oddieithr yn ffigwrol; sef, gyda chynllun a phenderfyniad; ac am hyny, yn ffigwrol eu deallir hwynt. Eithr y mae mor hawdd deall y gair yn yr Actau a'n testyn, yn llythyrenol, ag yw yn ffigwrol; a chan hyny,—"pwy bynag a ymfyddino yn erbyn yr awdurdod," yw yr ystyr. Mae hyn yn *high treason*, neu deyrnfradwriaeth, dan ein cyfreithiau ni. Mae yn ddyledswydd arnom wrthsefyd pob ymosodiad a allom, yn erbyn pob gweithred o eiddo yr awdurdodau, ag a ymddangoso i ni yn ormes arnom ni, neu ar ereill, tra na bo yr ymosodiad hwnw ar fywydau, na rhyddid, na meddiannau y cyfryw; nac ychwaith, yn ymfyddiniad gwrthwynebus iddynt.

Barnedigaeth *(krima)*. cosp. Myn rhai esbonwyr mai cosp ddwyfol sydd yma; eithr, nid yw pob cyfryw wrthwynebydd yn cael ei gospi gan Dduw yn y fuchedd hon, nac yn yr un ddyfodol; oherwydd "y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da" yn y byd hwn, ac yn maddeu i rai fel y diangont yn y byd a ddaw. Yr hyn a feddylir yn unig yw, mai y rheol gyffredin yw, i'r ymfyddinwr gwrthryfelus gael ei gospi gan y llywodraeth.

3 *Canys tywysogion nid ydynt ofn i weithredoedd da, eithr i'r rhai drwg. A fynni di nad ofnech yr awdurdod, gwna yr hyn sydd dda, a thi a gei glod ganddo.

* "Dyma y llywodraethwyr ag y dylai Cristionogion dalu ufydd-dod iddynt,"---Stuart.

Dengys yr ymadrodd hwn pa fath lywodraethwyr y dysgwyliai Paul i ni ufyddhau iddynt. Pan fo cosp yr awdurdodau yn ein dychrynu rhag gwneuthur daioni, nid oes orchymyn i fod yn ufydd iddynt.

4 Canys gweinidog Duw ydyw efe i ti er daioni. *Eithr os gwnei ddrwg, ofna; canys nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer; oblegid gweinidog Duw yw efe, dialydd llid yr hwn sydd yn gwneuthur drwg.

* "Mae awdnrdod Duw wedi penderfynu fod llofrudd i gael ei ddienyddio. Gen. 9, 5, 6."---Barnes, Blackstone. (*Commentaries on the Laws, &c.*, iv, *p.* 8). "Gweli'r yma fod y llywodraethwr yn was er daioni y werin,"---Hodge. "Gweinidog i Dduw yw efe,"---J. Williams.

Er daioni *(eis to agathon)*, tuag at, o ran tueddiad; yn gydunol â, mewn perthynas â, daioni. *Daioni*, pethau uniawn, rhinweddol, a chyfiawn. *I ti*; nid iddo ei hun, ac nid i'w gyfeillion, na'i wenieithwyr.

*Ar yr hwn sy'n gwneuthur drwg* yn unig, ac nid ar neb arall.

*Cleddyf.* Wrth ddwyn y cleddyf y meddylir meddu awdurdod bywyd ac angau, yr hyn a arddangosid gan yr awdurdodau Rhufeinaidd drwy ymwregysu â'r cleddyf, neu beri ei ddwyn o'u blaen; arferiad a erys mewn rhan hyd heddyw. Dylid cofio mai tori y pen ymaith oedd y dienyddiad mwyaf cyffredin, a bod y weithred yn cael ei chyflawni amlaf (fel hyd heddyw yn Germani) â'r *cleddyf.*

5 †Oherwydd paham anghenrhaid yw ymddarostwng, nid yn unig oherwydd llid, eithr oherwydd cydwybod hefyd.

† "Cyfeirir at ufydd-dod gwleidiadol yn unig,"---Bloomfield.

Nid er mwyn dianc rhag cosp y gyfraith, ond o gydwybod i Dduw, yr hwn sy'n ewyllysio i ni fod yn ufydd i'r fath awdurdod ag a nodwyd dan adn. 4.

6 †Canys am hyn yr ydych yn talu teyrnged hefyd; oblegid gwasanaethwyr Duw ydynt hwy, yn gwylied ar hyn yma.

† "Oblegid gweinidogion cyhoeddus i Dduw ydynt."---J. Williams.

Sef, oddiar gydwybod o'n dyled i gyfranu at gynnaliaeth y llywodraeth a'n hamddiffyno, ac a ddangoso mai "er ein daioni' y saif.

*Gwasanaethwyr Duw* yw y rhai hyn yr un modd â'r rhai a nodwyd eisoes. Pan fo treth yn ormesol, y ddyledswydd yw ei goddef, yn

hytrach nag ymladd yn ei herbyn, hyd oni chaffom gyfleusdra i wneuthur egniad cyfreithlon er ei dileu.

7 †Telwch gan hyny i bawb eu dyledion: teyrnged i'r hwn y mae teyrnged yn ddyledus; toll i'r hwn y mae toll; ofn i'r hwn y mae ofn; parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus.

† "Teyrnged a gyfeiria at y dreth ardirol a phersonol: Toll at yr un ar nwyfau masnachol,"—Hodge.

Teyrnged *(phoron)*, *a tax, tribute;* treth, a osodid ar bersonau, ac ar eu heiddo, yn flynyddol. Ceir yn Luc 20, 22; a 23, 2; Barn. 1, 30; 2 Sam. 20, 24; Ezra 4, 20.

Toll *(telos)*, *a toll, custom*, ag a osodir yn fwyaf cyffredin ar farsiandiaith a theithwyr (Mat. 17, 25), tuag at gynnaliaeth y llywodraeth.

*Ofn;* sef, y graddau o anrhydedd dyledus i benau y llywodraeth.

*Parch;* sef, yr anrhydedd teilwng i bawb fo mewn awdurdod danynt.

8 *Na fyddwch yn nyled neb o ddim, ond o garu bawb eich gilydd: †canys yr hwn sydd yn caru arall, a gyflawnodd y gyfraith.

* "Nid ydych yn nyled neb o ddim, ond &c.,"—De Dieu, Koppe, Rosenmuller.
† "Yr hwn sydd yn caru ei gymmydog," yw y Syriaeg, Sahidaeg, Vulgate. Felly darllenai Origen, ac Epiphanius.

"Telwch yn fanwl bob dyledion o bob natur, ac i bwy bynag y perthynont oddiwrthych, nes na bo dim yn ol; oddieithr, meddaf, y ddyled o gariad, yr hon sy'n fath nas gellir byth ei thalu i gyd, fel na bo eisieu caru rhagor.

*Y gyfraith.* At gariad Crist yr arferai Paul dynu sylw y Cenedloedd yn gyffredin, am wers ar garu eu gilydd; eithr at y gyfraith Iuddewig y geilw efe y sylw yma, canys ag Iuddewon y mae a fyno efe: hwynthwy oedd yn ystyried iau Cesar yn ormes, ac yn haeru na buasent gaethweision i neb erioed, tra yr oeddynt yn amlwg gyfryw i'r Rhufeiniaid, yr hyn a brofir gan yr arferiad o'r croesbren yn eu dienyddiad; hwynt-hwy hefyd oedd yn dal i fyny eu ffroen goruwch eu brodyr Cenedlig yn y cymdeithasau crefyddol. Eu dull o wneyd hyn yn yr heolydd a dynodd gasineb pob cenedl arall i'r fath raddau atynt. Nid oedd yr apostol drwy y cyfeiriad hwn at y gyfraith Iuddewig, yn gosod neb dani, canys dywed mewn lle arall, nad ydym dani hi, ond danras.

9 Canys hyn, *Na odineba, Na ladd, Na ladrata, Na ddwg gamdystiolaeth, Na thrachwanta; ac od oes un gorchymyn arall, y mae yn gynnwysedig yn yr ymadrodd hwn, †Câr dy gymmydog fel ti dy hun.

* "Mae sylwedd y ddeddf foesol mewn cariad at ein cymmydog,"---Stuart. "Nid yw "Na ddwg gamdystiolaeth" yn yr un o'r copïau henaf, na'r Syriaeg, Sahidaeg, hen feiblau Lladin, na nemawr Destament Groeg yn awr. † Gadewir oddiyma hyd ddiwedd yr adnod, allan o ddau hen gopi parchus, a'r Vulgate, ynghyd â beiblau yr hen dadau Lladinaidd. "Ystyr y gair cymmydog yn Moses, yw un fo dan yr un ddeddf â ni,"---Grotius.

Cawn yma fod holl sylwedd yr hyn a elwir yn ail lech, oddieithr y pummed gorchymyn, yn gynnwysedig yn y "Câr dy gymmydog fel ti dy hun." Rhaid, gan hyny, nad oedd un gwaharddiad yma i gasâu a lladd gelyn. Nid oedd Crist drwy y ddammeg am y Samaritan hwnw, yn dangos fod neb ond y Samariaid yn gymmydogion i'r Iuddewon. Nid yw iaith yn galw dynion, yn neillduol gelynion, pellenig, yn gymmydogion i ni. *Gorchymyn arall*, o eiddo Moses; canys gwyddai Paul fod gorchymyn newydd Crist, yn cynnwys mwy ddengwaith o gariad na llonaid hwn.

10 *Cariad ni wna ddrwg i'w gymmydog; †am hyny cyflawnder y gyfraith yw cariad.

* "Ni wna ddrwg i gymmydog un,"---J. Williams. † "Eithr cyflawnder, &c." medd tri hen gopi, yr hen feiblau Lladin, a rhai ereill.

Ni wna yr hwn sy'n caru arall un niwed bwriadol iddo. *Ni wna ddrwg:* ond a wna efe dda iddo? Nid cymmaint. Deliwn sylw teilwng ar yr ymadrodd hwn. Ymddengys yr holl esbonwyr fel gwedi cymmysgu cariad hen orchymyn y ddeddf â chariad gorchymyn newydd Crist. *Y cariad (he agape)*; "y cariad *hwn* ni wna niwed i'r cymmydog, am hyny cyflawnder y gyfraith yw y cariad (hwn)." Ni wnai y caru fel efe ei hun ddim gwaeth iddo na "llygad am lygad, a dant am dant, ac archoll am archoll, a chlais am glais." Ond a wnai efe dda iddo? a wnai efe dda am ddrwg? A droai efe y llygad arall at yr hwn a dynasai ymaith ei naill lygad ef? a ganiatäai efe i'w gymmydog, fel y caniataodd Stephan, i guro ei fywyd allan â meini, tra gwnelai efe ddim yn y byd ond dyrchafu dwylaw a llygaid i'r nef, a llefain, "O Dduw, na ddod yr ergydion trymion, llofruddiog, hyn yn ei erbyn ef!" Cariad o'r gorchymyn newydd—moesoldeb at y safon newydd, yw y fath yma! Ddarllenydd; cyfod y *standard* yn uwch: nad faint o ddial Moesenawg, ac o ddegwm Aaronawg, a golli gydag ef, gâd heibio yr hen safon cul, isel, ac anmherffaith, Bydd di berffaith, fel y mae dy Dad yn berffaith.

11 A hyn, gan wybod yr amser, ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu: †canys yr awrhon y mae ein hiachawdwriaeth ni yn nes na phan gredasom.

† Gwada Wlner a Knapp y cromfachau a ddodir gan yr esbonwyr yn yr adnod hon. "Cyfeirir at waredigaeth y nef,"—Barnes, Hodge. "Wrth iachawdwriaeth y meddylir ail ymddangosiad buan Crist, yr hyn a ddysgwylid gan yr apostol,"—Tholuck, Locke, Koppe. "Cyfeirir at waredigaeth y Saint yn angeu,"—Stuart, Chrysostom, Taylor. "Mae athrawiaeth iachawdwriaeth yn haws i'w deall,"---Crellius, Macknight, Rosenmuller, Schleusner.

*O gysgu*, o ddifrawder, a segurdod crefyddol.

*Iachawdwriaeth yn nes, &c.* Tybia Tholuck, a'r rhan fwyaf o esbonwyr diweddar Germani, fod yr apostol yn dysgwyl i Grist ymddangos yn fuan ar y ddaear eilwaith, pan y byddai gogoniant yr eglwys yn dechreu. Felly, mynant ei fod ef yma, a mewn manau ereill, yn annog y Cristionogion i fod ar ddihun, gan ddysgwyl dynesâd y dydd hwnw. Er cadarnhad i'r dyb ymo, apelia Tholuck at Phil. 4, 5; 1 Thes. 5, 2, 6; Dat. 22, 12. Ymddengys fod y cyfryw olygiadau a byn yn ymledu yn Germani, ac yn cael eu coleddu hyd yn nod gan y rhai a gredant yn ysbrydoliad yr apostolion. Ond, pa fodd y gellir gwneyd un cyssondeb yn y dull hwn o eiriau yr apostolion, nac o'u hysbrydoliad ychwaith, sydd uwchlaw deall i mi yn awr. Felly y cwyna Stuart hefyd rhagddynt. Diau ddarfod i'r Thessaloniaid ddeall yr ymadrodd a nodwyd am fuan ail-ymddangosiad Crist; ond gwrthwynebwyd y deongliad hwnw o'u heiddo yn bendant yn 2 Thes. 2. Ac onid yw yn ddigon (ys d'wed Stuart) fod Paul wedi esbonio ei eiriau ei hun? Pwy a ddichon ddiogel osod arnynt ystyr wahanol i'r hwn a ddyry efe ei hun? Hefyd, anhygoel yw fod yr apostolion, os dan ddwyfol ysbrydoliad, yn magu y fath obaith gwag a gau a hyn yn nghylch ymddangosiad yr Arglwydd; yr hwn, pan ddangosai amser ei dwyll, a barai, o ganlyniad, i'w holl ddywediadau ereill gael eu hanghredu. Nid yw y cyfadnodau yn galw am y fath ddeongliad, ac nid yw eu cymmeriad hwythau na'u Harglwydd yn ei ganiatâu.

Ereill a ddywedant mai at ryddhad y saint o'r corff yn angeu y cyfeirir; eithr nid yw y gair iachawdwriaeth yn cael ei arferyd mewn manau ereill am y peth; a chan nad oedd yr arferiad apostolaidd yn gwisgo y gair felly, nid oes hawl genym ninnau i'w wisgo ef.

Haws yw genyf fi ei gymmeryd am y rhyddhad a gaffai eglwysi Cristionogaeth oddiwrth iau a rhwystrau Moeseniaeth, yr hyn a elwir yn y manau canlynol, debygwyf, yn iachawdwriaeth:—2 Cor. 6, 2; Dat. 7, 19, a 12, 10; 2 Cor. 1, 6; Phil. 1, 28. a 2. 12. Ond, pan ddelom yn mlaen i'r epistolau sy'n trin y pwnc hwn yn fwy arbenig, cawn dalu sylw teilwng i ystyr y testynau uchod. Denu sylw y darllenydd atynt yn unig yr ydys yn awr. Am fanylach deongliad, Gwel ar Mat. 24.

12 *Y nos a gerddodd yn mhell, a'r dydd a nesaodd; am hyny bwriwn oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn arfau goleuni.

* "Y *dydd* yw dedwyddwch y nef,"---Barnes. "*Nos* a *dydd* oedd anwybodaeth Baganaidd, a gwybodaeth Gristionogol,"---Turner, Stuart. "Dydd oedd y goleuni Cristionogol ychwanegol a ddilynodd ddinystr Jerusalem,"---Whitby, Macknight, Slade. Luc 1, 78, 79; Act. 26, 18; Eph. 5, 8; 1 Thes. 5, 5; 1 Pedr 2, 9.

*Nos* sydd air ffigwrol yma, am ryw dywyllwch moesol ag oedd ar ddarfod, mewn cyferbyniad i'r *dydd*, yr hwn oedd yn nesâu. Pe Paganiaeth fuasai y nos hon, ni allasai y gair nesaodd sefyll am y dydd, canys dengys pen. 1, 8, a 16, 19, heb son am Act. 2, 10. fod efengyl

yn ei chyflawn ogoniant eisoes yn eglwys Rhufain. Prawf Mat. 24, 14 [Gwel ar y lle] y pregethid yr efengyl dros yr holl fyd, cyn dinystr yr hen oruchwyliaeth mewn modd gorfodol. *Nos*, ynte, oedd paganiaeth y byd, a'i Iuddewaeth. Y *dydd* oedd ei efengyleiddiad cyffredinol, a dinystr Iuddewaeth, ynghyd â'r ddinas, a'r deml, a'i hattegent. Ac yr oedd y dydd *hwn* yn nesâu pan ysgrifenwyd yr epistol dan sylw (Oed Crist, 58). Digon hawdd yw i esboniwr daro wrth y tywyllwch a'r goleuni a fynno, a'u galw yn *nos* ac yn *ddydd*, uwchben testyn fel hyn; eithr y nos a'r dydd oedd yn ngolwg yr awdwr, yw yr unig rai a dâl gan y gwirionedd. Mae yn galonog genyf ychwanegu fod golygiadau Macknight, Whitby, Valpy, a Slade, yn gydunol â'r rhai a gefnogir yma.

*Arfau y goleuni*, oedd yr arfogaeth yn mha un yr ymwisgai y saint, ac y safent yn mrwydr fawr foesol Cristionogaeth. Dengys adn. 13 yr ystyr yn fanylach.

13 *Rhodiwn yn weddus, megys wrth liw dydd, nid mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd, nid mewn cynnen a chenfigen.

* Luc 21, 34; 1 Pedr 4, 3; 1 Cor. 6, 9.

YN WEDDAIDD *(euschemonôs)*, *becomingly*, *decorously;* yn deilwng i'r goleuni sy'n taro ar ein llwybrau. Rhodiwn yn deilwng, fel y dysgwylid i filwyr byddin tywysog Calfaria; fel y dylai milwyr fyddai am gadw cymmeriad eu cadben, a'u hachos, i fyny. Y diosg hwn oedd brif nodwedd duwioldeb yr Hen Destament. Dan y Newydd, rhaid cael y gwisgo a'r gweddus rodio hefyd, yn ychwanegol. Ceir y gair hefyd yn 1 Cor. 14, 40; 1 Thes. 4, 12. Paul yn unig sy'n ei arferyd am y fuchedd Gristionogol.

CYFEDDACH *(komois)*. Gan fod cymmaint o ddadlu yn yr oes hon yn nghylch gwir ystyr y geiriau hyn, dodaf yma yr holl arferiad o honynt, fel y barno y darllenydd diduedd drosto ei hun. Ei ystyr yw *a feasting, revel;* gwledda, gloddesta; *a carousal, or merry making;* megys cydyfed ar ol swper neu giniaw heb un amcan yn y byd, ond porthi chwant. Arferid yn ninasoedd Groeg a Rhufain, y pryd hyny, ruthro allan i'r heolydd ar ol y wledd, gyda ffaglau pyg, musig, a chaniadau, mewn anrhydedd i Baccus, &c. Gal. 5, 21; 1 Pedr 4, 3. Adam's *Rom. Ant. p.* 434. Passow *ar y gair.*

MEDDWDOD *(methe)*. Ceir yn Mat. 21, 34; Gal. 5, 21. Gwel ar Mat. 24, 49.

CYD-ORWEDD *(koite)*: mab a merch yn cydorwedd â'u gilydd, ac etto heb fod yn briod. Lef. 18, 22; Num. 31, 17, 18, 35.

ANLLADRWYDD *(aselgeia)*, *wantonness, lasciviousness;* anlladrwydd, trythyllwch. 2 Cor. 12, 21; Gal. 5, 19; 2 Pedr 2, 7, 18; Eph. 4, 19; 1 Pedr 4, 3.

Mae tri o'r pedwar pechod hyn yn cael eu harferyd i raddau helaeth gan broffeswyr crefydd, yn rhai parthau o'n gwlad. A ydyw y cyfryw yn gwybod mai peth anmhosibl yw gwisgo arfau goleuni, heb ddiosg

y pethau hyn yn gyntaf? Dynion yn sefyll yn y fyddin heb un arfogaeth ydynt. Ereill o'u deutu ydynt yn yr arfau gloewon, ag y dysgleiria gwedd yr Haul arnynt: hwythau ydynt mewn hen ddillad nos, yn newydd gyfodi o'r gwely! Ai rhyfedd fod y fath eglwysi yn methu llwyddo?

14 *Eithr gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist, ac na wnewch ragddarbod dros y cnawd er mwyn cyflawni ei chwantau ef.

* Iago 3, 14; Gal. 3, 27; Eph. 4, 24.

Rhagddarbod *(pronoia), foresight, providence, provision;* rhagddarpariaeth. Act. 24, 3. Mae rhagddarbod gogyfer ag anghenrheidiau y cnawd yn ddyledswydd ar bob dyn; ond am ei chwantau neu flysiau ef, pechod yw caniatâu hatling gogyfer â'u hanghenrheidiau hwynt. Un o ordinhadau Crist—un o'r ordinhadau—y pibellau, penaf a fedd efe i gyfranu drwyddynt ras a chysur personol i'w saint, yw yr ordinhad o wrthod cysuron y blysiau. Myn efe ddylifo cysuron melusach yn eu lle, o rinwedd grawnsypiau gwinwydden Calfaria; ond drwy y pibellau hyn y rhedant. Peidied y caethion gwasaidd, a sugnant gysuron anifeilaidd drwy rydweli y blysiau anianol, a synu eu bod yn amddifaid o gysuron profiadau y Cristion hunanymwadol: nid yw yn gydunol â rheswm mawr gras iddo flysio dafn o honynt byth. Allan o rywle tua ffynnonau danteithion, ymborth, diod, myglys, &c., y tardd holl ffrydian ei gysuron ef! Nid wyf yn tybied fod y pethau hyn yn attal achubiaeth enaid yr arferydd; ond yr wyf yn gweled eu bod yn dod i ben ag attal achubiaeth colledigion ereill, y rhai a osodasai Rhagluniaeth ofalus Ner yn gyfleus i gael eu hachub drwyddo ef. Pethau ydynt a attaliasent i Grist achub y byd, i'r apostolion achub y byd, i'r holl achubyddion a achubasant i achub neb; a'r unig bethau y fynyd hon ag sy'n attal yr holl eglwysi i ymledu nes cynnwys o'u mewn y byd.

## Cyfieithiad Newydd.—Pen. XIII.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) Ymddarostynged pob enaid i'r awdurdodau goruchel; canys nid yw yr awdurdod ond oddiwrth Dduw; a'r rhai sydd, dan Dduw y gosodwyd hwynt. (2) Am hyny, mae yr hwn a ymfyddino yn erbyn yr awdurdod, yn gwrthwynebu gosodiad Duw: a chondemniad arnynt eu hunain a dderbynia y rhai a wrthwynebant. (3) O blegid llywodraethwyr nid ydynt ddychryn i weithredoedd da, ond i rai drwg; ac a fyni di beidio ofni yr awdurdod? Gwna di yr hyn sydd dda, a thi a gei glod o hyny; (4) canys gweinidog Duw yw efe i ti er daioni; eithr os drwg a wnei, ofna; canys nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer, gan mai gweinidog Duw yw efe, dialydd hyd ddigofaint ar y drwgweithredwr. (5) Am hyny, dyledus yw ymostwng, nid yn unig oherwydd y digofaint, eithr hefyd oherwydd y gydwybod. (6) Canys am hyn yr ydych yn talu teyrnged hefyd, canys gweinidogion Duw ydynt, yn gwylied yn wastad ar y gorchwyl yma. (7) Rhoddwch gan hyny i bawb yr hyn sydd ddyledus; y deyrnged i'r hwn y mae'r deyrnged, y doll i'r hwn y mae'r doll, yr ofn i'r hwn y mae'r ofn, y parch

i'r hwn y mae'r parch [—yn ddyledus]. (8) Na fyddwch yn nyled neb o ddim, ond o garu bawb eich gilydd: canys yr hwn sydd yn caru yr arall a gyflawnodd y gyfraith. (9) Canys, y "Na odineba, Na ladd, Na ladrata, Na thrachwanta," (ac od oes un gorchymyn arall) a gynnwysir yn gryno yn yr un gosodiad hwn: "Câr dy gymmydog fel ti dy hun." (10) Y cariad ni wna ddrwg i'r cymmydog; am hyny, cyflawniad y gyfraith yw y cariad.

(11) Yn mhellach, gan wybod yr amser ei bod hi weithian yn awr i ni ddeffroi o gysgu, am fod ein hiechydwriaeth ni yn nes na phan gredasom, (12) a cherdded ymhell o'r nos, a nesâu o'r dydd, bwriwn, am hyny, oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn arfau y goleuni: (13) rhodiwn yn weddus, megys yn y dydd, nid mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd, nid mewn cynhen a chenfigen. (14) Eithr gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist; ac wrth ragddarbod y cnawd, na weinyddwch i'r chwantau.

---

## PENNOD XIV.

### § 3. UNDEB EGLWYSIG; ANGHYDFOD A RHWYGIADAU EGLWYSIG; GYDA CHYMHWYSIAD O'R RHEOL FAWR GYFFREDINOL, AT AMGYLCHIADAU EGLWYS RHUFAIN AR Y PRYD, YN NGHANOL DADL CYFREITHLONDEB BWYDYDD A GWYLIAU NEILLDUOL. PEN. XIV, 1—XV, 7.

GWREIDDYN yr holl ddrwg yn nghylch y ddadl hon oedd *hunan* (adn. 8). Ni fwytâi hwn ddim cig, rhag dygwydd bwyta cig offrymedig i eilun, heb yn wybod (2); a chan na allai arall fod yn sicr o gael cig glân, ni fwytâi efe ddim ond llysiau (2), tra mae y trydydd yn bwyta pob cig yn ddiwahaniaeth (2). Felly am gadw dyddiau neillduol fel gwyliau (5, 6). Dyna eu gwahanol *dybiau*. Yna eu *hymddygiadau* oddiar y tybiau hyn, oedd—y bwytawr yn dirmygu gwendid cydwybod y llall (3), nes taflu y gwan i lawr o ran ei feddwl (13, 15, 20, 21). Cynghor Paul iddynt oedd i bob un fwyta neu beidio, y cigoedd neu y llysiau a fynai, cyd na pharai hyny dramgwydd i'r llall (13, 14, 21); mai i'r hwn a dybiai fod y bwyta yn bechod yr oedd efe yn bechod (14); a mai Crist yn unig oedd i farnu ymddygiadau o'r fath (8, 9, 10, 12).

YR *hwn sydd wan yn y ffydd, derbyniwch atoch, nid i ymrafaelion rhesymau.

* "Derbyniwch i gymmundeb,"—Amryw. "Cynnorthwywch,"—Ereill. "Nid er mwyn barnu ei dybiau,"—Hodge. "Ei dybiau ammheus,"—Conquest. "Heb edrych ar amrywiaeth barnau,"—J. Williams. "Na phendronwch ef â chwestiynau caledion,"—Valpy. "A chwestiynau ammheus,"—Slade, Turner. "Nid er mwyn gwneyd penderfyniadau ynghylch ei dybiau,"—Stuart.

GWAN YN Y FFYDD *(asthenounta tē pistei)*. Arferir yn ffigwrol yn ol y priod-ddull Hebreig, am ddiffyg grym a phenderfyniad barn, ammheuaeth, petrusder, anwadalwch. Felly yn adn. 21; 1 Cor. 8, 9, 11, 12; Rhuf. 4, 9; gwel yno. Yr oedd gan y Ffydd mewn cyferbyniad i'r Ddeddf, lawer o bethau newyddion. Yr oedd yn haws gan bagan dderbyn yr holl gorff o athrawiaethau a dyledswyddau, na chan yr Iuddew. Mawr rwystr fu Iuddewaeth i bur a digymmysg Ffydd hyd ddinystr Jerusalem. Gwelai Paul fod teml hwn o hyd yn sefyll, ac am hyny cyd-ddygai lawer ag ef. Methai hen ddysgybl deddf

llyncu pob tammaid o wleddoedd y ffydd; a'r gwendid hwn a barai iddo gael ei enwi yn un "gwan yn y ffydd."

Ond, pa beth yw "gwan yn y ffydd?" Onid "gwan o grediniaeth," fel y dywed Stuart, ydyw? Nage; canys mae y fannod o flaen y gair *ffydd*, yr hyn sydd yn ei daro yntau â dyryswch. Eithr nid yw ei ddull o ymddadrys, drwy ddweyd mai *ei* grediniaeth a feddylir, yn hollol deg, nac mewn ysgolhaig o'i radd ef, yn beth hawdd ei esgusodi; canys ni chwrddais erioed â'r fannod yn cael ei harferyd am ragenw meddiannol *(Poss. Pron.)*, nac un beirniad cywir o bwys, o'r blaen, yn son am y fath beth. Sicr wyf nad yw Winer, Matthaei, Rost, Buttman, na hyd yn nod Stuart ei hun yn ei Rammadeg, yn son am hyny.

Derbyniwch atoch *(proslambanesthe)*, derbyniwch gyda thiriondeb, gollyngwch i mewn i'ch cymdeithas a'ch cyfeillach. Yr ystyr llythyrenol yw cymmeryd un ato ei hun; ac felly cynhwysir at gymmeryd yn gydymaith, Act. 17, 5; at dderbyn i dŷ cyfaill, 18, 26, a 28, 2; Philemon 12, 17. Yma, mewn ystyr mwy cyffredinol, derbyn mewn modd tirion. Felly pen. 15, 7. Cynnwysa hefyd gymmeryd gafael ar y gwrthddrych gerfydd ei law, a'i dynu atom.

Ymrafaelion, *scrutinizings of thoughts;* sef, "nid er mwyn olrheiniadau a phenderfyniadau ar ei dybiau." Cymharer adn. 5, 13, lle ceir hefyd yr un gair yn *farnu*. Y rheol, gan hyny, yw derbyn yn roesawus atom, y brawd fyddo yn rhy wan i allu cyflawni rhai pethau mor rwydd â nyni ein hunain, oherwydd ei gydwybod, cyd na byddom yn barnu fod y palldod yn bechod yn erbyn elfenau Cristionogaeth. Hefyd, ein dyledswydd yw peidio ag ymosod ar ei dyb neillduol ef, er mwyn ceisio cyrhaedd penderfyniad yn ei chylch. O eisieu talu sylw teilwng i'r rheol gyfaddas hon, y rhwygwyd llawer mil o eglwysi, ac y magwyd llawer iawn o sectau, ar hyd yr oesoedd.

2 Canys y mae un yn credu y gall fwyta pob peth; *ac y mae arall yr hwn sydd wan, yn bwyta dail.

* "Y llall ag sydd wan, bwytaed ddail," yw darlleniad tri hen gopi Groeg, y Sahidaeg, Ethiopaeg, a'r Slavonaeg. "Eithr bwyta dail y mae yr hwn sydd wan,"—Winer's *Gram.*

Ymddengys fod yr Iuddewon Cristionogol yn petruso yn nghylch bwyta ac yfed pethau a offrymasid i eilunod, gan dybied eu bod wrth gyfranogi yn proffesu eilunaddoliaeth; a chadarnheir y dyb hon gan adn. 5, yr hon a gyfeiria at y gwahaniad a wnelai yr un bobl yn nghylch dyddiau, oddiar barch i ddeddf Moses ac arferiadau'r Iuddewon; cymharer Col. 2, 16. Ni theimlai y rhan Genedlig o'r eglwys, wrth reswm, un petrusder yn nghylch y fath bethau; ac nid annaturiol fuasai ynddynt edrych yn gyntaf gyda syndod, ac yna gyda dirmyg, ar betrusder eu brodyr Iuddewig yn nghylch ordinhadau allanol. Hawdd yw gweled, yr elai tangnefedd yr eglwys mewn perygl yn y modd yma. Ac mewn trefn i luddias hyny, y mae ein hapostol yn taflu ei darian dros ei frodyr egwan eu cydwybod, ac yn galw yn bendant am i'r lleill ymddwyn yn dyner a thirion tuag at betrusder o'r

fath, a gofalu rhag condemnio a diystyru y rhai a'i coleddent. Efe a wasgai hyn yn ddwysach, oherwydd fod eu petrusder hwynt o ansawdd sobr a gonest, ac nid yn un fympwy ofergoelus.

DAIL *(lachana), a garden plant, herb;* pob llysiau gardd. Ceir yn Mat. 13, 32; 1 Bren. 21, 2; Gen. 9, 3.

3 Yr hwn sydd yn bwyta, na ddirmyged yr hwn nad yw yn bwyta; *a'r hwn nid yw yn bwyta, na farned ar yr hwn sydd yn bwyta, canys Duw a'i derbyniodd ef.

* "Na farned ef fel un drwg yn ngolwg Duw,"—Bloomfield.

DIRMYGU *(exoutheneito)*, diystyru, cyfrif yn ofergoelus.

BARNU *(krino)*, condemnio un fel yn annuwiol, ac annheilwng o le yn eglwys Dduw.

*Derbyniodd ef.* Gwel ar adn. 1. Nid yw Duw yn cuddio ei wyneb oddiwrth y cyfryw, nac yn cau drws ei eglwys rhagddo.

4 Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? *I'w Arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll neu yn syrthio, †ac efe a gynnelir; canys fe a all Duw ei gynnal ef.

* "Yn sefyll yn y teulu,"—Locke. "Yn hytrach sefyll neu syrthio mewn barn," Bloomfield, Stuart. † "Fe a all yr Arglwydd, &c.," medd y tri chopi Groeg henaf, y Goptaeg, Sahidaeg, Armenaeg. "Fe all ei Arglwydd," medd y Syriaeg, ac un cyfieithiad Arabaeg. "Ei ammheuaeth a symmudir,"—Rosenmuller. "Efe a saif i fyny yn ddifai, ac ni chospir,"—Macknight, Koppe.

Gwelwn mai i Grist y mae pob Cristion yn was, ac nid i'r eglwys. Ni fedd hi weision. Ni fedd ei swyddwyr weision ychwaith.

*Sefyll, &c.* Mae cryn ddadl rhwng y beirniaid, pa un ai sefyll at y rheol ynte o flaen brawdle, a feddylid. Eithr gan mai arglwydd y gwas oedd ei unig farnwr yn y gwledydd hyny (canys caethweision a gadwent), naturiol yw meddwl mai at sefyll a syrthio o flaen y frawdle deuluol, gan yr hon yr oedd awdurdod bywyd ac angau, y cyfeirid. Dylai eglwys Crist gofio fod ei phriod wedi ei phrynu, drwy dalu am dani, yn ol dull priodasau dwyreiniol, ac mai ei harglwydd yw efe mwy, heb hawl ganddi ei hun, na neb arall, i osod deddf iddi.

*Fe all Duw ei gynnal ef;* sef, ei ryddhau o flaen y frawdle; ond, ar ba egwyddorion, atolwg? Nid ar un egwyddor ond hóno; sef ei fod yn ddifai. Rhaid ei fod felly, ynte. Gan hyny, os gwna brawd ei oreu i allu deall pynciau o'r fath, a methu dod i'r un farn â'i frodyr yn y diwedd, efe a gynnelir, ac a ryddheir, pan gyhudda y frawdoliaeth ef, gerbron Duw. Gwelwn bellach am bynciau llai eu pwys na phethau anhebgorol at fywyd tragwyddol, nad ydynt i gael eu trafod yn yr eglwys, gyda'r amcan o osod pleidlais neu benderfyniad arnynt; a hyny oherwydd dau reswm: yn gyntaf, oherwydd y gwaharddiad a gawsom yn yr adnod flaenaf; ac yn ail, oherwydd fod yr adnod hon yn tystio cyn y *treial,* y cynnelir pob un o'r brodyr; sef yr hwn a fwytäai gig, a'r hwn a fethai ei fwyta. Yna, y canlyniad yw, mai

dadl yn nghylch dim yn y byd yw pob dadl yn nghylch pynciau o'r fath; canys, pa beth gwell na *dim* all fod dadl y ddau frawd hyny, ag y cyhoedda'r Barnwr uwch ei phen:—"Yr wyf yn cynnal pob un o honynt. Y maent yn rhyddion!" Gair yn y man yma at Enwadau Cymru: pa beth yw ein pynciau gwahaniaethol i gyd, frodyr anwyl? Drefnyddion Calfinaidd; a ddemnir ni o eisieu credu yn awdurdod eich cymmanfa chwi? Fedyddwyr; a ddemnir ni am beidio ymostwng i'ch bedydd neillduol chwi? Wesleyaid; a gollfarnir ni am nad ydym dan aden eich *conference* chwi? Lanyddwyr; ai diau y gwâd y Barnwr ni am ymneillduo oddiwrthych chwi? Gwn y dywed eich cydwybodau yn ddibetrus na wna. Paham na byddem fel brodyr, ynte? A weli di, ddarllenydd, mor benisel y bydd rhagfarn yn y farn? Caiff efe weled y Barnwr yn rhyddhau a chyfiawnhau, yr hwn y collodd efe hanner ei oes i'w gondemnio. Rhyw bynciau neillduol, a'r rhai hyny yn ychydig, sydd yn nglyn wrth iachawdwriaeth yr enaid. Ni chynnelir gwadydd y rhai hyny, yn y farn. Ni chynnelir neb, ychwaith, yn ddifai, mewn pethau llai eu pwys, ond y rhai a wnaethant eu goreu i'w cyrhaedd. Brodyr i wneyd ein goreu ydym, ac nid rhai rhwym o gwympo i'r un feddwl â'r brawd rhagfarnllyd.

5 *Y mae un yn barnu diwrnod uwchlaw diwrnod; ac arall yn barnu pob diwrnod yn ogyfuwch. †Bydded pob un yn sier yn ei feddwl ei hun.

* "Y naill ddiwrnod yn santeiddiach na'r llall,"—J. Williams. † "Mwynhaed pob un ei dyb mewn rhyddid,"—Erasmus, Grotius, Doddridge.

Pa un a oedd yr apostol ai peidio, yn cynnwys dydd yr Arglwydd o fewn y rhestr gwyliau dibwys, yn ein testyn, sydd wedi bod yn destyn petrusder nid bychan i'r esbonwyr. Mae yn ddigon hysbys fod yr eglwys Gristionogol er ei hoesoedd boreuaf, wedi gosod gwahaniaeth rhwng y *Sabboth* a *Dydd yr Arglwydd*. "Na farned neb arnoch (ebe Paul) mewn na bwyd, na diod, na dydd gwyl, na newydd-loer, na sabbothau." Col. 2, 16. Ac, ebe efe yn Gal. 4, 10:—"Cadw yn ofalus yr ydych ddyddiau, a misoedd, ac amserau, a blynyddau. Yr wyf yn ofni am danoch!" Y cyfryw, medd Stuart, oedd yr arferiad Iuddewig o'r gair Sabboth *(Sabbaton)*. Eithr ni alwyd y dydd cyntaf o'r wythnos erioed gan y cyn-Gristionogion yn ddydd gwyl. Ei enw neillduol a gawn yn 1 Cor. 16, 2; Act. 20, 7; Dat. 1, 10. A cheir digonedd o wahaniaeth rhwng Dydd yr Arglwydd a'r Sabboth yn ngweithiau y tadau boreuaf.

Ond, dywed Stuart, fod pa un a ydyw ein testyn yn dwyn perthynas â Dydd yr Arglwydd yn gystal ag â'r Sabboth Iuddewig, yn anhawddach ei benderfynu nag y meddylid. Ydyw, meddaf finnau: ydyw, iddo ef a'i debyg, sy'n galw Dydd yr Arglwydd yn Sabboth, a Sabboth Cristionogol, ac yn ei seilio ar lechau cerig Moses. Eithr, gan na wnaeth neb y fath beth yn yr oesoedd cyntaf, nid oedd dadl yn ei gylch, wrth ddileu Moeseniaeth. Nid oedd neb am gadw y llechau fel safon moesoldeb, onide buasai rhyw Sabboth i'w gadw, ac yna buasai y ddadl hon ag a geir yn ein testyn, am osod diwrnod uwchlaw

diwrnod i mewn, ac yna rhaid fuasai dilyn rheol Paul, i bob brawd gadw y cyfryw Sabboth neu beidio, a bod raid i'r eglwys ei dderbyn ef felly, a bod Crist yn sicr yn ei dderbyn ef, ar ol peidio a'i gadw, mor gymmeradwyol â'r hwn a'i cadwasai. I'r man yna y'n harweinid yn ddios gan y farn, mai cyfnewid y Sabboth a wnai'r apostolion. Eithr amlwg yw, nad oes un dydd yn santeiddiach na'r llall mwy, o ran Moses; ac nad yw Dydd yr Arglwydd ddim mwy cyssegredig na dydd arall, o'i ran ef. Wrth santaidd y meddyliaf, cyssegredig at wasanaeth crefyddol. Cyssegrodd Crist a'i apostolion y dydd cyntaf o'r wythnos at lafur cynnulleidfaol Cristionogaeth, ac nid er gorphwysder: canys yn wir, nid oes orphwysdra ganddi i'r corff. Ar ol darfod ei hwythnos y gorphwysa eglwys Crist.

*Sicr yn ei feddwl ei hun. Plerophoreisthô, let him be fully assured, give full proof of, to confirm fully;* bydded i bob un o'r brodyr yn y cyfryw ddadl, fod wedi cael profion boddlonol, nes hollol berswadio ei hun ar y pwnc: na fydded mewn un ammheuaeth, gan ddal yn gyndyn dros ei bwnc ar yr un pryd. Os ammau yn y radd leiaf a wna, gwell yw iddo gydweithredu â'i frawd gwrthwynebus, canys y mae hwnw yn sicr felly o'r ochr arall. Mae yr hwn a ymwahaniaetho oddiwrth ei frawd mewn pethau dibwys o'r fath, tra tystia ei frawd yn syml, fod ei feddwl ef yn bendant ddiammheuol ar y pwnc, a thra gwyr yntau yn burion, nad yw efe ei hun mor ddiammheuol o'r ochr arall, yn tramgwyddo ei frawd; oherwydd gesyd ei farn ammheus ei hun yn rymusach na barn bendant ei frawd. Nid yw hwn yn rhodio mewn cariad. O'r ochr arall; pan ddysgwylio y naill frawd i frawd arall roi lle i'w dyb bendant ef ei hun, ar y dosbarth hwn o bethau, tra mae y naill frawd mor bendant a sicr yn ei feddwl â'r llall, nid yw y cyntaf yn rhodio mewn cariad; oblegid y mae efe yn rhy barod i osod ei dyb bendant ei hun ar orsedd llys cydwybod ei frawd. Mae un eisoes ar yr orsedd hòno, a hwnw yw y gwr cyfreithlon: barn onest y brawd ei hun biau orsedd ei fynwes ef. Gosod dithau, frawd, dy farn onest dithau ar orsedd dy fynwes dithau; a thyna bob un yn ei lle. Cadw dy farn gartref, oni all hi fod mor foesgarol a gofyn ei chennad wrth bob drws: a chofia na chafodd hi ddim cam o hyd, er cael ei gwrthod yn mhob lle, tra gadawer iddi yr orsedd gartref. Ni phiau hi un orsedd ond hòno. Etto, pa bryd bynag y bo'r orsedd yn wag, a'r farn heb dyfu yn ddim cryfach nag ammheuaeth, mae cymmaint o barch i'th frawd genyt, a chan leied o hunangais, fel y gadewi i'w dyb ef lywodraethu dy ymddygiad, hyd nes tyfo dy ammheuaeth yn benderfyniad: yna, rhaid i ti gael, ïe, rhaid i ti wneyd, lle ar yr orsedd i'r eiddot dy hun. A chofia, nad wyt i fod yn hir mewn ammheuaeth am ddim oll, hyd yn nod o'r pethau hyn: oherwydd ni wna cydwybod a orsedder gan farn gwr arall, ond ychydig iawn o egni gyda'r ddyledswydd sy'n cyfodi oddiar y farn hòno: er y dylit wneyd dy oreu, o ran cydwybod dy frawd, yr hon a gynnelir gan ei Harglwydd, am ei bod yn sicr ynddi ei hun, tra fe allai, yn gweithio yn ddigon chwithig gyda'i hamcan cywir. Dyma reol brawdgarwch y Testament Newydd gyda dirwestwyr a gwrthddirwestwyr, arferwyr a gwrtharferwyr ffwgws, ffasiynau, lleisiau, tônau, dulliau, amserau, &c

Pethau nad ydynt yn foddion uniongyrchol i ddamnio dynion, nac i niweidio eu bywydau, a ddeuant oll dan y dosparth hwn.

6 *Yr hwn sydd yn ystyried diwrnod, i'r Arglwydd y mae yn ei ystyried; †a'r hwn sydd heb ystyried diwrnod, i'r Arglwydd y mae heb ei ystyried. ‡Yr hwn sydd yn bwyta, i'r Arglwydd y mae yn bwyta; canys y mae yn diolch i Dduw; a'r hwn sydd heb fwyta, i'r Arglwydd y mae heb fwyta; ac y mae yn diolch i Dduw.

* "Yr hwn sydd yn cadw y diwrnod,"—J. Williams. "Yr hwn nid yw yn cadw y diwrnod i'r Arglwydd, nid yw yn ei gadw, &c.,"—Yr un. "Er anrhydedd i'r Arglwydd y mae heb ei ystyried,"—Stuart. † Gadewir allan yr ymadrodd hwn, o bump o'r crwyn henaf, ynghyd â rhai diweddarach, y Goptaeg, Ethiopaeg, Vulgate, a beiblau Lladin ereill henach. Gwrthodir gan Erasmus a Mill: ond i mewn y gadewir yn awr gan y beirniaid. ‡ "A'r hwn sydd yn bwyta," yw darlleniad y Testamentau Groeg diweddaraf, oddiar awdurdod y copiau a'r cyfieithadau henaf.

*I'r Arglwydd:* hyny yw, am ei fod yn ystyried yr Arglwydd yn gofyn am hyny. Mae ei waith *yn diolch i Dduw* yn profi ei fod yn gallu apelio at Arglwydd y gydwybod; a bod y weithred, felly, yn gyfran o'i grefydd ef.

7 Canys nid oes yr un o honom *yn byw iddo ei hun, ac nid yw yr un yn marw iddo ei hun.

8 Canys pa un bynag ai byw yr ydym, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; †ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw: am hyny, pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym.

* "Yn byw mewn hunanymroddiad i'w bleserau ei hun, &c."—Stuart, Wetstein. "Ni chawn farw heb roddi cyfrif i Dduw,"—Carpzov. † "Cyfeirir at ystad y meirw,"—Stuart. "Yr ydym o fewn gallu Duw,"— Koppe.

*Iddo ei hun.* Y *Dative case* sydd yma, ystyr yr hwn yw:—mewn perthynas â, yn gydunol a'i feddwl neu flysiau, o'i achos, ei hun. Yn ol meddwl Crist yr ydym i fyw a marw: efe â'n piau: nid ydym i wneyd ag eiddo gwr arall, ond yn ol ei feddwl ef ei hun. Yr un hawl sydd gan oruchwyliwr i ofyn i'w flysiau am reol i wario eiddo ei feistr, ag sydd gan Gristion i wario ei arian, amser, bywyd, neu angeu. Ac os dylem ymwadu â ni ein hunain yn hyn, oni ddylem yn ddiau wadu awdurdod dynion, hyd yn nod tir arglwyddi a gwyr llys? Peth fel hyn yw byw i rywun, fel y dengys Luc 20, 38; Rhuf. 6, 10, 11; Gal. 2. 12. Dewisai ambell Gristion gael y farwolaeth esmwythaf, eithr Paul a ddewisai hòno a ogoneddai fwyaf ar Grist. Ni ofala rhai am ddim ond am gael crefydd dda cyn marw: pobl heb un fath o honi yw y rhai hyn. Ereill a ofalant yn unig am grefydd gadwedigol iddynt eu hunain: pobl crefydd yr Hen Destament yw y rhai hyn. Pobl am achub ereill yw pobl Iesu Grist.

9 *Oblegid er mwyn hyn y bu farw Crist, ac yr adgyfododd,
ac y bu fyw drachefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw
a'r byw hefyd.
10 †Eithr paham yr wyt ti yn barnu dy frawd? neu paham yr
wyt yn dirmygu dy frawd? canys gosodir ni oll gerbron gor-
seddfainc Crist.

* "Y bu fyw a marw Crist, &c.," yw darlleniad dau gopi Groeg tra hen. Gadewir allan "ac yr adgyfododd," o'r Testamentau Groeg yn awr, oherwydd nad yw yn y tri chopi henaf o'r Groeg, y Coptaeg, Armenaeg, Ethiopaeg, Syriaeg, a llawer o'r cyfieithadau Lladin. Gwrthodir yn hollol gan Griesbach, Reiche, Lachmann, a Scholz. "Er mwyn hyn y bu Crist farw a byw, fel yr arglwyddiaethai, &c." yw darlleniad y chwech copi henaf, ynghyd ag ugeiniau diweddarach, pob cyfieithiad Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg, Armenaeg, a llawer o'r rhai Lladin. † "Barnu dy frawd yn y peidio bwyta," yw darlleniad pedwar hen gopi. "Eithr tydi, paham, &c., a thithau, &c.," J. Williams. Dadleua Macknight oddiwrth yr ymadrodd hwn, ynghyd â Phil. 2, 10, nad yw eneidiau yn angeu yn syrthio i gwsg, nac annheimladrwydd.

*Er mwyn hyn;* neu yn well fel hyn:—canys i hyn y bu farw ac yr adfywhaodd Crist; fel yr arglwyddiaethai, &c.

BU FYW DRACHEFN *(anezese), to revive, to rouse up.* Dat. 20, 5; Luc 15, 24, 32; Rhuf. 7, 9. Fod hyn yn un o amcanion marwolaeth ac adfywhad Crist, Gwel yn Phil. 2, 5—11; Ioan 17, 4, 5; Aeb. 2, 9, 10, a 12, 2.

*Gorseddfainc Crist*, ynte, sydd i benderfynu pwy sydd yn iawn, a phwy nid yw, gyda'r holl bynciau dihanfodol. Yspeilio y barnwr o'i hawl a'i orsedd yw mynu eu penderfynu yn gynt, a thrwy hyny, ei wadu ef fel barnwr. Nid yw y Pab, er mor ddrwg yw, ond gosod ei hunan yn farnwr y pethau hyn o dan Grist. Gwŷr y penderfyniadau cymmanfaol, ystyriwch hyn! Chwithau, athrodwyr ein heglwysi, sydd yn trin a'ch traed farnau cydwybodol gweision Crist, O ystyriwch hyn!

11 Canys y mae'n ysgrifenedig, Byw wyf fi, medd yr Ar-
glwydd: pob glin a blyga i mi, a phob tafod a gyffesa i Dduw.
12 †Felly gan hyny, pob un o honom drosto ei hun a rydd gyf-
rif i Dduw.

† "Profir yma Dduwdod Crist, oherwydd mai efe fydd y barnwr,"—Dr. Pye Smith, Michaelis. "Na phrofir, ond ei fod ef yn barnu yn awdurdod Duw,"—Socinus, Belsham, Priestley, Pearce.

Dyfynir allan o Esay 45, 23. Gwelwn fod athrawiaeth barn gyffredinol yn perthyn i Gyffes Ffydd yr Hen Destament; canys megys yr oedd y gorchwyl o blygu gerbron un fel ei benllywydd, yn gyfaddefiad o hono fel ynad a barnwr arnom yn yr ystyr helaethaf, yn ol arferiad y llywodraethau dwyreiniol; felly yr oedd yn ddealladwy yn y fan, gan y sawl a ddarllenent y prophwyd, fod Jehofa yn penderfynu dwyn pob dyn i'w gyfaddef fel ei farnwr ryw bryd. Yn mhellach, ofier mai Jehofa sydd gan y prophwyd i sefyll yn farnwr pawb; a

dywed Paul mai Crist a saif yn farnwr pawb; a thra dwg efe hefyd yr adnod a brofai mai Jehofa fydd efe, fel prawf eglur mai Crist a feddylid; ac onid yw cymharu y tystiolaethau eglur hyn yn profi yn ddiammheuol, mai Crist y Testament Newydd ydoedd Jehofa yr Hen; neu, o leiaf, fod Paul yn dios dybied hyny?

Drosto ei hun *(peri eautou)*, am dano, o'i achos, o'i blegid, o'i ochr ac yn ei erbyn, mewn perthynas iddo, ei hun. Dyna arwyddocad yr ymadrodd gwreiddiol. O, feddylddrych dwys! Hollwybodolrwydd yn galw fy holl weithredoedd, geiriau, myfyrdodau, a dylanwad, ac yn eu dylifo i lestr gandryll fy nghof, yr hon a fydd yn awr wedi ei nhewydd gyfaddasu a'r cof hwnw eilwaith yn eu cyfaddef yn amlwg, gerbron y barnwr a'r bydoedd, craff eu clust a'u bardrem, i'w cofio gan bob un o'r rheiny byth, a chenyf finnau fy hun, yr hwn ar ei symudiad oddiwrth y frawdle, a gaiff gymmeryd gydag ef eu cyfiawn gosp a gwobr dros byth bythoedd! Ie, fy enaid, fel hyn y bydd! Nad beth sy'n ammheus yn dy dynghedfen, y mae hyn yn sicr yn dy aros!

Cyfrif *(logos)*, gair araeth, dywediad, pwnc, cyfrif, rheswm neu atebiad. Am yr un gair gwreiddiol yn yr un ystyr ag yma, gwel Mat. 12, 36:—"Am bob gair segur a ddywedo dynion, rhoddant o hono gyfrif *(logos)* yn nydd barn."—Act. 19, 40: "Gan nad oes un achos trwy yr hwn y gallom roddi rheswm *(logos)* o'r ymgyrch hwn."—1 Pedr 4, 5: "Y rhai a roddant gyfrif *(logos)* i'r hwn sy'n barod i farnu y byw a'r meirw."—Heb. 13, 7: "Megys rhai a raid roddi cyfrif *(logos)*."—Heb. 4, 13: "Pob peth sydd yn noeth ac agored i'w lygaid ef, am yr hwn yr ydym yn son *(logos)*:" ond, yn hytrach—"gerbron, gyda, yr hwn yr ydym ni i gael y cyfrif *(logos)*." Gwelwn mai pwys ein barn fydd galw am, a derbyn ein rheswm am, bob peth. A chan bwy y mae yn iawn ymofyn rheswm am ei ymddygiadau, os nad gan y creadur rhesymol?

13 Am hyny na farnwn ein gilydd mwyach: ond barnwn hyn yn hytrach, na bo i neb roddi tramgwydd i'w frawd, neu rwystr.

*Na farnwn, &c.*, yn nghylch y pethau a nodwyd.

Tramgwydd *(proscomma)*. Gwel ar pen. 9, 32, 33. Yr un gair sydd hefyd yn adn. 20 o'r bennod hon. Ei ystyr yw achos neu achlysur o gwymp neu godwm. 1 Cor. 8, 9.

Rhwystr *(skandalon)*, *a trapstick;* sef y wialen gam wrth ba un y mae'r abwyd yn rhwym, yn erbyn yr hon y tery y creadur, ac y tyn arno y fagl *(trap)*. *Trap, gin, snare;* ac yna aeth yr ystyr yn unrhyw beth y tarawo dyn ei droed yn ei erbyn, os tyn efe y fagl arno. Yma, y fagl yw pechod, ac ymddygiad cyfreithlon (ynddo'i hun) y brawd yw y wialen fwäog sy'n tynu y delm neu y groglath am dano. Mae y byd hwn yn frith o faglau diafol. Mae y gelyn drwy hyn yn ennill iddo ei hun y cymmeriad gwaethaf; a'r cymmeriad resaf at eiddo y maglwr uffernol ei hun, yw cymmeriad yr hwn a ddiofal osododd ei hun yn wialen abwyd i'r fagl. Gwel ar Mat. 18, 6, a 24, 10.

14 *Mi a wn, ac y mae yn sicr genyf drwy yr Arglwydd Iesu, ‡nad oes dim yn aflan o hono ei hun: ond i'r hwn sydd yn tybied fod peth yn aflan, i hwnw y mae yn aflan.

* "Canys yr Arglwydd Iesu a'm hysbysodd,"—Stuart. ‡ "Nad oes dim yn aflan drwyddo ef (Crist)," yw y deongliad a oddefa y pum copi henaf, ynghyd â'r awdurdodau trymaf ar y cyfan: lle cawn *autou* yn lle *eautou*; *efe* yn lle *ei hun*. Eithr gwel yr Esboniad. Yr egwyddor a ddysgir yma, yw mai beius mewn dyn yw croesi yr hyn a dybia efe yn ddyledswydd arno.

"Mi a wn, ac yr wyf yn berswadiedig yn yr Arglwydd Iesu;" hyny yw, "yr Arglwydd Iesu, drwy ei ysbrydolhaeth, sydd yn fy sicrhau o'r peth."

*O hono ei hun.* Nid oes un bwyd na diod ynddo ei hun, o ran ei gyfansoddiad na'i natur, yn aflan i'r Cristion, yn yr ystyr ag yr oedd cig moch, &c., yn aflan i'r Iuddew.

*Yn tybied:* os tybia dyn na ddylai efe fwyta neu yfed unrhyw beth, ac os cyfranoga efe o hono, er hyny, y mae efe yn aflanhau ei hun, oherwydd ei fod yn cyflawni yr hyn a dybiai yn bechod. Ei gymmeriad ef, yw dyn yn meddwl mai pechod oedd, ac wrth feddwl hyny, yn ei gyflawni. Yr un modd y gwnaethai efe â'r weithred, hyd yn nod pe buasai hi yn bechod ysgeler. Nid yw ei fod yn gwybod mai pechod yw rhywbeth, yn un attalfa iddo ef ei gyflawni. Mae anwybodaeth o wir foesoldeb gweithred yn peri i ddyn ammau ei ddyledswydd i'w chyflawni. Os gwna efe hi, er oddiar yr amcan o fod yn ufydd i Dduw, ni all hi fod yn rhinwedd ynddo, os pechod ynddo ei hun oedd y peth. Ni wna amcan da un weithred ddrwg yn un rinweddol. Gwelwn, gan hyny, gymmaint yw gwerth gwybodaeth gywir o wir foesoldeb pob peth. Gymmaint mwy sydd o eisieu *dysgu* dynion o'r pwlpudau, nac o'u goglais â hyfrydsain!

15 Eithr os o achos bwyd *y tristeir dy frawd, nid wyt ti mwyach yn rhodio yn ol cariad. ‡Na ddystrywia ef a'th fwyd, dros yr hwn y bu Crist farw.

* "Fel y mae cariad yn gofyn,"—J. Williams. "Y digir dy frawd," medd Esgob Hall, Hammond, Elsner, Carpzov, Schleusner. † "Na wahana oddiwrthyt, &c.," Conquest. Mae dadlu mawr wedi bod rhwng Limborch, Wolf, ac Elsner, yn nghylch pa un a oes yma gyfeiriad at golledigaeth dragwyddol; ond nid i fawr ddyben.

*Tristeir.* Cyfeiriad at y tristwch o hunan-gondemniad a deimlai y brawd, drwy y canlyniad o gael ei annog gan esiampl y llall, i fwyta yr hyn a dybiai efe yn anghyfreithlon; yn enwedig os byddai yr olaf yn uwch o ran swydd a dylanwad nag ef.

NA DDYSTRYWIA *(mê apollue).* Dichon yr ystyr fod yma yn *ofidio, blino;* ond gwell genyf fi, gyda Stuart, yw gadael i'r gair ei ystyr cyffredin: "Na ddod achlysur cwymp i'th frawd, rhag iddo syrthio a dod i ddystryw."

*Dros yr hwn, &c.* Nid dros yr hwn "y rhoddes Crist ei hunan, fel y sicr santeiddiai efe ef" (Eph. 5, 25, 26); eithr "dros yr hwn y bu Crist farw," fel y gosodid ef ar dir derbyn bywyd drwy gredu, a santeiddiad.

drwy waed Crist. (2 Cor. 5, 15). Oni buasai marwolaeth Crist dros y byd, ni fuasai gwaith y byd yn credu o un dyben; yn y dull yna efe a fu farw dros bawb. Er gosod o farwolaeth Crist bawb ar dir efengyl, ni santeiddia ei waed ef neb oll, ond ei eglwys, yr hon yw y rhai a gredant ynddo ef. Marwolaeth Crist sy'n gosod dyn yn gadwadwy: effaith ei waed ef yn gyfiawnhaol sy'n gosod dyn yn gadwedig: crediniaeth sy'n gosod dyn yn gyssylltiadol felly â Christ Iesu. Felly, o hono ef y mae pob peth: o ras yr ydym yn gadwedig. Arddengys diofalwch yr hwn a roddo dramgwydd o flaen ei frawd, nad yw efe o'r un deimlad ato â Christ. Bu efe farw i symud rhwystr oddiar ei ffordd ef. Pan oedd i Grist gadw, hyd yn nod ei fywyd, yn rhwystr achubiaeth y brawd, efe ni fynai gadw y bywyd hwnw. Mae dysgyblion Crist i gydweithredu ag ef yn achubiaeth dynion byd. Cydweithiwr Satan, yn hytrach, yw yr hwn a esyd un peth o'u blaen i beri iddynt syrthio i bechod.

16 Na chabler, gan hyny, *eich daioni chwi.

17 Canys nid yw ‡teyrnas Duw fwyd a diod, ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân.

* "Cyfeirir at ryddid oddiwrth y seremoniau,"—Origen, Theodoret, Bengel. Clarius, Stuart, Grotius, Hammond, Vorstius, Piscator, Estius, Toletus. "Nage: ond at y grefydd Gristionogol yn gyffredinol,"—Chrysostom, Theophylact, Erasmus, Rosenmuiler, Koppe. ‡ "Wrth deyrnas Dduw y meddylir Gristionogaeth," medd Stuart. "Wrth gyfiawnhad y meddylir cyfiawnder,"—Zacharias, Schoettgen, Carpzov, Ammon.

Wrth *ddaioni* yma y meddylir y rhyddid oddiwrth iau caethiwed y seremoniau, ag a gawsent dan yr efengyl. "Ymddygwch (ebe'r apostol) yn y fath fodd ag na chabler y pethau da perthynol i'ch goruchwyliaeth chwi."

"Nid ei bwyd a'i diod yw pethau penaf y deyrnas hon; na ddyweded eich ymddygiadau chwithau, fel pe na bai ynddi ddim yn gymmaint gwerth dadlu yn eu cylch, â bwyd a diod."

*Yn yr Ysbryd Glân.* Mae y cyfiawnder, a'r tangnefedd, a'r llawenydd, i fod yn berthynol i oruchwyliaeth berffaith yr Ysbryd Glan. Nid y cyfiawnder cyfyng ac isel o lygad am lygad, a'r heddwch â phlant Israel yn unig, a'r llawenydd uwchben llwyddiant tymhorol: nid y pethau hyn fel yr oeddynt dan yr Hen Destament, ond fel y maent er yr amser y tywalltwyd yr Ysbryd.

18 *Canys yr hwn sydd yn gwasanaethu Crist yn y pethau hyn, ‡sydd hoff gan Dduw, a chymmeradwy gan ddynion.

* "Yn y peth hwn," yw darlleniad chwech o'r copiau henaf, y Coptaeg, Sahidaeg, Vulgate, beiblau Morgan, Awstin, Beda, a Chrysostom. ‡ 2 Cor. 8, 21.

*Y pethau hyn* oedd y pethau yn nghylch rhyddid bwydydd, diodydd, a dyddiau; yn nghyda thynerwch didramgwydd at wendidau ein brodyr.

19 *Felly gan hyny, dilynwn y pethau a berthynant i heddwch, ‡a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd.

20 §O achos bwyd na ddinystria waith Duw. ||Pob peth yn wir sydd lân: ¶eithr drwg yw i'r dyn sydd yn bwyta drwy dramgwydd.

* Salm 34, 11; Rhuf. 12, 18. ‡ "A gwyliwn dros y pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd," yw darlleniad pedwar copi tra hen, ac ereill, ynghyd â'r Vulgate, a beiblau Awstin, Morgan, Rufinus, &c. § "Wrth waith Duw y meddylir gwaith tufewnol ffydd."—Reiche. || "Bwyta i roddi tramgwydd,"—Hodge, Conquest. "Bwyta gan dybied ei fod yn feius,"—Walford. Mat. 15, 11; Act. 10, 15; Tit. 1, 15. ¶ 1 Cor. 8, 9—12.

*Drwy dramgwydd;* drwy dramgwyddo ei frawd gwan. *Drwy (dia)* o flaen gair yn yr un cystrawiad ag y mae'r *tramgwydd* yma, a arddengys yn aml y dull yn mha un y gwneir y peth; felly yma, dull y brawd diofal hwn o fwyta ac yfed, oedd drwy daflu ei frawd i lawr.

*Drwg,* mewn ystyr foesol, yw y bwyd a'r ddiod iddo.

21 *Da yw na fwytaer cig, ac nad yfer gwin, na dim trwy yr hyn y tramgwydder, ‡neu y rhwystrer, neu y gwanhaer dy frawd.

* "Da yw os na fwyty un, &c.,"—Winer. "Gwell yw, &c.,"—Grotius, Hardy, Rosenmuller. 1 Cor. 8, 13. ‡ Gadewir allan oddiyma hyd ddiwedd yr adnod, o ddau gopi tra hen, yr hen Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg, Ethiopaeg, a rhai beiblau Lladin.

Nid yw efe yn dywedyd "y cig," neu "y gwin," ond *cig* a *gwin* yn gyffredinol; gan hyny, mae y geiriau yn rheol gyffredinol, ac yn gymhwysiadol at unrhyw "gig," unrhyw "win," ac unrhyw "ddim," os bydd y cig, neu y gwin, neu yr unpeth hwnw, yn tramgwyddo, neu yn rhwystro, neu yn gwanhau brawd. Yn mhellach, sylwer fod yr apostol yn eangach a manylach ei reol na hyna etto: "*trwy* yr hwn," ebe efe *(en ō);* hyny yw, trwy yr hyn fel achos, neu fel achlysur—allanol neu dufewnol—o ran amgylchiadau neu gyflwr—yn ol yr hyn, mewn canlyniad i'r hyn, trwy annogiad yr hyn, y delo fel a'r fel i'th frawd. Gwel y Geiriaduron. Am ystyr y gair *Rhwystro,* gwel ar adn. 13.

TRAMGWYDDER *(proskoptei), to strike the foot against, to stumble;* taro y troed yn erbyn, cwympo ar draws, rhywbeth. Darllener Ioan 11, 9, 10; Mat. 4, 6. Yn allegawl, am gwympiad y meddwl yn erbyn rhywbeth, nes syrthio i bechod drwyddo, 1 Pedr 2, 8; Rhuf. 9, 32 (Gwel ar y lle).

GWANHAER *(athenei).* Yma, arferir am y meddwl yn unig: iselhau, gwanhau, hurtio, gosod mewn anmhenderfyniad, mewn ammheuaeth, mewn gofid—y meddwl. Gwel ar adn. 1. Yr un ystyr sydd i'r gair gwreiddiol yn 2 Cor. 11, 21, 29: 1 Cor. 8, 9, 11, 12; Rhuf. 4 19.

Wrth "da *(kalon)* yw," meddylir mai perthynol i'r gyfundrefn Gristionogol yw, ac nid i'r hyn oedd gyfiawn *(dicaios)* yn ol yr hen gyfundrefn. Pregethwr Cristionogaeth oedd Paul; ac yr oedd efe yn cipio pob cyfleusdra i arddangos hyny: ninnau ydym yn cymmysgu yr hen a'r newydd a'u gilydd—y "llygad am lygad," a'r "gwnewch dda i'r rhai a'ch casant"—y cyfiawnder, yr hwn oedd o'r ddeddf, a'r "da yw," sydd

o ffydd. Cododd y Dirwestwyr ymresymiad cryf oddiwrth yr egwyddor hon o eiddo Paul, yr hwn ni chafodd un atebiad, ond drwy ddadlu fod rhyddid gan y Cristion i fwyta ac yfed a fyno; yr hyn nid oedd amgen na gwadu hunanymwadiad a brawdgarwch yr efengyl.

22 *A oes ffydd genyt ti? Bydded hi gyda thi dy hun ger bron Duw. ‡Gwyn ei fyd yr hwn nid yw yn ei farnu ei hun yn yr hyn y mae yn ei dybied yn dda.

* "Y mae ffydd genyt ti. Cadw hi i ti dy hun yn ngolwg Duw,"—J. Williams. Gwadir yr holiad gan Bloomfield. "Ffydd yw sicrwydd,"—Rosenmuller, Schoettgen. Koppe a fyn mai y gyfundrefn a feddylir. ‡ "Yn yr hyn y mae yn ei ganiatâu," Conquest. "Yn ei gymmeradwyo,"—J. Williams. 1 Ioan 3, 21.

Mae y prif feirniaid yn gwadu yr holiad yn nechreu yr adnod hon. "Y mae Ffydd genyt," ynte, yw yr ystyr; hyny yw, "yr wyt wedi cofleidio y ffydd, neu Gristionogaeth; ac os wyt, cymmer ei phrif egwyddorion, yn mha rai y gwahaniaetha hi oddiwrth y ddeddf, sef hunanymwadiad a brawdgarwch pur—gyda thi gerbron Duw, chwiliwr y galon; a gwybydd mai dedwydd fyddi, os nad yw dy gydwybod yn dy gondemnio, pan felly o flaen Duw yn y dirgel, drwy yr hyn yr wyt ti yn ei dybied, ac yn ei ganiatâu i ti dy hun ei gyflawni." Gwyddai Paul yn dda, nad oedd eisieu ar y Cristion, neu yr hwn a gofleidiasai Gristionogaeth, wneyd dim ond dal ei hegwyddorion yn onest rhwng Duw a'i gydwybod, na cheid ef i ymwadu â'i fwyd, diod, a phob peth a allai, er mwyn arbed gofid a niwed i'w frawd.

Yr holl esbonwyr a gytunant i osod *ffydd* yma am sicrwydd, yr hyn a'u gorfodai i osod Paul fel yn gorchymyn i'r brawd cryf gadw ei farn, a'i sicrwydd o honi, oddiwrth ddynion, heb son gair o honi wrth neb. Beth! onid yw pob brawd i ddysgu i bawb bob pwnc a dybio efe yn wirionedd? A yw efe i fwynhau rhyddid yr efengyl oddiwrth seremoniau bwydydd a diodydd, ac onid yw efe, drwy dirioncb a challineb, i ddysgu yr anwybodus, yr hwn sydd wan ar y peth, fel y caffo efe ef i'r un tir diogel ag ef ei hun? Diau ei fod. Yna yr esboniad a roddwyd yma ar yr adnod yw yr unig un a oddefa. Yna cyfundrefn Cristionogaeth yw y *ffydd*, ac nid rhyw dyb yn y meddwl.

Yn ei dybied yn dda *(dokimazei), to have proved, to hold as tried, to judge fit and proper;* wedi profi, barnu yn gymhwys ac addas, unrhyw beth; 1 Cor. 16, 3; 1 Thes. 2 4; Rhuf. 1, 28. "Dedwydd yw yr hwn nid yw yn farnwr (gondemniwr) arno ei hun, yn yr hyn (am yr hyn) y mae efe yn ei brofi a'i farnu yn iawn."

23 Eithr yr hwn sydd yn petruso, ‡os bwyty, efe a gondemniwyd, am nad yw yn bwyta o ffydd. §a pheth bynag nid yw o ffydd, pechod yw.

* Dodir adn. 25—27 o pen. 16, i mewn yma, gan amryw awdurdodau; ond gwel y *Traethawd* ar y diwedd. ‡ "Efe a gondemniwyd gan ei gydwybod ei hun," Conquest. ‡ Casglodd Awstin oddiyma nad oedd gweithredoedd goreu y paganiaid yn ddim ond dysglaer bechodau.

*Petruso ;* dadlu ag ef ei hun. Rhuf. 4, 20; Iago 1, 6. Os ammheua yr hwn a elo â'i grefydd yn gydwybodol gerbron Duw, yn nghylch ei hawl i fwyta neu yfed felly, ac os bwyty efe er hyny, efe a gondemniwyd yn euog o bechod. Nid yw y fath deimlad yn perthyn i'r *ffydd*, neu Gristionogaeth ; ac y mae, o ganlyniad, yn bechod. Gellid gofyn i'r esbonwyr sy'n dywedyd mai sicrwydd yw ffydd yn y man hwn, i ba le y'n harweinid am ffiniau moesoldeb, pe caniateid i ni, fod sicrwydd meddwl dyn anwybodus yn ddigon i gyfiawnhau y weithred a gyfodo oddiar y sicrwydd hwnw? O, nage: y ffydd yma hefyd yw y gyfundrefn. Ei phethau hi yw rhinweddau, y pethau nad ydynt yn ol ei hegwyddorion hi yw pechodau, y byd yn awr.

## Cyfieithad Newydd.—Pen. XIV.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) Yr hwn sydd wan yn y Ffydd derbyniwch yn dirion, nid er mwyn barnu ei dybiau. (2) Y naill sydd, yn ddiau, yn credu hyd fwyta pob peth ; tra mae'r hwn sydd wan yn bwyta llysiau yn unig. (3) Na fydded i'r hwn sydd yn bwyta ddirmygu yr hwn nid yw yn bwyta ; na'r hwn nid yw yn bwyta gondemnio yr hwn sydd yn bwyta ; canys Duw a'i tirion-dderbyniodd ef. (4) Pwy wyt ti, yr hwn wyt yn condemnio gwas un arall? gyda'i arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll neu yn syrthio: eithr sefyll a gaiff efe, canys abl yw Duw i wneuthur iddo sefyll.

(4) Mae y naill yn barnu diwrnod uwchlaw diwrnod, ond y llall sydd yn barnu pob diwrnod: bydded pob un gyflawn-argyhoeddedig yn ei feddwl ei hun. (6) Yr hwn sydd yn gofalu am ddiwrnod, i'r Arglwydd y mae yn gofalu ; a'r hwn nid yw yn gofalu am ddiwrnod, i'r Arglwydd y mae'n peidio gofalu. Yr hwn sydd yn bwyta, i'r Arglwydd y mae yn bwyta ; a'r hwn nid yw yn bwyta, i'r Arglwydd y mae yn peidio bwyta, a diolch y mae i Dduw. (7) Canys nid oes un o honom yn byw iddo ei hun, nac un yn marw iddo ei hun ; (3) canys pa un bynag yr ydym, ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw: gan hyny, pa un bynag ai byw ai marw'r y'm, eiddo'r Arglwydd ydym. (9) Canys bu Crist farw a byw eilwaith er mwyn hyn,---fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd.

(10) Ond tydi, paham yr wyt yn condemnio dy frawd? neu tithau, paham yr wyt yn dirmygu dy frawd? canys gosodir ni oll i sefyll gerbron brswdle Crist; (11) canys y mae'n ysgrifenedig, "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, i mi y plyga pob glin, ac y cyffesa pob tafod i Dduw." (12) Gan hyny, rhaid i bob un o honom roddi cyfrif drosto ei hun i Dduw.

(13) Am hyny, na farnwn mwyach ar ein gilydd ; ond penderfynwn yn hytrach hyn, i beidio rhoddi tramgwydd neu rwystr i'r brawd [dan sylw]. (14) Mi a wn, a sicr yw genyf yn yr Arglwydd Iesu, nad aflan un-peth drwyddo ef: yn unig i'r hwn sy'n tybied fod peth yn aflan, y mae efe yn aflan. (15) Eithr os oherwydd bwyd y tristeir dy frawd, uid wyt ti mwyach yn rhodio yn ol cariad. Na ddystrywia ef a'th fwyd, dros yr hwn y bu Crist farw. (16) Na fydded i'ch daioni chwi, gan hyny, gael ei gablu ; (17) canys nid bwyd a diod yw teyrnas Duw, ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân.

(18) Yn awr, mae yr hwn sydd yn gwasanaethu Crist, o ran y pethau hyn, yn anwyl gyda Duw, a chymmeradwy gyda dynion. (19) Felly gan hyny, dilynwn y pethau sy'n heddwch, a'r pethau sy'n adeiladaeth, i'n gilydd. (20) Na ddinystria waith Duw o achos bwyd. Diau mai glân pob peth, eithr drwg i'r dyn sydd drwy dramgwydd yn [eu] bwyta. (21) Da yw y peidio bwyta cig, a pheidio yfed gwin, a pheidio [ag un peth], drwy yr hwn y tramgwyddir, neu y rhwystrir, neu y gwanheir dy frawd.

(22) Y mae ffydd genyt ti; bydded [ynte] gyda thi dy hun gerbron Duw. Gwyn ei fyd yr hwn nid yw yn ei gondemnio ei hun am yr hyn a gymmeradwya! (23) Canys yr hwn sydd yn petruso a gollfarnir, os bwyty, am nad [yw efe] berthynol i Ffydd; oblegid beth bynag nad yw berthynol i Ffydd, pechod yw.

---

## PENNOD XV.

ANYNI y rhai ydym gryfion, *a ddylem gynnal gwendid y rhai gweiniaid, †ac nid rhyngu ein bodd ein hunain.

* "Cyd-ddwyn â, cyd-oddef,"—Stuart. Cymh. Gal. 6, 2; Dat. 2, 2. † 1 Cor. 9, 22.

*Y cryfion* oedd y rhai dibetrus yn nghylch y bwydydd a'r diodydd; *y gweiniaid*, oedd y lleill. Gwel esiampl Paul ei hun yn 1 Cor. 9, 22.

2 *Boddhaed pob un o honom ei gymmydog yn yr hyn sydd dda iddo er adeiladaeth.

3 †Canys Crist nis boddhaodd ef ei hun; eithr megys y mae'n ysgrifenedig, ‡Gwaradwyddiadau y rhai a'th waradwyddent di a syrthiasant arnaf fi.

* "Yr hyn er daioni crefyddol,"—Ammon. 1 Cor. 10, 22; Phil. 2, 4, 5. † Mat. 26, 39; Ioan 5, 30, a 6, 38. ‡ Salm 69, 9.

Rhag i'r brawd cryf ddadlu, ei fod ef drwy wasgu ar y gwan i fwyta, yn ei dynu at yr hyn sydd dda, ac o ganlyniad, yn gwneyd ei ddyledswydd; gofalodd Paul am ychwanegu "er adeiladaeth;" oherwydd byddai y cyfryw ymddygiad, er fe allai, yn ddigon da ynddo ei hun, yn aflesiol, ac yn tueddu i ddinystr yn fwy nag i adeiladaeth. Cerydd anamserol nid yw yn debyg o lesâu.

Esiampl Crist yw y rheol. Pan gyfodo dadl yn nghylch dyledswydd Cristion mewn amgylchiad neillduol, ni raid ond edrych ar yr hyn a wnaeth Crist dan yr unrhyw amgylchiad, a cheir goleuni fel llewyrch haul ar y llwybr yn y fan. Felly yma. Dyfynwyd allan o Salm 69, 10.

4 *Canys pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt, fel trwy amynedd a dyddanwch yr ysgrythyrau, y gallem gael gobaith.

* 1 Cor. 9, 9, 10, a 10, 10; 2 Tim. 3, 16, 17.

*O'r blaen;* neu yn yr hen amseroedd. Dygwyd yr ymresymiad hwn i mewn, rhag y dywedai rhywun, mai i Dafydd ac nid i *ni*, y perthynai y dyfyniad a nodwyd.

Addysg *(didaskalia), instruction, warning;* addysg, rhybydd. Yr *amynedd* a'r *dyddanwch* y darllenir am danynt yn yr ysgrythyrau.

5 *A Duw yr amynedd a'r dyddanwch a roddo i chwi synied yr un peth tuag at eich gilydd yn ol Crist Iesu.

6 †Fel y galloch yn unfryd o un genau, ogoneddu Duw, a
Thad ein Harglwydd Iesu Grist.
7 ‡Oherwydd paham derbyniwch eich gilydd, megys ag y der-
byniodd Crist ninnau, §i ogoniant Duw.

* Rhuf. 12, 16; 1 Cor. 1, 10; Phil. 3, 16. † "Cyfeirir yma at hen ffurfiau gweddi a mawl,"—Grotius, er yn hollol ddychymmygol. Act. 4, 24, 32. ‡ Megys y derbyniodd Crist chwi," yw darlleniad saith o'r copiau henaf, a llawer ereill, heblaw y Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg, Armenaeg, Gothaeg, Slavonaeg, Vulgate, a rhai Lladin ereill. Felly y derbynir yn lled gyffredinol, bellach. "Cyfeirir at gymmundeb eglwysig,"—Doddridge, Macknight, Slade, Bloomfield. Rhuf. 14, 1, 2. § "Y gogoniant a gyfrana Duw,"—Tholuck, Heb. 2, 10; Rhuf. 5, 2. "Er mwyn i Dduw gael gogoniant,"—Stuart.

Y Duw sy'n cyfranu amynedd, &c. Wrth *ddyddanwch* yma y meddylir annog i hunanymwadiad er mwyn dyddanwch rhai ereill. *Yn ol* Crist, yw yn ol yr esiampl a nodwyd o'i eiddo ef.

Wele ymadrodd cynnwysfawr i arddangos undeb eglwysig.

A THAD *(kai Patera)*. Mae y *kai (a)* yma yn eglurhaol. Gwel Brets. *Lex. kai*, 2 *b*. Mae y cyfryw yn briod-ddull cyffredin yn y Testament Newydd; cymharer 1 Pedr 1, 3; 2 Pedr 1, 11, a 2, 20; Phil. 4, 40; Eph. 1, 5; Col. 3, 17, Ar yr amgylchiadau hyn, pan fyddo yr *ac* yn eglurhaol ac nid ychwanegol, gadewir allan y fannod o flaen yr ail enw, megys yma o flaen y gair *Tad*. Felly y cyfeiriadau uchod a ddarllenant fel hyn: "Bendigedig fyddo yr hwn sydd Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist." "I deyrnas yr Hwn yw ein Harglwydd ac Iachawdwr, Iesu Grist." "Trwy wybodaeth yr Arglwydd ac Iachawdwr, Iesu Grist." "I'r Hwn sydd Dduw a Thad i ni y byddo y gogoniant."

AM HYNY *(dio)* sydd yn cyfeirio at yr hyn oll a ddywedwyd am ymarhoad a thiriondeb Cristionogol. Wele etto esiampl Crist i'w dilyn. Pan gyfodo y Cristion oddiar ei liniau, ar ol cael derbyniad croesawus gan Grist, mae ganddo reol yn y fan, wrth yr hon yr ymddyga yntau at ei frodyr. Felly, mae y gyfundrefn nefol hon yn hau goleuni ar lwybr y Cristion yn ddiattal. O, mor hawdd fydd adnabod ein dyledswydd yn y nef! Ymddygiadau Crist ydynt yno yn pelydru allan, fel llewyrch haul gweniadol a diysbydd, ar bob amgylchiad sy'n dygwydd, nes nad oes eisieu ar neb un amser i betruso mynydyn, na dyfeisio modd i fyned yn mlaen, heblaw ei efelychu ef yn dragywydd. Nid am nad oes yno fyrdd o gylymau newyddion mewn egwyddorion yn aros i'w dattod, myrdd o bertnynasau newyddion yn aros i'w hesbonio, myrdd o seliau newyddion yn aros i'w tori, a myrdd o rawnsypiau newyddion, oddiar winwydden anfeidrol cydgordiad y perffeithiau dwyfol, yn aros i'w gwasgu; eithr, gesyd efe ei hun mor hwylus yn ganolbwynt bob dattodiad, yn gyfrwng pob symudiad, teimlad, gogoneddiad, a dyrchafiad, nes na raid ond tremio arno na byddwn yn y fan yn teimlo ei deimladau, ac yn ymogoneddu yn ei ogoneddiad. Fel y mae trem a chyffyrddiad â'i waed rhinweddol ef yn awr, yn creu bywyd ac iechyd ysbrydol; felly y bydd ei holl

berson, a'i holl berffeithiau, yn un ffynnonell o ogoniant a dedwyddwch yno. Y cyfryw yw y lle a gaiff Iesu yn y nef, ar ol perffeithiad ei eglwys; y cyfryw a haeddai efe yn yr eglwys hóno yn awr, er mwyn ei pherffeithio; a'r cyfryw a raid iddo gael cyn byth y tynir y byd colledig i mewn iddi!

---

§ 4. FOD GOSODIAD PAUL YN Y SWYDD ARBENIG O APOSTOL Y CENEDLOEDD, YN GYDUNOL A'R PROPHWYDOLIAETHAU IUDDEWIG, AC WEDI EI BROFI MEWN FFAITH GAN Y NERTHOEDD APOSTOLAIDD A WEINYDDASAI EFE, AC YN EI RWYMO EF I DALU YMWELIAD A RHUFAIN HEFYD. PEN. XV, 8—33.

MAI gweinidog i'r Enwaediad oedd Crist (adn. 8); ond fod ynghyd â'r addewidion a wnaethid i'r tadau, gogyfer â chydoeswyr Iuddewig Paul, rai ereill wedi eu gwneuthur iddynt gogyfer â'r Cenedloedd, yn y Salmau (9, 10, 11), ac Esaias (12). Er nad oedd efe yn ammau eu bod hwy yn mwynhau gras, ac yn ymarweddu yn ol rheolau, yr efengyl (13, 14); etto, oherwydd ei ymddiriedaeth oruchel fel apostol y Cenedloedd (15), yr hon a brofwyd yn perthynu iddo (19—21), efe, wrth fyned i'r Hispaen (24), ar ol myned o hono yn gyntaf i Jerusalem (25), gyda'r casgliad cyffredinol i'r tylodion yno (26, 27)—efe, meddai, a ddeuai heibio Rhufain (28); a gwyddai y byddai ganddo gynnysgaeth neillduol iddynt (29). Yna, gyda dymuniad am ran yn eu taer weddiau (30, 31), y mae efe yn gorphen ein cyfran hon o'r epistol gyda'i fendith arferol (33).

8 *Ac yr wyf yn dywedyd wneuthur Iesu Grist yn weinidog i'r enwaediad, †er mwyn gwirionedd Duw, er mwyn cadarnhau yr addewidion a wnaethpwyd i'r tadau.

* "Yn ddarostyngedig i enwaediad,"—Walford. Mat. 15, 21; Ioan 1, 11; Act. 3, 25, 26. † Rhuf. 3, 3; 2 Cor. 1, 20.

GWEINIDOG *(diaconos)*. Efe a ddaeth i wasanaethu *(diaconeô)*, Mat. 20, 28. Gwel ar pen. 11, 13.

*Enwaediad*, a arferir yn aml am y rhai enwaededig, yr Iuddewon, megys yn pen. 3, 30, a 4, 9, 12; Gal. 2, 7—9; Eph. 2, 11; Col. 3, 11. Yn 2 Cor. 11, 15, cawn weinidogion cyfiawnder; yn Gal. 2, 17, weinidog pechod; yn Eph. 3, 7, weinidog yr efengyl; yn Col. 1, 23, yr un peth. Felly, wrth *weinidog* yma y meddylir gwas mewn swydd neu ymddiried gyda golwg ar y peth o nodir. Gyda golwg ar yr Iuddewon yn unig y gosodwyd Crist yn weinyddwr gwirionedd, megys ag y gosodwyd Paul gyda golwg ar y Cenedloedd.

ER MWYN *(uper, with Gen.)* Yma cawn fod Crist yn weinidog i'r Iuddewon, er mwyn *Gwirionedd* Duw; ond dywed yr adnod nesaf fod ei *drugaredd* yn nghadw i'r Cenedloedd. Cadarnhau yr hyn a addawsid i'r tadau a wnaeth efe i'r Iuddewon. Addawsid i'r tadau Iuddewig, er ys oesoedd, y caffai eu had hwynt y cynnyg cyntaf ar freintiau y deyrnas. Gwyddai Crist yn dda mai ofer, o'r bron yn hollol, fuasai difa amser gyda hwynt; etto, er mwyn gwirionedd Duw, efe a ddaliodd at ei weinidogaeth. *Addewidion y tadau* yw yr ymadrodd gwreiddiol, am y rhai a dderbyniasai y tadau.

9 *Ac fel y byddai i'r Cenedloedd ogoneddu Duw am ei drugar-
edd; fel y mae yn ysgrifenedig, †Am hyn y cyffesaf i ti yn mhlith
y Cenedloedd, ac y canaf i'th enw.
10 A thrachefn y mae yn dywedyd, ‡Ymlawenhewch, Genedl-
oedd, gyda'i bobl ef.
11 A thrachefn, §Molwch yr Arglwydd yr holl Genedloedd, a
chlodforwch ef yr holl bobloedd.
12 A thrachefn, y mae Esaias yn dywedyd, ||Fe fydd gwreiddyn
Jesse, a'r hwn a gyfyd i lywodraethu y Cenedloedd: ynddo ef y
gobeithia y Cenedloedd.

* Ioan 10, 16; Rhuf. 9, 23. † Salm 18, 49. ‡ Deut. 32, 43. § Salm 117, 1. || Esay 11, 1, 10; Dat. 5, 5; a 22, 16.

Yr enwaediad oherwydd *(uper)* gwirionedd Duw; ond y Cenedloedd oherwydd *(uper)* trugaredd Duw; dyna drefn y ddau ymadrodd cydmhariaethol yn y ddwy adnod hyn. Gwel ar adn. 8. Yr enwaediad ni fynent ogoneddu trugaredd. Ni chaniataent fod anfoniad Iesu o Nazareth atynt yn fath yn y byd o drugaredd. Rhagwelodd Duw y prophwydi hyny, ac ni ragddywedodd y gwnaent yn amgen i'r hyn, mewn ffaith, a wnaethant; etto, efe a ragddywedodd y cadarnhâai gweinidogaeth Crist yn mysg yr enwaediad, wirionedd Duw i'r tadau; ac felly y gwnaeth. Dyfynwyd o Salm 18, 49; Deut. 32, 43; Salm 117, 1; Esay 11. Cymhwysid y gyntaf a'r olaf o'r dyfyniadau hyn gan y Rabbiniaid Iuddewig eu hunain, at y Messia.
*Gwreiddyn Jesse.* Arferir y gair gwreiddiol sydd yma am wreiddyn, yn aml am flaguryn, medd Rosenmuller ar Esay 11, 10. Gwel hefyd Esay 53, 2; Hos. 14, 6.

13 *A Duw y gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thang-
nefedd gan gredu, fel y cynnyddoch mewn gobaith trwy nerth yr
Ysbryd Glân.

* "Gan gredu," a adewir allan o bump hen gopi, a'r Armenaeg. Rhuf. 12, 3, a 14, 17.

*Duw y gobaith.* Paham dywedyd, Duw y *gobaith* mwy na Duw rhyw ras arall? Yr ateb yw; Am ddyfynu o hono yn yr adnod flaenorol, am obaith y Cenedloedd, allan o'r prophwyd, mae efe yma yn dymuno cyflawniad o'r brophwydoliaeth werthfawr a ddyfynasai efe, i'r Cenedloedd Cristionogol yn Rhufain. Sylwn etto, na allasai Paul gydag un priodoldeb, gymhwyso prophwydoliaeth, yr hon a gyhoeddai mai yn mlaguryn Jesse y byddai gobaith y Cenedloedd, at Dduw; oni buasai ei fod yn ystyried yr Hwn oedd yn y naill gymmeriad yn flaguryn Jesse, yn y llall yn Dduw y gobaith. Ie, dyfyna Paul ymadrodd sy'n addaw gobaith i'r holl genedloedd yn Nghrist, fel sail i ddysgwyl bendithion y gobaith hwnw i'r Rhufeiniaid; ac ar yr un pryd, pa

beth oedd teitl y gwrthddrych yn awr, ond "Duw y gobaith!" Yr hwn yn llewyrch yr Hen Destament, a welid gan y prophwyd, yn flaguryn Jesse; yw yr hwn yn llewyrch mwy y Testament Newydd, a welid gan yr apostol, yn Dduw y gobaith. Y brophwydoliaeth oedd, "Yn mlaguryn Jesse y gobeithia'r Cenedloedd;" eithr y cyflawniad yw, "Duw y gobaith a'ch cynnyddo mewn gobaith drwy nerth yr Ysbryd Glân." Cofiwn hefyd, mai esboniad apostol ysbrydoledig yw hwn.

14 *Ac yr wyf fi fy hun, fy mrodyr, yn credu am danoch chwi, eich bod chwithau yn llawn daioni, †wedi eich cyflawni o bob gwybodaeth, ac yn abl i rybuddio eich gilydd hefyd.

* 2 Pedr 1, 12; 1 Ioan 2, 21. † 1 Cor. 8, 1, 7, 10.

"Hyd yn nod myfi, yr hwn wyf yn eich rhybuddio fel hyn, wyf yn credu, &c." Cyfeiriai at y wybodaeth o ryddid Cristionogion oddiwrth seremoniau Moses.

15 Eithr mi a ysgrifenais yn hyfach o beth atoch, O frodyr, fel un yn dwyn ar gof i chwi, ‡trwy y gras a roddwyd i mi gan Dduw.

16 §Fel y byddwn weinidog i Iesu Grist at y Cenedloedd, gan weini i efengyl Duw, fel y byddai offrymiad y Cenedloedd yn gymmeradwy, wedi ei santeiddio gan yr Ysbryd Glân.

* Rhuf. 1, 5, a 12, 3; Gal. 1, 15; Eph. 3, 7, 8. ‡ Rhuf. 11, 13; Gal. 2, 7, 8, 9; 1 Tim. 2, 7; 2 Tim. 1, 11. § Esay 66, 20; Phil. 2, 17.

Gan weini *(hierourgounta)*, cyflawni swydd offeiriad mewn perthynas i efengyl Crist; sef, cyflawni ar y Cenedloedd yr hyn a gyflawnai yr offeiriaid ar yr offrymau; "fel y caffai'r Cenedloedd eu hoffrymu i Dduw, pa rai yr wyf fi fel eu hoffrymwr, yn gyflwyno, fel rhai wedi eu cyssegru, neu buro, drwy yr Ysbryd Glân."

17 Y mae i mi gan hyny orfoledd yn Nghrist Iesu, *o ran y pethau a berthyn i Dduw.

18 ‡Canys ni feiddiaf fi ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Crist trwof fi, i wneuthur y Cenhedloedd yn ufydd ar air a gweithred.

19 §Trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth Ysbryd Duw, hyd pan o Jerusalem, ac o amgylch hyd Ilyricum, y llenwais efengyl Crist.

* Heb. 5, 1. ‡ "Rhaid mai Duw oedd Crist, onide ni allasai efe weithredu y cyfryw bethau drwy un dyn,"—Pye Smith. § Act. 19, 11; 2 Cor. 12, 12. "Gan nerth yr Ysbryd Glân," yw darlleniad chwech o'r copiau henaf, a'r rhan fwyaf o'r hen gyfieithiadau: ac felly y darllenir mwyach. "Cyfeirir at nerthoedd gwyrthiol,"—

Chrysostom, Theodoret, Erasmus. "Cyfeirir at brophwydoliaeth, a thafodau,"—Beza, Grotius, Tholuck.

Drwy y llwyddiant a barasai Crist ar ei lafur.

"Canys nid wyf, wrth ddywedyd hyn, yn bwriadu hawlio un clod drwy bethau a'r nas gwnaeth Crist drwof fi, (mewn trefn i ennill y cenedloedd yn ufydd,) drwy bregethu ac egnion personol ereill."

Cyplir arwyddion a rhyfeddodau ar ddull yr Hen Destament. Wrth *arwyddion* golygir profion gwyrthiol tueddol i argraffu argyhoeddiad ar y meddwl; ar wrth *ryfeddodau*, y dygwyddiadau rhyfeddol, pa rai a lanwent y meddwl ag arswyd. Profai y ddau fod llaw Duw yn cydweithredu â gweinidogaeth yr apostol, canys drwy allu Ysbryd Duw y gwneid hwynt.

Y LLENWAIS *(peplerokenai)*, cyflawn-gyhoeddi, megys yn Col. 1, 25. Gwelwn fod Paul wedi llenwi yr holl fanau a nodir â'r efengyl. *Illyricum* oedd dalaeth yn cael ei ffinio o du y dwyrain gan yr afon Danube, y gogledd gan gyfran o Itali a Germani, y deau gan Macedonia, a'r gorllewin gan yr Adriatic. Cyferbynia i'r gwledydd a elwir yn awr yn Croatia a Dalmatia; a hi oedd terfyn eithaf y bobl a elwid yn Roegiaid. Cylch pregethiad Paul a gyrhaeddai, gan hyny, fel ei dysgrifir yma, o eithaf gogledd-orllewin barth gwlad y Groegiaid, hyd at Jerusalem, ac o'i hamgylch; hyny yw, cynnwysai holl wlad Groeg, yn ystyr helaethaf y gair, Asia leiaf, ynysoedd Groeg, y wlad rhwng Asia leiaf a Jerusalem; sef, Phenicia, Syria, a chyfran o Arabia. Cymharer Act. 9, 20; Gal. 1, 16, 17. Aeth drwy hyn oll mewn pymtheg mlynedd; o'r hyn a gawn yn Act. 9, 30, hyd amser ysgrifeniad yr epistol hwn. Eithr am lafur Paul a'r apostolion ereill, gwel ar Mat. 24, 14.

20 Ac felly gan ymorchestu i bregethu yr efengyl, nid lle yr enwid Crist; *fel nad adeiladwn ar sail un arall.

* 2 Cor. 10, 13, 15, 16.

YMORCHESTU *(philotimoumenon)*, gan gryf-chwennychu; ystyr y gair yw dymuno fel yn anrhydedd, ystyried yn urddasol; oddiwrth yr hyn y tardd yr ail arwyddocâd.—mawr-chwennychu, diffuant, dibaid, gwresog-chwennychu.

Nid yn gymmaint lle yr enwid Crist o'r blaen. Diau ei fod yn llawer anhawddach wynebu ar faes llawn o ddrain a mieri, nag ar randir y bo diwylliaeth wedi dechreu ei threfnu; felly yr oedd yn gofyn cryfach penderfyniad, a dewrach calon, i wynebu ar wlad lle nad oedd clust o'i mewn wedi clywed sain hyfryd enw Ceidwad, nag i sefyll i fyny drosto, lle yr oedd efe wedi eisoes chwalu ei fendithion ac ennill ei gymmeriad. Felly, rhesymol yw meddwl, a sicr yw hefyd, yn ol egwyddorion dadguddiedig teyrnas nefoedd, fod Brenin y deyrnas yn caru yn fwy, ac yn ymdoiried mwy i, ac yn gofalu am wobrwyo yn uwch—y sawl a feddo y penderfyniad hwn, i ymosod ar deyrnas y tywyllwch yn ei nerth, na'r hwn a elo ar ei ol, i ladd y clwyfedigion a'r hanner marw gan ergydion moesol yr ymosodwr cyntaf. Pa gamp

uchel bynag a feddai galwedigaeth apostolaidd Crist, anfoddlon oedd mynwes Paul, onis meddai obaith am ei chyrhaedd. Mae gan Grist, *pan y mae efe yn gweled eglwys yn werth ei harddel*, filwyr cyfaddas a phrofedig at bob gwaith. Gellir dywedyd yr un peth am enwad o Gristionogion yn ogystadl. Ac anrhydedd penaf ei deyrnas ef, a gwledd fawr ei fuddugoliaeth ef, a gedwir i'r gwyr a dorasant dir newydd, yn nhiriogaethau, naill ai eilunaddoliaeth, ynte anwybodaeth, ynte cyfeiliornadau, ynte urddasol bechodau yr oes. Ac, O, y lle bach, y wobr ysgafn, y sylw anaml mewn cydmhariaeth, a gaiff y dosbarth hwnw o weision cyhoeddus Crist, sydd yn arbed pechodau y rhai a'u parchant, yn aros hyd nes yr ymosodo rhywun arall o'u blaen, ar bechod anwyl aelodau moethus ein heglwysi, neu ar gyfeiliornadau llygredig a mall ein credoau.

21 Eithr megys y mae yn ysgrifenedig, *I'r rhai ni fynegwyd am dano, hwynthwy a'i gwelant ef; a'r rhai ni chlywsant, a ddeallant.

22 ‡Am hyny hefyd y'm lluddiwyd yn fynych i ddyfod atoch chwi.

* Esay 52 15. ‡ Pen. 1, 13; 1 Thes. 2, 17, 18.

Dyfynir allan o Esay 52, 13. Ystyr foesol sydd i'r *gweled* a'r *clywed* hyn.

Sef, oherwydd ddarfod i'r Rhufeiniaid gael yr efengyl eisoes drwy rywun arall, ac oherwydd fod y dasg o dori cymmaint o dir newydd ganddo, yn attalfa iddo allu galw heibio Rhufain. Nid oedd efe hyd yma wedi cael amser i wneyd dim ond planu eglwysi. Cymmaint o rym Ysbryd Crist oedd wedi ei grynhoi i benderfyniad y dyn hwn!

23 *Eithr yr awrhon, gan nad oes genyf le mwyach yn y gwledydd hyn, a hefyd fod arnaf hiraeth er ys llawer o flynyddoedd am ddyfod atoch chwi;

23 ‡Pan elwyf i'r Hispaen, myfi a ddeuaf atoch chwi. Canys yr wyf yn gobeithio wrth fyned heibio y caf eich gweled, a'm hebrwng genych yno, os byddaf yn gyntaf o ran wedi fy llenwi o honoch.

* "Lle mwyach i lafurio, &c.,"—Conquest. ‡ "Myfi a ddeuaf atoch chwi," nid yw yn y copi Groeg henaf, y Syriaeg, Arabaeg, Copaeg, Ethiopaeg, Armenaeg, Vulgate, &c., a gwrthodir gan yr awdurdodau. Felly y *canys* dilynol hefyd. "O ran wedi fy adfywio genych,"—Conquest.

Lle *(topos)*. Arferir yn ffigwrol am gyfleusdra; eithr, o'i ddeongli felly, gwelwn nad oedd gyfleusdra yn y gwledydd hyny, iddo gael y fraint o blanu eglwys, canys efe a blanasai eglwysi eisoes yn mhob man lle yr oedd preswylwyr.

Gwledydd *(klima*, gwlad). *climate, clime, region;* un o raniadau y ddaear rhwng y pegynau; rhenid yr holl glôb yn saith o'r dosbarth-

iadau hyn. Ceir hefyd yn Gal. 1, 21; a 2 Cor. 11, 10. Amlwg yw, mai ystyr y gair yn y Testament Newydd yw gwlad neu dalaeth eang.

*Hiraeth er ys llawer o flynyddau;* sef. debygid, er y pryd ag y cafodd efe hysbysiad gan Aquila a Phriscilla, yn nghylch eglwys Rhufain, yr hyn oedd dros bedair blynedd.

Ar pa un a allodd Paul gyflawni y daith hon i'r Hispaen, ai peidio; Gwel y *Traethawd* ar y diwedd.

*Hebrwng.* Cyfeiria yr apostol yma at arferiad yr eglwysi, pan ymadawai cenadau efengyl oddiwrthynt. o anfon eu henuriaid, &c., i'w hebrwng hwynt dros ryw ran o'r daith; cymharer Act. 15, 3, a 17, 14, 15, a 20, 38, a 21, 5.

Nid yw yr apostol yn dywedyd, pan gaffai efe ei lenwi o'u cymdeithas: buasai hyny yn bwrw y gallasai efe flino arnynt. "*O ran* wedi fy llenwi," ebe efe, fel pe nad oedd bosibl iddo byth fwynhau gormod ar eu cyfeillach.

25 Ac yr awrhon *yr wyf fi yn myned i Jerusalem, i weini i'r saint.

* Act. 19, 21, a 20, 22, a 24, 17.

*Gweini:* ystyr y gair yw darparu a gosod ymborth ar y bwrdd: eithr arwyddocâ hefyd yn ei ystyr cyffredinol, "gweini i gysur rhai ereill. naill ai drwy gyfraniadau o arian. ynte o angheurheidiau ereill, er eu cynaliaeth." Felly y gair yn Luc 8, 3; 2 Cor. 8, 19; Heb. 6, 10.

26 *Canys rhyngodd bodd i'r rhai o Macedonia ac Achaia, wneuthur rhyw gymhorth i'r rhai tylodion o'r saint sydd yn Jerusalem.

27 Canys rhyngodd bodd iddynt, a'u dyledwyr hwy ydynt. †Oblegid os cafodd y Cenedloedd gyfran o'u pethau ysbrydol hwynt, hwythau hefyd a ddylent weini iddynt hwythau mewn pethau cnawdol.

* 1 Cor. 16, 1, 2; 2 Cor. 8, 1, a 9, 2, 12. † Pen. 11, 17. ‡ 1 Cor. 9, 11; Gal. 6, 6.

*Cymhorth* (*koinonia*), *communication, distribution;* cyfraniadau. 2 Cor. 9, 13; Heb. 13, 15. *Rhyngodd bodd.* Darllener 1 Thes. 2, 8; Luc 42, 32; Gal. 1, 15; Col. 1, 18. "Canys yr wyf yn cyfaddef mai o'u hewyllys da, heb un gorfodaeth, y gwnaethant; etto dyledwyr iddynt ydynt."

28 Wedi i mi gan orphen hyn, *a selio iddynt y ffrwyth hwn, mi a ddeuaf heiboch i'r Hispaen.

* "A rhoddi i fyny yn ddiogel iddynt y ffrwyth hwn,"—Hodge. Phil. 4, 17.

*Y ffrwyth* a dyfasai ar eu hewyllys da crefyddol hwynt.

*Selio;* arferir i gadarnhau cyfammod neu addewid, er mwyn iddi

ateb ei dyben yn ddiffael; felly yr apostol yma, ni fynai adael ei orchwyl ar ei hanner, eithr cludai yr arian i ben eu taith; ac ni ddychwelai nes gweled y saint tlodion yn Jerusalem yn cyfranogi o honynt: ffyddlondeb a diwydrwydd tra theilwng o efelychiad.

29 *Ac mi a wn pan ddelwyf atoch, y deuaf a chyflawnder bendith efengyl Crist.

* Gadewir allan y gair *efengyl* o'r chwe chopi henaf, y Coptaeg, Ethiopaeg, Armenaeg, ac amryw gyfieithiadau ereill. Felly gadewir allan gan yr awdurdodau yn awr. Rhuf. 1, 11.

Cyfeirir at ddoniau cysurlawn, adeiladol, addysgiadol, athrawiaethol, iachaol, &c.; megys doniau newyddion nas cyfranasid iddynt o'r blaen; ynghyd â graddau ychwanegol o'r doniau oedd eisoes yn eu meddiant.

30 Eithr yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, *ac er cariad yr Ysbryd, †ar gydymdrech o honoch gyda myfi mewn gweddiau drosof fi at Dduw;

* Phil. 2, 1. † 2 Cor. 1, 11; Col. 4, 12.

*Trwy yr Arglwydd, &c.;* sef o gariad a pharch iddo ef.

*Trwy gariad yr Ysbryd;* sef, y cariad newydd, hunanymwadol, a ddygasai Crist i'r byd, yr hwn a berthynai yn unig i oruchwyliaeth yr Ysbryd.

Pwy ag a ddarlleno yr ymadrodd olaf hwn, a all ammau fod gweddiau y naill Gristion yn dwyn cynnorthwyon effeithiol i Gristion arall, gannoedd o filldiroedd oddiwrtho? Pwy, ag a ystyria fynyd ar y gyfundrefn, sy'n gallu cludo dymuniadau da y naill frawd i'r llall, na orfodir i gyfaddef fod undeb agos a gwerthfawr rhwng yr holl saint a'u gilydd? Ac am yr ymdrechu (*agonizomai*) mewn gweddi, a'r cydymdrechu (*sunagonizomai*) ag ereill fo yn mhell, pa beth sydd ynddynt nas gall y Cristion gwanaf ei gyflawni? Ond, O, leied o gydymdrechu o'r fath sydd rhwng y naill a'r llall o Gristionogion Cymru!

31 *Fel y'm gwareder oddiwrth y rhai anufydd yn Judea; †ac ar fod fy ngweinidogaeth, yr hon sydd genyf i Jerusalem, yn gymmeradwy gan y saint.

32 *Fel y delwyf atoch mewn llawenydd, †trwy ewyllys Duw, ‡ac y'm cydloner gyda chwi.

33 *A Duw yr heddwch fyddo gyda chwi oll, Amen.

* 2 Thes. 3, 2. † 2 Cor. 8, 4.

* "Trwy ewyllys Crist Iesu," yw darlleniad pedwar copi hen iawn. Rhuf. 1, 10. † Act. 18, 21; 1 Cor. 4, 19; Iago 4, 15. ‡ 1 Cor. 16, 18; 2 Cor. 7, 13; 2 Tim. 1. 16.

* Gadewir allan yr *Amen* o dri chopi tra hen, a rhai ereill. Rhuf. 16, 20; 1 Cor. 14, 33; 2 Cor. 13, 11; Phil. 4, 9; 1 Thes. 5, 23; 2 Thes. 3, 16; Heb. 13, 20.

Nid yw efe yn dymuno eu gweddiau i'w wared rhag cael ei erlid,

ond rhag cael ei attal ar ei daith, a'i yspeilio o'i gynnysgaeth i'r tlodion. Ofnai hefyd na byddai y casgliad a ddygai efe iddynt, yn gymmeradwy gan yr holl saint Iuddewig, oherwydd grym eu rhagfarn tuag ato, fel apostol y Cenedloedd, a dinystrydd diarbed Moeseniaeth, ac oherwydd fod yr arian yn gyfraniadau brodyr dienwaededig.

## CYFIEITHIAD NEWYDD.—PEN. XV.

[Gofalwyd am osod pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) OND nyni, y rhai ydym gryfion, a ddylem ddwyn y gwendidau [a nodwyd o eiddo] y gweiniaid, ac nid rhyngu ein bodd ein hunain. (2) Am hyny, boddhaed pob un o honom ei gymmydog, hyd y mae yn dda at adeiladaeth. (3) Canys hyd yn nod Crist nis boddhaodd ei hun: eithr [gydag ef yr oedd] megys y mae yn ysgrifenedig, "Gwaradwyddiadau y rhai a'th waradwyddent di, a syrthiasant arnaf fi." (4) Canys pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni eu rhagysgrifenwyd; fel, trwy yr amynedd a'r dyddanwch perthynol i'r ysgrythyrau, y gallem feddiannu y gobaith.

(5) A rhodded Duw yr amynedd a'r dyddanwch i chwi synied yr un peth tuag at eich gilydd, yn ol Crist Iesu; (6) fel y galloch ag un meddwl, ac ag un genau, ogoneddu Duw, sef Tad ein Harglwydd Iesu Grist.

(7) Oherwydd paham, derbyniwch eich gilydd yn dirion, megys hefyd y tiriondderbyniodd Crist chwithau, er gogoniant Duw.

(8) Yr wyf yn dywedyd yn mhellach, wneuthur Iesu Grist yn weinidog yr enwaediad, er mwyn gwirionedd Duw, hyd gadarnhau addewidion y tadau; (9) hefyd, fod y Cenedloedd i ogoneddu Duw am ei drugaredd, fel y mae yn ysgrifenedig, "Am hyny y'th foliannaf di yn mysg y Cenedloedd, ac y canaf i'th enw." (10) A thrachefn y mae yn dywedyd, "Ymlawenhewch, Genedloedd, gyda'i bobl ef." (11) A thrachefn, "Molwch yr Arglwydd, yr holl Genedloedd, a chlodforwch ef, yr holl bobloedd." (12) A thrachefn, y mae Esaias yn dywedyd, "Y gwreiddyn Jesse a fydd: a chyfyd yr Hwn sydd i lywodraethu y Cenedloedd,—gobeithia y Cenedloedd arno ef."

(13) A Duw y gobaith a'ch llanwo chwi o bob llawenydd yn y credu, hyd eich cyflawni chwi yn y gobaith—yn nerth Ysbryd Duw!

(14) Pa fodd bynag, fy mrodyr, yr wyf fi fy hun yn coelio am danoch chwi, eich bod yn llawn daioni, wedi eich cyflenwi o bob gwybodaeth, ac yn abl i rybuddio eich gilydd. (15) Eithr, mi a ysgrifenais yn hyfach atoch, frodyr, mewn rhan, fel un yn dwyn pethau ar gof i chwi, oherwydd y gras a roddwyd i mi gan Dduw, (16) i fod o honof yn weinidog Iesu Grist i'r Cenedloedd, gan weini i efengyl Duw, fel y byddai yr offrymiad o'r Cenedloedd yn gymmeradwy, wedi ei buro yn yr Ysbryd Glân. (17) Mae i mi, gan hyny, drwy Grist Iesu, fost o'r pethau a berthyn i Dduw; (18) canys ni feiddiaf fi ddywedyd dim a'r nas gweithiodd Crist trwof, i ddwyn y Cenedloedd yn ufydd, ar air a gweithred; (19) drwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth yr Ysbryd Glân; hyd nes o Jerusalem ac oddiamgylch, hyd Illyricum, y cyflawn gyhoeddais efengyl Crist; (20) felly hefyd yr oeddwn yn mawr-chwennychu am bregethu yr efengyl, lle ni enwid Crist, fel nad ar sail un arall yr adeiladwn; (21) eithr fel y mae yn ysgrifenedig, "Hwynthwy a'i gwelant ef, i'r rhai ni fynegwyd dim am dano; a'r rhai ni chlywsant a ddeallant,"

(22) Am ba achos, hefyd, ym lluddiwyd yn fawr i ddyfod atoch chwi. (23) Ond, yn awr, gan nad oes genyf le mwyach yn y parthau hyn, a bod arnaf hiraeth, er ys llawer o flynyddoedd, am ddyfod atoch chwi, (24) pan elwyf tua'r Hispaen, yr wyf yn gobeithio, wrth fyned heibio, y caf eich gweled, a'm hebrwng genych yno, wedi i mi yn gyntaf gael fy nigoni mewn rhan o'ch cyfeillach. (25) Ond, yn awr yr wyf yn myned i Jerusalem, gan weini i'r saint; (26) canys Macedonia ac Achaia a welsant yn dda wneuthur rhyw gyfraniad i'r rhai tylodion o'r saint sydd yn Jerusalem. (27) Hwy

a

welsant yn dda, yn ddiau; a'u dyledwyr hwy ydynt: oblegid os cafodd y Cenedloedd gyfran o'u pethau ysbrydol hwynt, hwythau a ddylent weini hefyd iddynt hwy mewn pethau tymhorol. (28) Wedi i'r ddyledswydd hon, gan hyny, gael ei chyflawni, a chael o'r ffrwyth hwn ei selio, myfi a âf drwy eich canol chwi i'r Hispaen. (20) Mi a wn hefyd, mai dyfod atoch yn nghyflawnder bendith efengyl Crist, a wnaf pan y deuaf.

(30) Ac yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, drwy yr Arglwydd Iesu Grist, a thrwy gariad yr Ysbryd, ar gydymdrech o honoch â mi, mewn gweddiau drosof fi at Dduw, (31) fel ym gwareder rhag yr anghredwyr yn Judea, ac ar fod fy ngwasanaeth yr wyf yn ei gyflawni dros Jerusalem, yn gymmeradwy gan y saint: fel [hefyd] y delwyf atoch mewn llawenydd drwy ewyllys Duw, ac ym hadloner yn eich plith chwi. (33) A Duw yr heddwch fyddo gyda chwi oll, Amen.

---

## PENNOD XVI.

§ 5. Yr Annerchiadau personol, a'r fawl-wers orphenol, xvi, 1—27.

YR *wyf yn gorchymyn i chwi Phebe ein chwaer, yr hon sydd weinidoges i eglwys Cenchrea.

* "Eich chwaer," yw darlleniad dau gopi tra hen, a rhai diweddarach. Yn cyfaddef fod merched oedranus mewn swydd i ofalu am y chwiorydd tlodion a chleifion, yn yr eglwysi apostolaidd, mae Hodge. Dros eu bod yn gofalu hefyd dros fucheddau y chwiorydd ieuangaf, mae Mosheim.

*Gweinidoges*, neu yn ol y Groeg, *diacones*. Dylid cofio nad oedd merched y gwledydd dwyreiniol yn cael cymmysgu â'r meibion, fel y gwnant gyda ni. Cedwid hwynt, gan mwyaf, ar wahan, mewn cyfran o'r ty i ba un nid oedd un dyeithryn yn cael mynedfa. O ganlyniad, yr oedd yn hollol anghenrheidiol i'r eglwys ddarparu diaconesau yn gystal â diaconiaid, fel y gofalai y rhai blaenaf am y rhai claf ac anghenus. Am hyny, yr ydym yn cael aml gyfeiriad at y diaconesau yn epistolau Paul; megys yn 1 Tim. 3, 11, a 5, 10; Tit. 2, 3. Parhasant yn y gyn-eglwys, o leiaf, hyd amser yr amherawdwr Trajan. Ond Gwel y *Traethawd* ar Diaconesau.

*Cenchrea*, oedd borthladd dwyreiniol Corinth; canys nid oedd Corinth ei hun yn sefyll ar lan y môr, eithr meddai ddau borthladd, yn gorwedd oddeutu pedair neu bump milldir oddiwrth y ddinas; sef, Cenchrea ar du y dwyrain, a Lechea ar du y gorllewin. Ymddengys fod Phebe ar hwylio o Cenchrea i Rufain, pan ysgrifenai Paul ei epistol; ac y mae yn dra thebygol ei fod wedi ei anfon yn ei llaw hi i'r eglwys yn Rhufain. Tybia rhai esbonwyr mai canghen o eglwys Corinth ydoedd yn Cenchrea, eithr Doddridge a dybia fod ganddi esgob o'r eiddi ei hun.

2 Dderbyn o honoch hi yn yr Arglwydd, megys y mae yn addas i saint, a'i chynnorthwyo hi yn mha beth bynag y byddo raid iddi wrthych: canys hithau hefyd a fu gymmhorth i lawer, ac i minnau fy hun hefyd.

*Yn yr Arglwydd:* fel un berthynol i'r Arglwydd Iesu: teitl arferedig y proffeswyr Cristionogol. Cymharer 1 Cor. 12, 27; Rhuf. 12, 5; 1 Cor. 10, 17; Eph. 1, 22, 23, a 4, 12, a 5, 30; Col. 1, 24. Yr ystyr yw: "Derbyniwch Phebe, yr hon sydd Gristion, mewn modd teilwng o Gristionogion" (Stuart), sef, gyda thiriondeb ac ewyllys da neillduol. Ereill a'i hesboniant fel hyn; "Gwnewch chwi, fel yr ydych mewn undeb â Christ, dderbyn y chwaer mewn modd gweddus i saint." Nid wyf fi, mwy na Stuart, yn gallu penderfynu rhwng y ddau esboniad hyn.

*A'i chynnorthwyo, &c.* Gadewir ni yn y tywyllwch am natur ei heisieu hyn. Tybia rhai mai achos mewn cyfraith ydoedd wedi ei apelio i lys Rhufain; eithr goddefa yr ymadrodd gwreiddiol ei gymmeryd yn yr ystyr helaethaf.

3 *Annerchwch Priscila ac Aquila, fy nghydweithwyr yn Nghrist Iesu:

4 (Y rhai dros fy mywyd a ddodasant eu gyddfau eu hunain i lawr; i'r rhai nid wyf fi yn unig yn diolch, ond hefyd holl eglwysi y Cenedloedd).

* "Prisca," yw y darlleniad awdurdodol mwyach, ar ol yr wyth copi henaf o'r Groeg, a'r nifer fwyaf o'r cyfieithadau.

*Cydweithwyr* mewn lledaenu teyrnas Crist. Phil. 2, 25; 1 Thes. 3, 2.

Gosodasant eu gyddfau eu hunain, megys, dan y cleddyf, i wasanaethu yr apostol.

5 *Annerchwch hefyd yr eglwys sydd yn eu ty hwynt. †Annerchwch fy anwyl Epenetus, yr hwn yw blaenffrwyth Achaia yn Nghrist.

* "Yr eglwys sy'n arfer ymgynnull yno,"—Hodge. † "Blaenffrwyth Asia," yw darlleniad y saith copi henaf, ynghyd â'r Coptaeg, Ethiopaeg, Armenaeg, Vulgate, &c. Felly y prif awdurdodau.

*Yn eu ty hwynt;* sef, y gynnulleidfa sydd yn arfer ymgynnull yno. Sonir yn 1 Cor. 16, 19, fod eglwys yn eu ty hwynt, pan breswylient yn Ephesus hefyd. Yr oedd raid i holl gyfarfodydd y cyn-Gristionogion fod mewn tai anedd, ar ol eu gwrthodiad o synagogau yr Iuddewon, canys nid oeddynt yn cael hamdden i adeiladu addoldai cyffelyb i'r eiddom ni. A phe hamdden a gawsent, ammau yr wyf, a fuasent yn gweled mwy o anghen am osod eu harian allan mewn gwychu a harddu addoldy, er mor anghenrheidiol yw hyny, nag mewn porthi saint newynog Iesu, a gosod beiblau a moddion ereill cadw enaid, o fewn cyrhaedd colledigion lluosog paganiaeth! Yma etto, ceir gwers oddiwrth esiampl Iesu ei hun. Nid oes addoldy i bara cyhyd, ac i gynnwys cynnifer, ac yn gofyn cymmaint o barotoad, â theml fawr paradwys yr Oen; etto, efe a wnaeth y gorchwyl rheitia yn gyntaf—

efe a symudodd ymaith rwystrau anorfod yr achub; ac yna yr aeth efe i barotoi lle i'r addolwyr. Mae myrdd o addolwyr yn ystyried talu dyledion eu haddoldy, yn rheitiach na chael gweinidogaeth gymhwys er bywhau y gwaith, ac achub yr eneidiau, pa rai a fyddant, o debyg, tuhwnt achubiaeth, erbyn yr adeg y cânt hwy eu haddoldy at eu pwrpas. Mae eglwysi yn rhedeg i'r llwybr hwn; ac nid yw y gweinidogion yn meddu digon o wroldeb i'w gwrthsefyll. Diau fod adeiladu teml Dduw yn brif alwad crefydd yn nyddiau Haggai; eithr, cofiwn nad oes dy gan Dduw yn awr, ond yr holl fyd, pa le bynag y cyfarfyddo dau neu dri yn enw ei anwyl Fab. Ty Dduw yn awr nid yw adeilad. Cynnulleidfa ydyw. "Teml Dduw ydych chwi." Ac, nid yw y cynnulleidfaoedd mawrion ond glythleoedd mawrion i ddiogi. Pa esgob sydd yn gofalu, a pha esgob a all ofalu, am gannoedd o Gristionogion, o fewn dwsin o filldiroedd o gylch—gofalu, meddaf, am eu bod yn ffyddlawn, nid i beidio a chwympo i bechodau gwarthus, ond i osod eu holl ddawn a'u dylanwad, i achub eneidiau y colledigion, a chysuro y saint anghenus a thrallodus? Dywed hanesiaeth eglwysig mewn llythyrenau eglur iawn, mai llygredigaeth cyfoeswyr bydol Cwstenyn Fawr, oedd trosi y temlau mawr paganaidd yn addoldai Cristionogol; mai yr un ysbryd paganaidd a'u parhaodd mewn ffafr gydag Eglwys Sefydledig Prydain; ac mai yr un ysbryd sy'n ennyn, gan mwyaf, ynom ninnau i'w hefelychu. Pwy a gyfyd lais i alw ar eglwysi Crist at orchwyl pwysig achubiaeth y byd; ïe, oddiwrth bethau da ereill llai eu pwys—os nad esboniwr y Testament Newydd? Pwy a wrendy ar y llais hwn, os na wna yr Enwadau sy'n proffesu yn uchel eu bod yn ddilynwyr yr apostolion? Dilyned y cyfryw eu holl hanes llwyddiannus hwynt, ond ni chânt un geiniog o'u casgliadau hwynt yn myned at adeiladu addoldai. Ac, er nad wyf yn condemnio adeiladu y cyfryw dai, oddieithr yn ngwyneb yr amgylchiadau a nodwyd; etto, gorfodir fi i gyfaddef mai gwywo yn gyflym a wnaeth llwyddiant a rhinweddau Cristionogaeth, o'r cyfnod y gwelwyd ei thraed yn dringo rhiniogau hardd-demlau cyssegredig dyfais dyn.

*Epenetus;* mae y brawd hwn, ynghyd â'r enwau ereill hyd adn. 15fed, yn bersonau, heblaw a geir yma am danynt, sydd yn hollol anadnabyddus i ni; ond a oeddynt, drwy ryw fodd neu gilydd, yn adnabyddus i'r apostol.

*Blaenffrwyth;* un o'r rhai a gofleidiasant y grefydd flaenaf, drwy bregethiad Paul, yn Asia leiaf. *Yn Nghrist;* neu yn hytrach, *i Grist.* Dywed 1 Cor. 16, 15, mai ty Stephanas ydoedd blaenffrwyth Achaia yn Nghrist; tebyg yw, gan hyny, fod Epenetus yn aelod o'r ty ffyddlon hwnw. Felly Slade.

6 *Annerchwch Mair, yr hon a gymmerodd lawer o boen erom ni.

7 †Annerchwch Andronicus a Junia, fy ngheraint a'm cydgarcharorion, y rhai sydd hynod yn mhlith yr apostolion, y rhai hefyd oeddynt yn Nghrist o'm blaen i.

* "Eroch chwi," yw darlleniad amryw gopiau lled hen; y Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg. "Yn eich mysg chwi," medd pedwar copi tra hen, y Vulgate, ac ereill rai.

† *Julia* yw darlleniad y Coptaeg, a rhai beiblau Lladin. "Fy ngheraint yn ol y cnawd, ac nid cydgenedl yn unig,"— Hodge. "Hynod yn ngolwg yr apostolion,"—Conquest.

Tebygol yw i'r brodyr hyn fod gynt yn preswylio yn Asia neu Groeg, lle daeth yr apostol yn gydnabyddus â hwynt; ond eu bod erbyn hyn wedi symud i Rufain. Yn mha le y buasent yn yr un carchar â Phaul sydd anhysbys i ni, canys yr oedd efe mewn carcharau mor aml. Dywed Clemens Romanus, ei gydoesydd, iddo fod saith waith, dros cryn dymhor bob tro.

*Hynod*, enwog, parchus. Nid oeddynt yn apostolion eu hunain; os nad yn anfonedigion y prif apostolion, y rhai a enwid yn apostolion Iesu Grist, canys benyw oedd Junia. Yr ystyr esmwythaf yw, "Pa rai a ystyrid yn barchus gan yr apostolion."

8 *Annerchwch Amplias, fy anwylyd yn yr Arglwydd.

9 Annerchwch Urbanus, ein cydweithiwr yn Nghrist, a Stachus fy anwylyd.

10 Annerchwch Apeles, y profedig yn Nghrist. †Annerchwch y rhai sydd o dylwyth Aristobulus.

11 Annerchwch Herodian fy nghâr. Annerchwch y rhai sydd o dylwyth Narcissus, y rhai sydd yn yr Arglwydd.

12 ‡Annerchwch Tryphena a Tryphosa, y rhai a gymmerasant boen yn yr Arglwydd. Annerchwch yr anwyl Persis, yr hon a gymmerodd lawer o boen yn yr Arglwydd.

13 Annerchwch Ruffus, etholedig yn yr Arglwydd, a'i fam ef a minnau.

* *Ampliatus* yw darlleniad tri hen gopi, y Coptaeg, Ethiopaeg, a'r Vulgate.
† "Cyfeillion Aristobulus, ond odid," medd Winer. ‡ "Tri enw menywaidd,"—Hodge.

*Ei fam ef* mewn ystyr naturiol, *a minnau* mewn ystyr ffigwrol. Sonir am Rufus yn Marc 15, 21. Mab ydoedd efe i Simon o Cyrene.

14 *Annerchwch Asyncritus, Phlegon, Hermas, Patrobas, Mercurius, a'r brodyr sydd gyda hwynt.

15 †Annerchwch Philologus, a Julia, Nereas, a'i chwaer, ac Olympas, a'r holl saint, y rhai sydd gyda hwynt.

16 ‡Annerchwch y naill y llall â chusan santaidd. §Y mae eglwysi Crist yn eich annerch.

* "Hermes, Patrobas, Hermas," yw darlleniad y chwe chopi henaf, a'r Ethiopaeg, ynghyd â rhai beiblau Lladin. † "Olympia," ac "Olympeida," ac "Olympiadem," yw darlleniadau rhai copiau lled barchus. ‡ "Cusanai y meibion eu gilydd, a'r merched eu gilydd, yn unig, ar ddiwedd y cymmundeb,"—Hodge. § "Y mae holl eglwysi Crist, &c.," yw darlleniad y prif awdurdodau; tra mae amryw gopiau parchus iawn yn amddifaid o'r holl ymadrodd.

*Cusan santaidd.* Pery yr arferiad hwn hyd heddyw, ar hyd amryw fanau o Ewrop, yn mysg cyfeillion Cristionogol, ac ereill. Ynddo ei hun, mae fel unpeth allanol arall, heb fod yn anhebgorol, ond yn dibynu ar arferion y ile a'r amser, yn gyffelyb i wisgo gwallt byr neu laes yn Corinth.

17 Ac yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, *graffu ar y rhai sydd yn peri anghydfod a rhwystrau, yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasoch chwi; a chiliwch oddiwrthynt.

* "Sicr-graffu," yw darlleniad pedwar copi tra hen, ac amryw rai Lladin.

Efe a glywsai, yn ddiau, am y dadleuon oedd yn eu plith, y rhai yn wir a fuasent yn achlysuron ysgrifeniad yr epistol: ac yn awr etto, wrth derfynu, ni all efe lai na'u gosod ar eu gwyliadwriaeth rhag y cyfeiliornwyr Iuddewig a'u hachosent.

Anghydfod *(dichostasias), dissension, discord;* cynnen; 1 Cor. 3, 3; Gal. 5, 20; y math o ddadlu sydd yn gwrthod tewi pan ddarffo ei resymau, ac fo yn peri i'r dadleuwyr ymadael mewn oerfelgarwch at eu gilydd. "Drwy ymddadleu mawr" yr elai yr apostolion eu hunain drwy byneiau eu cynnadleddau; etto, yr oedd yr holl ddadlu yn cael ei gadw gan frawdgarwch, o fewn y terfynau a adawent le i bob un garu y brawd a ddadleuai ag ef, yn fwy am onestrwydd ei sel dros y gwirionedd, nag a garai efe ar y brawd arall a dawai son am ei farn wahanol, er mwyn peidio dadlu. Mae cymmaint o wahaniaeth rhwng dadlu a chynenu, ag sydd rhwng dyrchafu y gwirionedd a dyrchafu hunan. Gall fod gan y dadleuwr barch i'r gwirionedd, eithr ni all fod gan y cyneuwr barch i, na'r gwir na'i frawd; ond iddo ei hunan yn unig. Yn y teimlad, a'r pwyll, a'r tegwch rhesymu, yn unig y mae'r gwahaniaeth rhwng y dadlu a'r cynenu. Llai na dyn yw yr hwn a ollwng o'i law ei ymresymiad, cyn i'r gwrthddadleuwr ei ateb; neu a ildio ei bwnc er mwyn ennill y cymmeriad o ddyn heddychlon. Hyn ni wnaeth neb da, na neb mawr erioed. Pan dderfydd dadlu, derfydd chwilio, a derfydd treiddio i fwyngloddiau y gwirionedd; ïe, derfydd cloddio dan sylfaeni twyll ac anwybodaeth.

Ciliwch, &c. *(ecclinate apo), to turn away from, to avoid;* cilio ymaith oddiwrth, cadw rhag, rhywun neu rywbeth. Ceir y gair hefyd yn Rhuf. 3, 12; 1 Pedr 3, 11. Beth all fod ystyr yr ymadrodd hwn? A ydym ni i ymadael â'r gymdeithas, neu â'r eglwys, y perthynom iddi, can gynted ag y byddo o'i mewn rywun yn cael ei oddef ganddi, i beri anghydfod a rhwystrau, yn erbyn yr athrawiaethau apostolaidd; sef, yn erbyn y pethau a gydwybodol dybiom ni yn gyfryw? Yn gyntaf oll, mynwn wybod ystyr y gair hwn *cilio oddiwrth.* "*Cilied* oddiwrth ddrwg," ebe Pedr. Mae yna gilio hyd eithaf ystyr y gair. "*Gwyrasant* oll," ebe Paul, a Dafydd (yn Salm 14, 3, a 53, 3) o'i flaen. Enciliad lled hollol yw hwn hefyd. "*Ciliodd* yr asen o'r ffordd," ebe Num. 22, 23. Felly y gair yn Salm 37, 28; Diar. 3, 7. Eithr, nid yw yn ymddangos fod yr athrawon drwg hyn yn aelodau o'r eglwys Gristionogol yn Rhufain, canys dywed yr adnod nesaf nad oeddynt yn gwasanaethu Crist, &c., ac am hyny, mae y gorchymyn i

gilio oddiwrthynt yn rhwydd i'w ddeall. Ond, am y cwestiwn yn gyffredinol, digona dywedyd fod gwahaniaeth egwyddorol rhwng y sawl a ddysgant athrawiaeth groes i'r eiddom, drwy wadu awdurdod yr apostolion ar y pwnc; a'r sawl a'n croesant drwy ddadlu mai ar sail yr apostolion yr adeiladant, a bod y Testament Newydd o'u hochr. Gall; ïe, dylai yr olaf gael ei ystyried fel brawd; tra mae y blaenaf i'w gyfrif gyda'r anghredadyn a'r anffyddiwr.

18 *Canys y rhai sydd gyfryw. nid ydynt yn gwasanaethu ein Harglwydd Iesu Crist, eithr eu bol eu hunain; a thrwy ymadrodd teg a gweniaeth, yn twyllo calonau y rhai diddrwg.

* "Eithr eu mantais eu hunain,"—Conquest.

*Eu bol* eu hunain; sef, eu bod yn cymmeryd i fyny y swydd bwysig o bregethu, er mwyn y croeso a gaffent am hyny gan y saint. O, gynnifer o frodyr sydd ganddynt heddyw yn Nghymru! Pa amcan uwch a ellir debygu sydd yn y rhei'ny, a ymwthiant dan geseiliau eu perthynasau swyddol, neu eu gweinidogion anystyriol, neu ben-ben gynlluniadau gwrageddos anwybodus, i mewn dros drothwy ein hathrofäau, heb na greddf, na thalent, nac athrylithr, at ddim yn y byd cyhoeddus, at ddim yn y byd pregethwriaethol; nac O! at ddim yn y byd perthynol i achubiaeth dynion! Mae cymmaint o gyfleusdra i wr ieuanc, i ddangos ei awydd a'i fedrusrwydd at achub eneidiau ei gyfoedion, o fewn yr Ysgol Sabbothol; mae iddo gymmaint o hamdden i ddilyn cyfarfodydd o nos i nos. ac o dŷ i dŷ; nes y dangosir yn rhy amlwg i neb ei wadu, os bydd ynddo egwyddor fawr achub colledigion: a gwae efe; ïe, a gwae y sawl a'i cefnogo. os i'r pwlpud yr esgyna, heb y cyfryw brofion yn addurno grisiau yr areithfa o'i flaen! Gwel frawd, os fel hyn y'th gyfodwyd i'th swydd—gwel eiriau difrifol y testyn hwn! Mae dy ymddygiad hynod hwn yn tystio, can belled ag yr â ei ddylanwad, mai cellwair yw y cwbl—mai rhoi ei fywyd i lawr o gellwair a wnaeth Mab Duw!

*Ymadrodd teg a gweniaeth, &c.* Chwychwi, sy'n cymmeryd eich ffon fugeiliol yn drwydded i ymlusgo o dŷ i dŷ; nid i wella buchedd, nac i leihau gofidiau. neb o'r aelodau; ond, er mwyn gwario eich amser, ac ymloddesta, a difyru deiliaid yr aelwydydd â'ch digrifymddyddan; cofiwch mai dylanwad pregethwr yw eich dylanwad, a'ch bod yn, naill ai santeiddio eich pwlpud ai ei aflanhau, bob ymweliad o'r fath a wnewch. Gwyddoch nad ydych yn curo ar fai neb yn ei wyneb, nac yn amddiffyn camwri eich Harglwydd, nac yn gwneyd dim yn y byd ond peri i'r eneidiau anfarwol fod yn dawelach, dawelach, yn ymyl y perygl, ar ol eich ymadawiad o'r ty, nag yr oeddynt cyn eich dyfodiad anffodus iddo!

19 Canys eich ufydd-dod chwi a ddaeth ar led at bawb. Yr wyf fi gan hyny yn llawen o'ch rhan chwi; eithr myfi a ewyllysiwn i chwi fod yn ddoethion tuag at y peth sydd dda, ac yn wirion tuag at y peth sydd ddrwg.

"Nid wyf am i chwi arferyd eich medrusrwydd er mwyn cyrhaedd amcanion hunanol, ond i'r gwrthwyneb."

20 A Duw y tangnefedd a sathr Satan dan eich traed chwi ar frys. *Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi. Amen.

* Gadewir allan yr *Amen* o saith copi tra hen, y Syriaeg, Arabaeg, Coptaeg, Ethiopiaeg, a llawer ereill; ac y mae gorbwysiad yr awdurdodau yn ei erbyn.

Y Satan. Ystyr y gair *Satan* yw gwrthwynebwr; eithr gofalodd Paul yma am ddweyd *Y Satan;* sef, y gwrthwynebwr neillduol. Enw ar ysbryd drwg yw y gair. Diau y gellir ei gyfieithu; ac felly y gellir cyfieithu pob enw arall; eithr pe byddai hyny yn ddigon o reswm dros raid i'w gyfieithu, byddai yn rhaid cyfieithu pob enw personol arall, ac felly droi pob person o fewn yr hanes ddwyfol yn ddim ond egwyddor, yn ol arwyddocâd ei enw!

21 Y mae Timotheus fy nghydweithiwr, a Lucius, a Jason, a Sosipater, *fy ngheraint, yn eich anerch.

* "A holl eglwysi Crist yn eich anerch," yw darlleniad pedwar o'r copiau henaf.

*Timotheus*, yr hwn oedd y pryd hyn yn Corinth.

22 Yr wyf fi Tertius, yr hwn a ysgrifenais yr epistol hwn, yn eich annerch yn yr Arglwydd.

Y rhai hyn ydynt eiriau ysgrifenydd Paul.

23 Y mae Gaius fy llettywr i, a'r holl eglwys, yn eich annerch. Y mae Erastus, goruchwyliwr y ddinas, yn eich anerch, a'r brawd Cwartus.

Tybir yn gyffredin fod y Gaius hwn yr un â'r hwn a gawn yn Act. 19, 20, 21. Eithr gwr o Macedonia oedd efe; hwn oedd Gorinthiad, ac yn llettywr Paul, ynghyd â'r holl saint yn ol yr anghen. Y Gaius hwn oedd yr hwn a geir yn 1 Cor. 14, a'r hwn (medd Origen) a fu ar ol hyny yn esgob Thessalonica. Yr oedd *trysorydd y ddinas* yn wr o gryn urddas ac ymddiried.

24 *Gras ein Harglwydd Iesu Grist a fyddo gyda chwi oll. Amen.

* Nid yw yr adnod hon mewn dau o'r copiau henaf, na'r Coptaeg, Ethiopaeg, nac amryw ereill.

Cwrddir â'r unrhyw fendithiad yn adn. 20, 1 Cor. 16, 23: 2 Cor. 13, 13; Gal. 6, 18, &c. Cofied y darllenydd fod y fannod o flaen y gair *gras* yn yr holl fanau hyn, a bod hyny yn arddangos mai y gras arbenig. pwrcasedig, trysoredig yn Nghrist, fel y mae efe yn Arglwydd yr eglwys, a feddylir; ac nid y gras cyffredinol, o'r hwn y mae Duw yn haelionus i bawb. Tebygol mai at yr un gras y cyfeiria ein hapostol, pan esyd y fannod o flaen y gair yn Eph. 6, 24; Col. 4, 18; 1 Tim. 6,

21; 2 Tim. 4, 22; Tit. 3. 15; Heb. 13, 25. Ymddengys fod Paul, fel arbenig apostol y Cenedloedd, yn treiddio yn mhellach i fewn i, ac yn dwyn allan yn burach a mwy digymmysg, athrawiaethau graslawn yr oruchwyliaeth newydd, ar wahan oddiwrth raslonrwydd tywyllach a chyfyngach y ddeddf, a goruchwyliaethau boreuaf y Ffydd,—na neb o'r apostolion ereill. Carwn yn fawr weled un o'm cydwladwyr treiddiol a diragfarn, yn cymmeryd y neillduolrwydd hwn o eiddo apostol y Cenedloedd yn destyn arholiad. Talai yn dda i'w ysbryd ef ei hun; ac o'i gwblhau yn deilwng, disgynai yn waddol i'r genedl, ac yn ogoniant i'r Gyfundrefn fawr Gristionogol; yr hon, can belled â'r dosparth goludog hwn o'i thrysorau, sydd â'i drysau yn gloedig, er dechreuad cyfnod anffodus ei chyssylltiad anachaidd â Gwleidiadaeth ormesol penaduriaeth byd.

25 I'r hwn a ddichon eich cadarnhau yn ol fy efengyl i, a
phregethiad Iesu Grist (yn ol dadguddiad y dirgelwch, yr hwn
ni soniwyd am dano er dechreuad y byd;
26 Ac yr awrhon a eglurwyd, a thrwy ysgrythyrau y pro-
phwydi, yn ol gorchymyn y tragwyddol Dduw, a gyhoeddwyd yn
mhlith yr holl genedloedd, er mwyn ufydd-dod ffydd);
27 I Dduw yr unig ddoeth, y byddo gogoniant drwy Iesu
Grist yn dragywydd.

¶ *At y Rhufeiniaid yr ysgrifenwyd o Corinth, gyda Phebe, gweinidoges yr eglwys yn Cenchrea.

* "At y Rhufeiniaid," medd tri chopi tra hen. "At y Rhufeiniaid yr ysgrifenwyd o Corinth," medd dau gopi tra hen. "At y Rhufeiniaid ysgrifenwyd drwy Phebe o Corinth," medd un. "Ysgrifenwyd o Corinth drwy Phebe y ddiacones," medd un copi. Ac yn debyg y ceir ynddynt oll.

*Yn ol fy efengyl i;* sef, "yn ol y gyfran arbenig o'r efengyl fawr a berthyna i'r Cenedloedd, ac a ymddiriedwyd yn fwyaf neillduol i mi, a'ch dadleuon yn nghylch yr hon, a'ch anwybodaeth o ogoniant athrawiaethau yr hon, a achlysurodd y llythyr hwn atoch."

*Yn ol dadguddiad y dirgelwch, &c.* Wele benderfyniad eglur ar y ddadl a gynnelir drwy yr Esboniad hwn, nad y ddeddf a gamenwir yn foesol, na'r un arall a elwir seremoniol, nac athrawiaethau y cyfnod tywyll hwnw ar athrawiaethau grasol y Ffydd, pan dybient, mai calon ddrylliog oedd yr aberth priodol am bechodau rhyfygus (Salm 51, 17), mai rhinwedd oedd dial, ymserchu mewn golud, cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd, &c.,—nad y pethau anmherffaith yna; ond y pethau na soniasid am danynt er dechreuad y byd; sef pethau dadguddiad y dirgelwch a eglurwyd yn nghyfnod gweinidogaeth Paul—yw sylwedd y weinidogaeth a eilw yr epistol hwn yn bregethiad yr efengyl. Sylwed y rhai a soniant am argyhoeddi pechadur â tharanau y ddeddf; ac a'i gosodant, ar ol ei argyhoeddi, ar ei liniau i bledio Salmau Dafydd ddialgar ac Asaph gwynfanus: ac a annelant spien-

ddrych ei obaith drwy niwl a chymmylau awyrgylch yr Hen Destament,—sylwed y cyfryw rr yr adnodau eglur a goludog hyn; ac ar ol sylwi atebant, onid yw eu breintiau yn uwch, a'u bendithion yn oludocach, a'w nefoleiddiwch yn burach nag y tebygasent?

Cawn y pwnc canlynol yn ein testyn:—

Fod yr athrawiaethau, yn mha rai y mawr chwennychai Paul weled y Rhufeiniaid yn cael eu cadarnhau gan Dduw ynddynt, wedi cael eu cadw mewn dirgelwch o ddechreuad y byd hyd ei amser ef. Ond, pa mor ddirgel? Ai yn hollol guddiedig, ynte yn guddiedig o ran, ac mewn cydmhariaeth â'r eglurdeb presennol? Mae dadl ar hyn. Dywed Stuart fod yr athrawiaethau dan sylw wedi eu dadgnddio mewn rhan gan yr Hen Destament; ac i brofi hyny cyfeiria at pen. 3, 21. Eithr gwel ar y lle. Tystiolaethu yr oedd yr Hen Destament, ac nid eglurhau. Nid oedd un brophwydoliaeth o ddeongliad priodol yr hwn a'i cyhoeddai. Drwy gynhyrfiad gwyrthiol yr Ysbryd Glân yn unig y llefarent, ac nid oeddynt yn gallu namyn chwilio pa beth, &c., ydoedd ystyr eu pregethau arwyddluniol eu hunain. Yn awr, o droi at eu pregethau prophwydoliaethol hwynt, ceir tystiolaeth gryfach mai o Dduw y mae'r efengyl. Nid oedd hyd yn nod yr apostolion eu hunain yn deall un pwnc o'r gyfundrefn, er fod Crist ei hun, debygem ni, yn eu dysgu yn mhob modd. Ar y Pentecost yr oeddynt i ddysgu y pethau, ac o dan yr oruchwyliaeth newydd hóno o eiddo yr Ysbryd yr agorwyd eu llygaid, er y cwbl a ysgrifenasai'r prophwydi, ac a ddywedasai yr Iesu wrthynt. Ond, dylem olrhain i ystyr y gair hwn *ni soniwyd am dano (sesigêmenou), to be silent, still; to keep silence;* bod yn ddystaw, lonydd, tewi a son. Wele arferiad y gair:—"Hwy a gelasant, ac ni fynegasant i neb," Luc 9, 36.—"Hwy a dawsant a son," 20, 26.—"Efe a amneidiodd arnynt a llaw i dewi,' Act, 12, 17.—"Yr holl luaws a ddystawodd," 15, 12, 13.—"Tawed yn yr eglwysi," 1 Cor. 14, 28, 30.—"Tawed eich gwragedd yn yr eglwysi," 34.—"Yr Arglwydd a ymladd drosoch, am hyny tewch chwi a son," Exod. 14, 14. Gwelwn yn awr mai hollol ddystawrwydd, ac nid dystawrwydd o ran, yw ystyr y gair gwreiddiol. Ni oddefir, gan hyny, i neb geisio dadlu fod y prophwydi yn gweled ystyr eu prophwydoliaethau eu hunain, yn nghylch breintiau goruchel eglwys y Testament Newydd; oddieithr profi o honynt fod yma gamddeongliad o ymadrodd yr apostol; canys anffyddiaeth, o'r ochr arall, fyddai dadlu ag ef.

Gwrthddadleua Stuart fod ymadroddion o'r fath yma i'w meddalu, ac nid i'w cymmeryd yn eu hystyr arferol, "canys (medd efe), dywed Paul (2 Tim. 1, 10) mai Crist a ddug fywyd ac anllygredigaeth i oleuni drwy yr efengyl, yr hyn a raid i ni feddalu o'i ystyr arferol, oblegid edrychai Abraham a'r patriarchiaid ereill 'am wlad well, hyny yw un nefol,' yr hyn a brawf fod ganddynt ryw dybiau am anfarwoldeb." Pwy sy'n gwadu hyny? Eithr pa anhawsdra oedd ar y beirniad dysgedig, i gofio mai Crist a ddug i oleuni dydd, gorff yn meddu bywyd ac anllygredigaeth, ac mai drwy yr efengyl y dygir i oleuni, y cawn ninnau gyrff yr un ffunud â'i gorff gogoneddus ef? Felly, nid oes anghen am naddu ymaith ronyn o ystyr naturiol yr ymadrodd dan sylw; ac ni phrofodd y Doctor fod yn rhaid gwneyd felly ag ymad-

roddion ein hapostol, cyn y gellir gwneyd cyssondeb o honynt. Y sawl a chwennycho weled rhagor o dystiolaethau ein hapostol ar yr un pwnc, darllened Col. 1, 26; Eph. 3, 5, 10, a chymhared 1 Pedr 1, 12, lle caiff weled ar unwaith, nad iddynt eu hunain y gweinyddai y prophwydi oleuni ar y dirgeledigaethau hyn, ond i ni.

Mae yr holl ymadroddion hyn yn haws i'w deall fel yma, gyda chromfach o fewn cromfachau:—"Ond i'r hwn sy'n gallu eich cadarnhau chwi, yn ol fy efengyl i, a phregethiad Iesu Grist,—yn ol dadguddiad y dirgelwch (a gadwyd yn ddystaw yn yr hen oesoedd (eithr a eglurwyd yn awr) drwy ysgrifeniadau y prophwydi)—yn ol gorchymyn Duw yr oesoedd, a wnaethpwyd yn hysbys i'r holl genedloedd er mwyn ufydd-dod FFYDD;— i'r unig ddoeth Dduw, drwy Iesu Grist,— iddo Ef (meddaf, y byddo) gogoniant drwy yr oesoedd; Amen." Yr oedd estyniad yr ymadrodd mor faith, gan ymwasgiad cynnifer o sylwadau drwy bin ein hapostol ar ddiwedd ei lythyr, fel yr aeth yn lled ddyryslyd ar yr olwg gyntaf; eithr o'i drefnu fel hyn daw pob peth yn gysson ac eglur. Gwelwn orfod i'r apostol ddweyd "Iddo ef" dair gwaith cyn gallu ychwanegu "y gogoniant yn oesoesoedd;" sef, "i'r Hwn sy'n gallu, &c.,"--"i'r unig ddoeth Dduw," ac "iddo ef." Arferodd hefyd *"yn ol" (kata, with Accus.)* dair gwaith cyn cyrhaedd pen ei ymadrodd. Mae Stuart, Tholuck, Koppe, Bloomfield, Locke, a Taylor, wedi mawr lafurio, ac ymddyrysu, debygwyf, gyda'r adnodau hyn. O'u cromfachu fel yma, yr hyn nid yw namyn yn ol arferiad Paul ei hun mewn manau ereill, gwelir eu bod yn cael eu gosod mewn cydgordiad â'i ddaliadau adnabyddus ef drwy ei holl ysgrifeniadau.

## CYFIEITHAD NEWYDD.—PEN. XVI.

[**Gofalwyd am osod** pynciau prif amcan yr apostol mewn llythyren fras yn y *cyfieithad newydd* yma.]

(1) **Yn awr, yr wyf yn cyflwyno i chwi Phebe, ein chwaer, yr hon sydd ddiacones yr eglwys yn Cenchrea;** (2) **fel y derbynioch hi yn yr Arglwydd yn deilwng o'r saint, ac y cynnorthwyoch hi, yn mha orchwyl bynag y rhaid iddi wrthych, canys bu hithau gynnorthwydd i lawer, ac i minnau fy hun hefyd.**

(3) **Annerchwch Priskila ac Acwila, fy nghydweithwyr yn Nghrist Iesu;** (4) (pa rai dros fy mywyd i a roisant i lawr eu gyddfau eu hunain; i ba rai y mae yn diolch, nid yn unig myfi, eithr holl eglwysi y Cenedloedd hefyd) (5) **ynghyd â'r eglwys sydd yn eu ty hwynt.**

**Annerchwch Epenetus, fy anwylyd, yr hwn sydd flaenffrwyth Achaia i Grist.**

(6) **Annerchwch Mair, yr hon a lafuriodd lawer i ni.**

(7) **Annerchwch Andronicus a Junia, fy ngheraint a'm cydgarcharorion, pa rai ydynt enwog yn mhlith yr apostolion, ac oeddynt yn Nghrist o'm blaen i.**

(8) **Annerchwch Amplias, fy anwylyd yn yr Arglwydd.**

(9) **Annerchwch Urbanus, ein cydweithiwr yn Nghrist, a Stachus fy anwylyd.**

(10) **Annerchwch Apeles, y profedig yn Nghrist.**

**Annerchwch y rhai perthynol i Aristobulus.**

(11) **Annerchwch fy nghâr Herodian.**

**Annerchwch y rhai perthynol i Narkissus, ag sydd yn yr Arglwydd.**

(12) **Annerchwch Tryphena a Tryphosa, y rhai sydd yn llafurio yn yr Arglwydd.**

**Annerchwch yr anwylyd Persis, yr hon a lafuriodd lawer yn yr Arglwydd.**

(13) Annerchwch Ruffus, y dewisol yn yr Arglwydd, yn nghyda'i fam ef a minnau.
(14) Annerchwch Asyncritus, Phlegon, Hermas, Patrobas, Hermes, a'r brodyr sydd gyda hwynt.
(15) Annerchwch Philologus a Julia, Nerea yn nghyda'i chwaer, ac Olympas, a'r holl saint sydd gyda hwynt.
(16) Annerchwch eich gilydd mewn cusan santaidd.

Annerchir chwi gan holl eglwysi Crist.

(17) Yn awr, yr wyf yn deisyf arnoch, frodyr, ar graffu o honoch ar y rhai sydd yn peri yr anghydfod a'r rhwystrau, yn erbyn yr athrawiaeth, yr hon a ddysgasoch chwi, a chilio o honoch oddiwrthynt.
(18) Canys nid yw y cyfryw yn gwasanaethu ein Harglwydd Iesu Grist, eithr eu boliau eu hunain; a thrwy y geiriau teg a'r gweniaeth ydynt yn twyllo calonau y diniweid.
(19) Canys eich ufydd-dod chwi a ddaeth ar led i bawb: yr wyf fi yn llawen, gan hyny, o'ch hachos chwi; eithr mi a fynwn eich bod yn ddoethion, yn wir, tuag at yr hyn sydd dda, ond yn wirion tuag at yr hyn sydd ddrwg.
(20) A Duw yr heddwch a ysiga Satan dan eich traed chwi ar fyrder.

Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi.

(21) Mae Timotheus fy nghydweithiwr, a Luc, a Jason, a Sosipater, yn eich anerch.
(22) Minnau Tertius, yr hwn a ysgrifenais yr epistol hwn yn yr Arglwydd, wyf yn eich annerch.
(23) Mae Gaius, fy llettywr i a'r holl eglwys, yn eich annerch.

Mae Erastus, goruchwyliwr y ddinas, a'r brawd Cwartus, yn eich annerch.

(24) Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi oll, Amen.
(25) Ond, i'r Hwn sy'n gallu eich cadarnhau chwi, YN OL FY EFENGYL I, a'r pregethiad o Iesu Grist,—YN OL DADGUDDIAD y dirgelwch, (a gadwyd yn ddystaw yn yr hen oesoedd,
(26) (eithr a eglurwyd yn awr,) drwy ysgrifeniadau y prophwydi.—YN OL GORCHYMYN Duw yr oesoedd, a wnaethpwyd yn hysbys i'r holl genedloedd er mwyn ufydd-dod FFYDD;
(27) i'r unig ddoeth Dduw, drwy Iesu Grist (meddaf, y byddo) y gogoniant drwy yr oesoedd; Amen.

---

Megys y dechreuodd ein hapostol ei lythyr tra phwysig hwn gyda *chyafiawnder* cyfiawnhaol Duw [Gwel ar pen. i, 17], felly y gorphena efe ef gyda thystiolaeth bendant ac eglur, paham na buasai rhyw un o'r prophwydi wedi cael allan y dirgelwch hwn o drefn achub pechadur, a phaham a pha fodd y gallodd efe, yn anad neb, ei hysbysu.

Mae y grasau a ddiball gyssylltir â'r cyfiawnder hwn, megys y cyfiawnder ei hun,—eu sail a'u canolbwynt oll, yn tarddu i ni drwy Iesu Grist, ac *o Dduw* fel eu ffynnon fawr, drwyddo ef fel eu cyfrwng, ac efe yn unig.

Megys na chyfiawnheir neb yn awr, ni chyfiawnhawyd neb erioed, oddiwrth euogrwydd pechodau rhyfygus, drwy y gweithredoedd a elwid yn eiddo y ddeddf, sef y rhai a orchymynid gan Moses;—felly, ni fethwyd erioed a chyfiawnhau y pechadur penaf drwy gyfiawnder y ffydd, tra cwympai i mewn ag ammodau isel, rhesymol, a hawdd y gyfundrefn.

Ar ol cyhoeddi o Dduw ei hun drwy yr oesoedd o brophwydi, yn unig Dduw, yr Achubydd, creai ddysgwyliad naturiol yn ei addolwyr, y byddai efe, pan gyhoeddai ei hun yn achubydd y *byd*, yn achubydd didwyll, ewyllysgar, a galluog. Ac onid yw efe felly? Dibyna ei allu i ateb y gofyniad yn hollol ar resymoldeb yr ammod a ddyry efe o flaen y colledigion. Ac, a yw yr ammod yn anhawddach na chredu yn ei brofedig, achublawn, ac anwyl Fab? Ac, onid yw hyn yn hawdd—yn hawdd iawn? Ie, pa orchwyl hawddach, a mwy naturiol, i ddyn pech-

adurus, na hwn? Pe rhoisid nefoedd oludog iddo am ei dringo—pe rhoisid iddo, mewn ffaith, un ammod arall, buasai uwchlaw ei gyrhaedd. Cynnygier i'r truan sydd ar foddi yn ochr y llong, deitl ystad ehelaeth, neu le wrth wledd ddanteithiol, neu enw pendefigaidd yn y llys, mae efe yn foesol analluog i groesawu y naill na'r llall o'r cynnygion; eithr cynnygier iddo raff yn llaw gwr galluog oddiar y llong, ac efe a gofleidia y cynnyg yn ddiaros: mae yn annaturiol, ie, i ddyn o synwyr a phwyll, yn anmhosibl, iddo ei wrthod. nac yn wir, oedi ei dderbyn dros fynydyn.

Pe na buasai gan ddyn colledig *fodd* i dderbyn y gadwedigaeth ar yr ammod ei cynnygir iddo, ni allesid ei galw yn gynnygiad, nac yn iachawdwriaeth, nac yn newydd da iddo ef. Dichon ei fod yn rhy *falch* i blygu i dderbyn y waredigaeth ar yr ammod dan sylw, neu yn ormod ei *elyniaeth* at yr achubydd i'w derbyn o'i law ef, neu yn rhy *anystyriol* o'i berygl i'w derbyn yn awr; ie, dichon ei fod yn bwriadu ei derbyn pan ei caiff ar ammodau gwahanol, neu ar amser gwahanol; ond, nid oes neb a all ddywedyd fod yr ammod uwchlaw ei gyrhaedd ef, nac y gallesid lunio un ammod haws, na mwy naturiol i'w allu, ei amgylchiadau, a'i dynghedfen.

Yr ammod hon sydd i fod yn brif bwnc annogaethol pregeth cywir weinidog teyrnas nefoedd. megys yr ydoedd, yn wir, dan oruchwyliaethau blaenorol y Ffydd. *Credu yn Nuw* y pryd hyny: *credu yn Nghrist* y pryd hwn. Ffydd etholedigion Duw bob amser: ffydd Iesu yn awr. Gwrthddrych ymddiried y credadyn y pryd hwnw, oedd *trugaredd* Duw yn unig; a'r aberth a gyflwynai oedd calon ddrylliog, ac ysbryd cystuddiedig, am ei bechod: gwrthddrych ymddiried y credadyn yn awr, yw *cyfiawnder* Duw yn Iesu Grist ein Harglwydd; a'r aberth a gyflwyna yw *marwolaeth Crist* drosto. Yn gysgod, neu fras-gynllun, nen aneglur bortreiad, o Grist fel Trugareddfa-wr (*ilasterios*, pen. 3, 25), cawsai Israel y Drugareddfa rhwng y cerubiaid; ac o swydd ei waed neu farwolaeth ef, dros bechodau rhyfygus sef yr hyn a elwir yn ddrwg moesol—cawsent waed yr aberthau anifeilaidd. Credent—ymddiriedent, yn Nuw fel eu Jehofa, am faddeuant o'u camweddau, sef y pendant bechodau perthynol i'r rhestr seremoniol a gwladol yn unig, uwchben yr aberth a'r ymolchiad cyssylltiedig â'r cyfryw ar y rhestr a nodwyd; eithr yn Nuw fel Duw y Gras a'r Drugaredd y credent am faddeuant—maddeuant diaberth (am a wyddent hwy) o'u pechodau ereill.

# TRAETHODAU EGLURHAOL

AR YR

# EPISTOL HWN.

---

## TRAETHAWD I.

CRIST FEL MAB DUW YN Y TESTAMENT NEWYDD. [Gwel. ar pen. i, 3.]

MAE'r ymadrodd MAB DUW, fel y gwyr pob un sy'n darllen y beibl, yn lled anhawdd ei ddeongli. Mae dosraniad Stuart o'i ystyriaethau mor naturiol ag un. Gellid galw unrhyw greadur rhesymol yn fab Duw, yr hwn a ffurfiesid ar ddelw Duw. Meddylddrych gwreiddiol y gair *mab* yw *tarddiad.* Yr ystyr nesaf, yr hon hefyd a aml arferir, yw *tebygolrwydd.* Y trydydd gradd o ystyr yw, cael o un ei ystyried neu ymddwyn ato fel mab, sefyll yn lle mab, hyny yw, meddu o hono ddoniau arbenig, ffafr, neu fendithion. I'r naill neu y llall o'r ystyriaethau hyn, y gellid olrhain yr holl frawddegau yn mha rai yr arferir yr ymadroddion *mab* neu *feibion Duw*, yn yr Hen Destament, neu y Newydd. Am wahanol ystyriaethau y gair MAB, Gwel ar Mat. 23, 15. Eithr, gan mai olrhain y testyn gwreiddiol yw tasg y gwaith hwn, ac o'r cyfryw olrheiniad, gael allan athrawiaethau a dyledswyddau; felly y gwedda myned yn mlaen yn awr. Arweinir ni gan yr arferiad apostolaidd o ymadroddi, at y testynau sydd yn sylfaenu athrawiaethau neu ystyriaethau y gair hwn *Mab Duw.* Gan fod i bob duwinydd ei ddull priodol o eirio; cedwir ysgrifenwyr y Testament Newydd hefyd ar wahan yma. Ac yn gyntaf, sylwir ar

*Y gwahaniaeth rhwng Mab Duw, ac Y Mab Duw.*

I. Arferiad y gair yn yr Efengylwyr.

MATTHEW, gyda'r fannod o'i flaen.

*a)*, 3, 17, "Fy Mab, mewn modd neillduol, ydwyt ti; yn yr ystyr mewn golwg genyf, yr unig fab ydwyt." Pa un ai fel person dwyfol, fel cyfryngwr, fel Duw-ddyn, fel anfonedig, ynte fel prophwyd, nid yw'r ymadrodd yn sicrhau i ni; nac yn mhellach na'i fod yma yn cyfeirio ato mewn ystyriaeth, yn yr hon yr oedd efe yn Fab heb neb yn debyg iddo. Felly xvii, 5.

*b)* 7, 9, "Os gofyn ei *unig* fab ganddo fara."

*c)* 12, 32, "Yn erbyn y Mab dyn," yr hwn sydd yr unig un o'r cyfryw yn yr ystyr mewn golwg. Felly yr holl arferiadau o'r gair "Mab y dyn," pan am Iesu Grist.

*d)* 26, 63, "Ai tydi yw y Crist, y mab hwnw ir Dduw a ystyrir ei unig Fab?" Yr un ystyr ag *(a)*.

Matthew, heb y fannod o flaen y gair.

*e)* 4, 3, "Os Mab wyt i Dduw," sef, os prophwyd, neu anfonedig, neu &c., heb gyfeirio dim at unigolrwydd, neu neillduolrwydd, fel y gwnai Duw ei hun, dan *(a)*, a'r archoffeiriad yntau dan *(d)*.

*f)*, 5, 9, "Canys meibion i Dduw eu gelwir;" ond nid mewn ystyr amgenach na'i holl feibion mabwysiadol; neu "a elwir." Felly adn. 45.

*g)*, 8, 29, "Y ddau ddieflig a lefasant, Iesu, fab Duw;" heb feddwl am ddim neillduolrwydd, nac unigolrwydd, wrth y teitl.

*h)*, 14, 33, "Y rhai oedd yn y llong a ddywedasant, Yn wir, mab i Dduw wyt ti." Golygiadau cyffredinol, a rhy isel; ond, yn gystal ag a allesid etto eu dysgwyl.

*i)*, 27, 43, "Canys efe a ddywedodd, Mab i Dduw ydwyf;" fel prophwyd, neu ryw swyddog dyrchafedig, yn mha swydd yr oedd ganddo gydraddolion, er hyny. Nid oeddynt yn llefaru y gair *Mab Duw* yn yr un ystyr â'i Dad, a'i ddysgybliou ol-bentecostaidd.

*l)*, 27, 54, "Mewn gwirionedd," ebe y canwriad, "mab i Dduw ydoedd hwn." Yn yr un ystyr ei deallir â'r cyfeiriadau diweddaf.

*m)*, 27, 40, "Os mab wyt i Dduw:" os un o'i feibion angylaidd mewn son yn Job, neu brophwydol, neu &c., wyt. Ni chyfeirient—ni oddef eu hiaith i ni dybied y cyfeirient, at un neillduolrwydd yn y mabolaeth dan sylw.

Marc, gyda'r fannod o flaen y gair.

*a)*, 1, 11, yr un peth ag yn Mat. *(a)*, a 9, 7.

*b)*, 3, 11, yr ysbrydion aflan a gyhoeddent mai'r Iesu oedd y Mab Duw, mewn ystyr neillduol, arbenig ar bawb arall.

Marc, heb y fannod.

*c)*, 1, 1, "Dechreu efengyl Iesu Grist, mab i Dduw."

*d)*, 15, 39, "Yn wir, mab i Dduw oedd y dyn hwn." Yr un peth ag yn Mat. *(l)*.

Luc, gyda'r fannod o flaen y gair.

*a)*, 3, 22, yr un fath â Mat. *(a)*.

*b)*, 4, 9, lle mae Satan yn cymhwyso y teitl at yr Iesu gydag ammheuaeth; ond heb y fannod y darllena'r holl feiblau parchusaf, megys Griesbach, Scholz, Knapp, &c., yr hyn sy'n cyssoni yr hanes â'r hwy a gawsom yn Matthew.

*c)*, 4, 41, "Y cythreuliaid, dan lefain a ddywedasant, Ti yw y Crist, y Mab Duw." Gwelwn fod y rhywogaeth hon o honynt yn adnabod yr Iesu yn well o lawer na'r rhai oedd yn y ddau ddieflig, yn mhlith y beddau, yn ol Mat. *(g)*.

*d)*, 22, 70, "Ai y Mab Duw, gan hyny, ydwyt ti?" ebe'r archoffeiriaid wrth yr Iesu, yn yr un ystyr ag yn ol Mat. *(d)*.

*dd)*, Act. 9, 20, lle ceir fod Saul o Tarsis wedi deall fod Crist yn fab Duw mewn ystyr arbenig a neillduol; canys wele efe yn pregethu yr athrawiaeth yn ddiatreg.

Luc, heb y fannod o flaen y gair.

*e)*, 1, 35, "Am hyny hefyd, y peth santaidd cenedledig a elwir yn fab i Dduw." Dio, *on which account*, o ba herwydd; sef, am mai o'r Ysbryd Glân ei cenhedlir, gelwir ef; neu o ddeongli y priod-ddull Hebreaidd hwn—"*bydd* efe yn fab i Dduw." Nid yn yr ystyr unigol,

neillduol, a arferir briodoli iddo yn gyffredin, canys yna arferasid y fannod fel y gwnaed yno. Gan hyny, yr oedd Efe yn fab i Dduw mewn ystyr îs na'r uchaf, *oherwydd* ei genedlu gan yr Ysbryd Glân.

*f)*, 4, 3, 9, yr un peth ag yn Mat. *(e)*.

*g)*, 20. 36, "Plant i Dduw ydynt," am saint yr adgyfodiad. Nid oes dim neillduolrwydd yn ystyr y gair yn yr adnod hon.

Ioan, gyda'r fannod o flaen y gair.

*a)*, 1, 34, tystiolaethai Ioan Fedyddiwr mai Mab Duw oedd yr Iesu, yn yr ystyr uchaf, fel unig Waredwr anfonedig Duw.

*b)*, adn. 49, yr un oedd tystiolaeth Nathanael am dano.

*c)*, 3, 16, 17, felly ei hystyrid ganddo ef ei hun fel unig Waredwr y byd, yr uniganedig Fab. Nid oes neb i fod fel efe yn yr ystyr hyn.

*d)*, ad. 18, tystiolaethodd hefyd ei hun, y rhaid i bob dyn gredu ynddo ef; nid fel yn Moses, y Salmau, y proffwydi, a'r apostolion, ond fel mae efe yr unig, neillduol, digyffelyb, neu uniganedig Fab Duw; yn yr hyn yw efe yn hynod i'r lleill oll, o bob swydd a naturiaeth.

*e)*, adn. 35, tystiolaetha Ioan Fedyddiwr ei fod, nid yn unig yn fab *Duw* fel llawer ereill, ac nid yn unig ychwaith, yn fab *Duw* mewn ystyr arbenig, *unig*-anedig; ond hefyd yn Fab, yn *unig* Fab y *Tad*. Dyma bersonau dwyfol. Os yw y Tad yn gyfryw, gwna'r adnod hon y Mab hefyd felly: a chyhoedda fod y person cyntaf yn caru y llall, ac yn ymddiried pob peth i'w law ef, fel person dwyfol—fel Mab iddo yn y cymmeriad o Dad, ac nid yn unig fel ei ddanfonydd, a'i Dduw.

*f)*, adn. 36: ychwanegir yma, gan yr un tystiolaethydd, mai colledig fydd pob dyn nas credo ynddo fel y mae y mae efe yn y cymmeriad diweddaf. Trwm yw genyf arferyd yr ymadrodd hwn, ond gallaf lechu rhag cyhuddion o anffaeledigrwydd dan gysgod yr adnod.

*g)*, 5, 20: yr un dystiolaeth ag yn *(e)*, allan o enau Crist ei hun.

*h)*, adn. 25, yr hon sydd dystiolaeth Crist ei hun, mai fel y mae efe yn fab Duw yn yr ystyr neillduol, ac arbenig, y bloeddia efe ar y meirw o'u beddau, foreu yr adgyfodiad; ac, nid fel y mae efe yn gyfryw ar yr un tir ag ereill.

*i)*, 6, 42, lle geilw'r Iuddewon yr Iesu yn fab Joseph mewn modd arbenig; sef, yr hwn a elwid gan bawb yn neillduol fab Joseph.

*l)*, adn. 69, lle tystiolaetha Pedr, mai'r Iesu oedd Mab y Duw byw, yn yr ystyr unigol, a goruchel.

*m)*, 9, 35, lle gofyna'r Iesu i'r dyn dall a gawsai olwg ganddo, "A wyt ti yn credu yn Mab neillduol Duw?"

*n)*, 11, 4, "fel y gogonedder y Mab Duw drwy hyny," ebe'r Iesu am farwolaeth Lazarus.

*o)*, adn. 27, yn yr un ystyr yr oedd efe yn wrthddrych crediniaeth Martha.

*p)*, 17, 1, lle gesyd Crist ei hun yn gyfartal â'r Tad; canys annercha ef â'r teitl, dan yr hwn yn unig y meiddiodd efe ddywedyd, ei fod yn adnabod y Tad, ac yn cael ei adnabod ganddo ef.

*q)*, 20, 31, lle gelwir arnom gan Ioan yr efengylydd, i ddarllen hanes Crist, er mwyn cael ein hennill i gredu mai efe yw Mab Duw yn yr ystyr neillduol ac arbenigol.

*r)*, 1 Ioan 1, 3, yr un ystyr ag *(e)*.

*s)*, 1 Ioan 1, 7, yn yr un ystyr ag y mae efe yn Fab neillduol, ac arbenig Duw, y mae ei waed ef yn glanhau pechod. Gan hyny, nid fel yr ordd efe yn ferthyr ei hystyrid yma; canys mae i ni lawer o feibion Duw, fel yntau, a'u gwaed yn ein glanhau fel esiampl ferthyrol dros y gwirionedd. Nid fel person dwyfol, neu Fab y Tad, ychwaith, y cafwyd ei waed i'n glanhau. Yn yr un ystyr hefyd, y dattododd efe weithredoedd y diafol, yn ol 1 Ioan 3, 8; yr hyn nid oedd fel pregethwr yn unig, ond mewn rhyw gymmeriad, yn yr hwn nid oedd gan Dduw neb yn debyg iddo;—ei Fab mewn modd arbenig.

Yn yr un ystyr etto, y'n hannogir i gredu ynddo ef (yn ol 1 Ioan 3, 23); y danfonwyd ef i fod yn ffordd bywyd, ac yn Iachawdwr i ni (4, 14); y gelwir arnom i'w gyffesu ef (4, 15); ac i'w dderbyn (5, 12); ac i aros ynddo (5, 20).

Ioan, heb y fannod o flaen y gair.

*t)*, 10, 36, lle dywed Crist, ei fod yn fab i Dduw, yn y cymmeriad o fod wedi ei neillduo, a'i anfon i'r byd ganddo ef. Amlwg, nad yw efe yma yn cyfeirio, namyn at ei ddanfoniad fel prophwyd, pe amgen, arferasai y fannod.

*u)*, 19, 7, lle cyhuddir yr Iesu, gan yr Iuddewon, o wneuthur ei hun yn fab i Dduw. Gwelwn, nad ba beth a wnaethai efe o hono ei hun fel Mab Duw, nad oeddynt hwy yn gallu dirnad am un ystyr uwch na mab i Dduw fel rhyw brophwyd mawr arall. Ac fel yr oedd ganddynt hawl i ddienyddio pob gau-brophwyd, felly y mynasant wneuthur ag yntau, er y dylasent ofyn arwydd ganddo yn gyntaf; a'i ladd ar ol iddo fethu a'i rhoddi iddynt: eithr yn eu cyfrwysdra, rhag gofyn iddo am arwydd, a rhag ofn y cawsent hi, ceisiasant dystion, i'w gyhuddo o fod yn gosod dinystr eu teml yn arwydd o'i ddwyfol ddanfoniad.

II. Arferiad y gair yn Paul a Phedr.

Paul, gydag arferiad o'r fannod o flaen y gair.

*a)*, Rhuf. 1, 3, lle dywed Paul, mai am Grist yn y cymmeriad o Fab neillduol Duw, yr oedd yr efengyl yn son; ac mai yn y cymmeriad o gyfryw Fab Duw, yn hytrach nag o Fab y Tad *yn unig*, y gwisgodd efe ddynoliaeth. Gan hyny, wrth gymmeryd ei wneuthur yn gnawd fel uniganedig Fab Duw, y daeth efe â Duw fel y cyfryw mewn undeb â dynoliaeth; ac, wrth gymmeryd ei breswylfod mewn dynoliaeth fel mab y Tad, y daeth efe â'r ail berson yn y Drindod fel y cyfryw i fyw mewn cnawd. Nid yn yr un ystyr y mae efe yn Fab y Tad ag yn Fab Duw. Nid yn yr un ystyr y mae efe yn Dduw, ie, yn unig wir Dduw, ag yn berson dwyfol.

*b)*, adn. 9, lle ceir y gair yn yr un ystyr.

*c)*, 5, 10, lle dywed Paul, mai yn y cymmeriad o fab arbenig, neu unig Fab Duw, y bu efe farw, i ddwyn heddwch i ni; ac, nid yn y cymmeriad o fab mewn ystyr is, a chydradd a rhywrai ereill, megys y prophwydi. Felly dengys pen. 3, 3, i Dduw anfon Crist i ymddangos yn y cnawd; ac 1 Cor. 1, 9, mai dyma y cymmeriad yn yr hwn ein gelwir i gymdeithasu ag ef; ac 2 Cor. 1, 19, mai yn y cymmeriad goruchel hwn ei dyrchefid yn yr efengyl; ei defnyddir mewn ffydd (Gal. 2, 20);

ei danfonwyd i gael ei eni o wraig, a than y ddeddf (4, 4); y traddodai efe wybodaeth yr efengyl i'w apostolion, ac ereill (Eph. 4, 13); y teyrnasai efe ar yr oruchwyliaeth hon (Col. 1, 13); y daw o'r nefoedd i'r farn (1 Thes. 1, 10); yr annerchir ef gan y Tad yn frenin tragwyddol (Heb. 1, 8); y mae efe yn eiriol drosom yn y nef (4. 14); yr ail-groeshoelia hen wrandawwyr efengyl ef, yn eu herbyn eu hunain—y trywanant ef, nes mai yn eu dwylaw eu hunain y cânt yr hoelion condemniol wedi glynu, yn *y* diwedd (6, 6); y mae efe yn dragwyddol offeiriad (7, 3); ac yn cael ei fathru hefyd gan yr anghredadyn (10, 29).

Paul, heb y fannod o flaen y gair.

*d)*, Rhuf. 1, 4, am Grist yn cael ei egluro; gosod i fod. apwyntio, cyflunio yn fab i Dduw, drwy ei adgyfodiad o'r bedd. Nid *profi* ei fod, ond ei *osod* i fod. Pe profi ei fod eisoes fuasai amcan yr apostol, arferasai y fannod o flaen y gair *Mab;* a phed arferasai hi felly, gorfuasai arnom i ystyried y gair *orizo*, cyflunio, am *gyhoeddi*, a *dangos allan*, oblegid yr oedd efe yn Fab Duw yn yr ystyr a gymmerai y fannod, er ys llawer dydd, yn ol yr hanes o'r blaen am dano. Eithr yn yr adgyfodiad oddiwrth y meirw y gosodwyd ef yn fab i Dduw yn yr ystyr hyn, fel y dywedir hefyd gan Paul, yn Act. 13, 33 —"Gan iddo gyfodi yr Iesu, megys ag yr ysgrifenwyd yn yr ail Salm, Fy mab i ydwyt ti; myfi heddyw a'th genedlais di." Gwyddom mai mab i Dduw drwy genedliad o'r fath yma, yw y cyntafanadig Fab o feirw a fedd Duw; pan adgyfodir ninnau oll, byddwn frodyr hollol iddo ef, yn yr unrhyw ystyr, megys yr ydym yn awr mewn gobaith cryf a chrediniaeth. Ceir y gair a gyfieithir yma yn *egturwyd*, am *benodi* i swydd, &c., yn Act. 17, 31; a 10, 42; ac am drefnu, arfaethu, gosod, yn Heb. 4, 7; Act. 17, 26; Luc 22, 22; Act. 2, 23.

*e)*, 8, 14, am y modd y mae'r Saint yn feibion i Dduw. Yn hyn nid oes neillduolrwydd, yn galw am rag-fannodi y gair, fel am Grist fel Gwaredwr, Cyfryngwr, &c., yn fab Duw. Felly 9, 26, sydd â'r un ystyr.

*f)*, Heb. 1, 5, "Mab i mi wyt ti."
"Efe a fydd yn fab i mi."

Os at dragwyddol fabolaeth y cyfeirir yma, pa fodd y dywedir, ei fod yn ei genedlu ef *heddyw?* Os atebir, fod *heddyw* Duw yn ddi-ddechreu, gofynir drachefn, A yw efe yn cael ei genedlu yn awr, ynte? Ac a oes un peth yn briodoledd hanfodol yn Nuw, ac yn peidio â bod yr hyn ydoedd o'r dechreuad? Hefyd, Pa fodd y dywedir; "*Byddaf* yn dad iddo," os oedd efe felly yn yr unrhyw ystyr erioed? *Nage*, am yr adgyfodiad o'r bedd y sonir, fel y deongla Paul yn Act. 13, 33. Ond, Gwel dan *(d)*. Yr un modd hefyd, yn Heb. 5, 5, 8, am yr un rhyw gymmeriad.

Pedr, gyda'r fannod o flaen y gair.

*a)*, 1 Epist. 5, 13, "A Marc, fy mab neillduol i." Fe allai, mai ei unig blentyn mabwysiadol.

*b)*, 2 Epist. 1, 17, "Hwn yw fy Mab, &c. Gwel ar Mat. *(a)*.

Pwy bynag o'r darllenwyr sy'n ammau urddas anghydmharol Crist

fel Gwaredwr, a'i Dduwdod mewn cnawd; ïe, pwy bynag sy'n cipio tybiau yn nghylch mabolaeth Crist, allan o gredoau enwadawl, tröed yn fanwl ei lygad dros y cyfeiriadau hyn—credo y Testament Newydd; ac fel y caffo ei argyhoeddi ganddynt, creded; ac fel y credo, cyffesed yn ddiofn.

Gwelwn fod y Testament Newydd yn arferyd y gair *Mab* am Grist yn mhob ystyr ddwyreiniol o'r gair, oddieithr yr ystyr wreiddiol o darddiad cenedledig o ran person. Cawn ef yn bersonol Fab fel y cawn y Tad yn bersonol Dad. Pa un a raid fod yn y meddylddrych hwn yr un Athanasiawg o lythyrenol genedliad, sydd bwnc arall, i'w olrhain yn mlaen llaw. Cawn yma hefyd fod Crist yn Fab *Duw*, heblaw ei berthynas a nodwyd yn awr â'r Tad—fel ei uniganedig Fab, yr hyn a arwyddocâ fab mewn perthynas agosach nag un bod arall, o ran naill ai swydd, ai anwyldeb, ai doniau cynnysgaethol, ai tebygolrwydd o ryw fath. Y gair *uniganedig* ynddo ei hun nid yw yn penderfynu pa ystyr sydd mewn golwg. Etto, dylem ystyried na all efe fel y mae yn *Dduw* fod yn *Fab Duw*, ac mai ymadroddion o ystyrion gwahanol yw *Mab Duw* a *Mab y Tad*. Cawn hefyd iddo gael ei alw yn Fab Duw, oherwydd mai yr Ysbryd Glân a'i goruwchnaturiol genedlodd; oherwydd ei fod y Messia; y Prophwyd mawr; y Cyntafanedig o'r adgyfodedigion perffeithiedig; y Cyfryngwr; ac, fe allai, mewn rhyw swydd neu ymddiried arbenig, neu yn mwynhau rhyw fraint arbenig, ac anghydmharol arall; canys dwyreinwyr oedd yr ysgrifenwyr a gymhwysent ato y cyfenw *Mab*, ac nid gorllewinwyr: gwŷr yn arfer geiriau yn ol eu priod-ddull eu hunain oeddynt, ac nid yn ol ein priod-ddull gwahanol ni.

*** Mae yn arferiad mewn Traethodau Duwinyddol o'r fath yma, i'w cyfansoddi, fel y dywed ein cymmydogion, y Saeson,—*by Induction*, neu *by Synthesis;* sef, drwy ddilyn y profion nes cyrhaedd at y gosodiad; neu ynte, drwy roddi i lawr y gosodiadau, yn gyntaf, ac ail, &c., a'u profi ar ol hyny. Y cynllun cyntaf a ddewiswyd yn y Traethawd hwn, ynghyd â'r rhai ar *Gyfiawnder Duw*, *Ffydd*, *&c.*, tra bernais yn ddeheuach ddilyn y cynllun arall ar *Ddeddf Natur*, *Cydwybod*, *&c.* Y *Synthetic* yw yr hen ddull o osod i lawr yn gyntaf y *Credo*, a dwyn tystiolaethau ysgrythyrol drosto, yn nesaf: yr *Analytic* yw yr arferiad diweddarach, o wybod dim am na chredo na gosodiad, cyn olrhain y dystiolaeth yn gyntaf. Arferir y dull olaf yn yr holl waith hwn, ar bethau a phynciau *anadnabyddus*, er mwyn dod i gydnabyddiaeth â hwynt: arferir y dull arall gyda phynciau a adnabyddwyd eisoes i raddau, drwy y dull olrheiniadol; ond yn awr a ail-foldir, er mwyn eu hardremio yn eu crynswâd a'u cyd-berthynasau.

## TRAETHAWD II.

### ARFERIAD YR YMADRODD MAB DUW YN Y CREDOAU.

DYWED y rhan fwyaf o'r credoau fod Crist yn Fab Duw drwy dragwyddol genedliad, er nad ymddengys eu bod yn honni un dystiolaeth ysgrythyrol dros y dyb. Nid yw y ffaith o'i fod yn cael ei alw yn Fab yn un dystiolaeth o hyn, i neb sy'n deall eang arwyddocâd y gair hwnw. Am yr ymadrodd yn yr ail Salm, "Myfi heddyw a'th genedlais di," drachefn, ni ellir ei gymhwyso at ddim tragwyddol, ar-

ol iddo gael ei esbonio gan Paul yn Act. 13, 33, yn brophwydoliaeth am adgyfodiad Crist, a mai "cyfodi yr Iesu" o groth y byd anweledig a'r bedd oedd ystyr y gair *cenedlu* yn y brophwydoliaeth.

Ond y mae tuedd beryglus yn yr ymadrodd *tragwyddol genedliad.* Os yw Mab Duw yn ddeilliadol neu genedledig mewn ystyr ddwyfol, ymddengys nad yw efe fel Duw yn annibynol. Ni thycia haeru fod ei genedliad yn *dragwyddol,* a bod ei *modd* yn ddirgelaidd, goruwchnaturiol, ac annhebyg i genedliad unrhyw sylwedd creadigol; canys gellid caniatâu hyn oll yn ddigon hawdd, a gofyn o hyd, onid yw y gair *cenedlu* (bydded y *dull* y peth y bo) o anghenrheidrwydd, ac yn arferiad pob iaith, yn gwadu y meddylddrych o hunan-ymddibyniaeth? Cyfaddefid hyn yn eglur gan dadau y canrifoedd gynt, o'r bron ag un llais, gan haeru nad oedd Crist yn hunan-ddibynol Dduw, ond yn ddeilliedig o'r Tad, a chenedledig o'i sylwedd ef. Y Tad yn unig a ystyrient hwy yn hunan-ddibynol: nid ystyrient ar un ystyr yn gydunol â'r dyb o *genedliad,* i'r Mab hóni y briodoledd hon o ddwyfolder. Felly y credo Niceaidd: "Duw o Dduw, Goleuni o Oleuni." Ystyrient fod y Gair *(logos)* yn hollol a gwirioneddol darddiad o'r Tad; amryw o'r tadau (y rhan fwyaf o'r rhai boreuol), fel tarddiad o hono ag a gymmerasai le mewn amser, neu yn hytrach, fe allai, yn ymyl cyn dechreuad amser.

Ymddengys fod Dr. Tholuck, yn ei esboniad diweddar ar yr epistol hwn, yn dal allan, gyda'r hen dadau a nodwyd, ddibyniad, ac yn gwadu hunan-ymddibyniad y Gair; tra mae er hyny, gyda hwynt yn cadarn sefyll dros yr athrawiaeth o fod Crist yn Dduw. Ond, ai diau y gall y meddwl dynol fynwesu meddylddrych am un Bôd fel *gwir* Dduw, yr hwn nid yw yn bodoli ynddo ac o hono ei hun, nac ychwaith yn annibynol? Os nad yw y Mab yn meddu yr un o'r priodoleddau hyn, yna y mae efe yn ddiau yr hyn ei gelwid gan rai o'r tadau,—yn ail-Dduw *(theos deuteros),* a dim mwy. Nid wyf yn dywedyd mai hollol Ariaid yw y rhai hyn; ond rhaid i mi gytuno â Dr. Stuart, i gyfaddef, na allwn wneyd nn ymosodiad ar Ariaeth, pe caniatawn gymmaint â hyn. Mae yr holl ddadl rhwng yr Ariaid a duwinyddion y *tragwyddol genedliad,* yn troi ar y gwahaniaeth sydd rhwng cael o un ei *genedlu* a chael o un ei *wneuthur:* cyfaddefa y ddwy-blaid darddiad a dibyniad, mewn ffaith; gwahaniaethant ynghylch amseriad a dull y pethau hyn, yn unig. A ddichon y fath dybiau â hyn, pa rai nid ynt, yn ol barn pawb, yn ddim ond dirgeledigaethau, gael eu gosod yn bwysig achlysuron ymraniad ac oerfelgarwch rhwng y rhai a ymgyfenwant yn Gristionogion?

Caniatäai philosophi y tadau iddynt gredu mewn dwyfol natur darddedig. O ganlyniad, gallent ddal allan genedliad y Mab fel y mae yn *Logos* (y Gair) heb un anhawsdra. Ond, am i ni yn awr ganiatau i Fôd ag sydd yn *wir* Dduw (a'i addoli fel y cyfryw), fod o ran ei ddwyfolder personol yn darddedig a dibynol, a ymddengys, yn wir, yn beth anmhosibl. Rhaid i holl elfenau ein golygiadau ni, Trindodwyr yr oes hon, debygwyf, yn nghylch y Bôd anfeidrol, gael eu cyfnewid, cyn y gallwn ganiatau y fath osodiad.

Nid yw dywedyd fod y Mab yn dragwyddol genedledig, ac etto yn hunan-ymddibynol, ddim amgen na dywedyd nad yw y gair *cenedledig* yn arwyddocâu *tarddedig:* dywedyd yw hyny, nad oes i'r gair ddim o'r cyfryw ystyr ag a briodolwyd iddo gan holl henafiaeth ac arferiad erioed. Heblaw hyny, mae y cyfryw yn gwadu athrawiaeth yr hen eglwys dadawg, wrth geisio, ar yr un pryd, ei hattegu. Mewn gair, nid yw y brodyr a ddaliant dros y cenedliad hwn, yn gwneyd na mwy na llai na dywedyd: Mae y Mab yn berffaith fel y Tad yn mhob ystyr; etto, o ran y briodoledd arbenig hóno. yr hon y tuhwnt i'r lleill oll sydd yn peri fod Duw yr hyn ydyw; hyny yw, o ran hunan-ymddibyniad (ac o ganlyniad, annibyniad) ni fedd y Mab unrhyw gyfranogiad o honi: y mae hi yn perthynu yn unig i'r Tad! Neu mewn geiriau ereill: Mae y Mab *yn gyffelyb yn mhob ystyr* i'r Tad, gyda'r unig eithriad o'i fod, o ran y fwyaf anhebgorol o'i berffeithiau, yn anfeidrol *anghyffelyb* iddo.

Eithr ychwanega Tholuck a'i gydgredwyr Athanasiaidd fel eglurhad, fod "cenedliad y Mab yn anghenrheidiol a thragwyddoi: fod y Mab mor anghenrheidiol i'r Tad, ag yw y Tad i'r Mab, a bod y dibyniad (os oes y fath) yn ogymmaint o bob ochr." Ond, yma etto collir ni yn ngwyneb ansicrwydd ystyr geiriau. Yr hen dadau a anghytunent yn nghylch cenedliad *anghenrheidiol* a *gwirfoddol.* Duwinyddiaeth ddiweddar a arfera genedliad am rywbeth *personol,* neu ddull y Mab o fodoli, ac nid am ei anfeidrol berffeithiau. Eithr, pa beth, atolwg, yw y cenedliad hwn? Pa un ai gweithred ynte priodoledd ydyw? Os gweithred, pa fodd y gall fod yn dragwyddol? A oes gweithred yn dragwyddol? Os priodoledd ydyw, yna gydag Origen, rhaid i Tholuck, yn nghyda'i frodyr yn Nghymru, gredu fod cenedliad y Mab yn parhau, ac y parha yn ddiddiwedd; canys rhaid i briodoledd ddwyfol fod yn ddigyfnewid byth. Ac ar ol y cwbl, onid yw cenedliad yn arwyddocâu dibyniad? Hyn nis gellir ei wadu tra bo'r iaith yr hyn ydyw. Rhaid cyfnewid ystyr geiriau yn gyntaf. Yna, bydded cenedliad y Mab anghenrheidiol neu beidio, mae y Mab o hyd yn ddibynol, yn ol y gredo Athanasiaidd hon, ac o ganlyniad, heb fod nac yn hunan-ddibynol, nac yn bodoli ynddo ac o hono ei hun. Wele ni wedi ein gadael etto yn yr un gors ag o'r blaen; ac ni allwn gael yn y Gair *(logos)* ddim oll ond *Ail Dduw!*

Ac nid yw y pwnc yn cael ei oleuo ddim drwy haeru gyda Tholuck, fod y Mab mor anghenrheidiol i'r Tad, ag yw y Tad i'r Mab. Ni ddangosai hyn, pe bai wir, ond nad oes un o'r Personau dwyfol yn hunan-ddibynol; eithr fod y naill a'r llall yn dibynu ar rywbeth nad yw yn perthyn yn hollol iddo ei hun, am naill ai ei fodolaeth, neu am ryw fodd anhebgorol o'i fodolaeth.

Dywed ein hepistol (9, 4), fod y Mab yn Dduw uwchlaw pawb; a phwy a all fod yn fwy na hyny? Eithr darllener y *Biblical Repository, Nos.* 18, 19. 1835; a Stuart *on Romans, Excurs.* i.

---

## TRAETHAWD III.

### CYFIAWNDER DUW.

[*Am farnau y Beirniaid a'r Duwinyddion, Gwel ar pen.* i, 17.]

Yr oedd yn hysbys i'r Iuddewon fod Duw yn derbyn a 'rhyddhau pechaduriaid ar eu hedifeirwch. Y dosbarth Phariseaidd o honynt a dybient mai ar gyfrif cyfiawnder Abraham, yr hwn, meddent a drosglwyddid iddynt drwy enwaediad eu cnawd, y cyfiawnheid hwynt oddiwrth y pethau oedd y tu allan i restr yr aberthau. Tebyg yw, eu bod hefyd yn priodoli cryn lawer o rinwedd i'w manwl ddegymau, golchiadau, gweddiau, ac elusenau. Yr oedd ganddynt gyfraith draddodiadol fel rheol i'r holl bethau hyn. Can belled ag yr elai deddf Moses a'i chyfiawnderau yr oedd Duw wrth eu cefn, os byddent ofalus i'w chadw. Dyna "y cyfiawnder sydd o'r ddeddf." Y llall oedd "cyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid," a'r "cyfiawnder eu hunain." Yr oedd y ddeddf yn cyfiawnhau ei deiliaid hyd derfyn ei thymhor, can belled ag yr elai rhestr ei chamweddau, a'i hoffrymau, a'i golchiadau. Eithr yr oedd yno ddwy lech eilwaith, pa rai, o'u tori a ofynent am fywyd tymhorol y troseddwr. Maddeuant nid oedd i'w gael ar un ammod o fewn cylch y Ddeddf. Nid oedd dafn o waed ganddi hi i'w daenellu ar y llechau: ar y drugareddfa yn unig y disgynai. Etto (fel y dangoswyd ar pen. 3, 25) yr oedd Duw mewn rhyw gymmeriad arall, a thrwy ryw aberth anhysbys, yn maddeu i'r edifeiriol drwy yr oesoedd hyny, hyd yn nod am odineb a llofruddiaeth, megys i Dafydd, er na wyddai yr edifeiriol ei hun amgen nad "calon ddrylliog" oedd yr aberth a ddyhuddai y dwyfol lid ar ei ran. Salm 51, 17.

Felly, yr oedd pawb yn gwybod fod Duw yn cyfiawnhau heb un aberth adnabyddus; ond yr oedd y cyfiawnhawr yn Fod cyfiawn; ni chyfiawnhâi efe yr anwir. Rhaid, gan hyny, fod ganddo gyfiawnder o ryw natur, fel y byddai efe yn gyfiawn wrth gyfiawnhau. Taerai y Phariseaid mai dan gochl eu hathrawiaeth hwy y llechai, tra mynai yr apostolion mai drwy gyfundrefn Ffydd y deilliai, yr hyn oedd yr un peth a dywedyd *Rhad Ras.* Prif amcan yr epistol hwn, ynghyd â'r un at y Galatiaid, oedd profi hyny; canys y ddadl hon oedd un fawr yr oes hòno.

Yr oedd ystyr i'r gair cyfiawnder *(dicaiosune)* cyn geni yr apostolion, sef gwneuthur yr hyn, neu fod yr hyn, oedd yn uniawn a chyfiawn: eithr yr oedd gan Duw ryw ras drwy yr hwn y cyfiawnhäai efe bechadur oddiwrth ei ddrygau moesol, ac anfad, a rhyfygus. Pa beth allasai y cyfiawnder hwnw fod? Dyna y cwestiwn i'w ateb. Tybia amryw o'n duwinyddion ni, mai dadlu yn erbyn gosod y credu, a'r edifarhau, a gweithredoedd da ereill Ffydd, yn achosion i'r cyfiawnhad, y mae efe, heb gofio mynyd, nad Calfiniad, nac Arminiad, Ffwleriad, nac Antinomiad, oedd efe.

Eithr, deheuach yw olrhain i ystyr y gair *cyfiawnder* yn ysgrifeniadau y Testament Newydd.

Dywedir fod dedwyddwch y gyfundrefn yn aros y rhai sydd yn

newynu a sychedu am y cyfiawnder hwn *(he dicaiosune*, Mat. 5, 5); fod y dedwyddwch i gynnyddu os erlidir hwy o'i achos (adn. 10); ac nad yw efe yn gyffelyb mewn dim i'r hyn a dybiai y Phariseaid yn gyfiawnder maddeuol Duw (adn. 20); fod prif ymgais dysgyblion Crist i fod am ei gyrhaedd ef (6, 23); a bod Ioan Fedyddiwr ei hun yn ei bregethu, ac yn agoryd y ffordd o flaen yr eglurhad apostolaidd o hono (21, 32.) Cymmaint â hyna a ddywed yr apostol *Matthew* am dano. Nid yw ei fesur ef o wybodaeth Crist yn cyrhaedd can belled â'r eiddo Paul ac Ioan, yn nghyssylltiad y cyfiawnder â marwolaeth Crist fel sail, ac â gwaith yr Ysbryd fel argyhoeddydd o'r rhaid wrtho, &c.

Prophwydai Zacharias (Luc 1, 75) y byddai cyfoeswyr y Messia yn gwasanaethu y Messia dan ei gysgod ef. Nid yw *Luc* mwy na *Marc* yn talu nemawr sylw i'r gras hwn dan yr enw neillduol yma.

Addawai Crist ar ei ymadawiad, mai un o orchwylion ei Ysbryd fyddai argyhoeddi y byd yn nghylch y cyfiawnder hwn (Ioan 16, 8); ac mai prif brawf ei berffeithiad gan Grist drwy ei farwolaeth, fyddai ei esgyniad ef at, a'i arosiad gyda, ei Dad yn y nefoedd (adn. 10). Ymadrodd hynod o eiddo yr apostol Ioan, oedd galw coleddwr cyfundrefn y Ffydd yn,—"Yr hwn sydd yn gwneuthur y cyfiawnder" *(ho poiôn tên dicaiosunen)*, gan ychwanegu fod y cyfryw wedi eu cenedlu o Grist, fel yr oedd efe yn Fab neu Gyfryngwr (1 Ioan 2. 24, 29). Mae y sawl a gofleidiant drefn y Ffydd fel y mae hi yn berffaith yn y Mab, yn gyfiawn; nid ar dir diniweidrwydd, ond ar yr un tir ag y mae Crist ei hun felly yn ngwyneb gofynion ei gyfammod â'i Dad, sef ar dir ufydd-dod ewyllysgar a hunanymwadol (3, 7). Nid oes neb arall yn blant Duw; eithr eiddo diafol ydynt oll (3, 10). Gwelwn fod *Ioan* yn talu mwy o sylw at berthynas y cyfiawnder hwn â'r cyfiawn, nac â'r cyfiawnhawr, a nac â'r haeddiannol achos o hono.

*Pedr* (1 Epist. 2. 24) a ddywed mai amcan Crist wrth ddwyn ein pechodau ar y pren, oedd ein cael yn fyw drwy y cyfiawnder hwn; a mai er mwyn hwn y dyoddefa y saint erlidiau (3, 14)—mai yn nghyfiawnder ein Duw a'n Hiachawdwr Iesu Grist, y cafwyd cyfundrefn werthfawr y Ffydd (2 Epist. 1, 1). Mai yr un gras fel cyfiawnder Duw a bregethai Noah (2, 5), yr hyn oedd cyn gwawr cyfnod pregethiad cyfiawnder ein "Hachubwr Iesu Grist." Gelwir athrawiaeth a phroffes y Ffydd yn ffordd y cyfiawnder hwn (2, 21); a sicrheir i ni fod yr un cyfiawnder yn gwneyd ei gartref yn y nefoedd (3, 13). Felly ymweithia ysgrifell Pedr i'r cyssylltiad sydd rhwng marwolaeth Crist â'r cyfiawnder hwn, dan ddau gyfnod y Ffydd—cyfiawnder Duw, a chyfiawnder ein Hachubwr Iesu Grist: yr un cyfiawnder dan ddau amlygiad.

*Paul* a dystia mai yn yr efengyl yn unig y dadguddir y cyfiawnder hwn, dan ddwy oruchwyliaeth y Ffydd (Rhuf. 1, 17); a mai yn amser Paul y cafwyd ef i'r golwg gyntaf, fel eiddo Crist Iesu (3, 21) i'r holl fyd crediniol: fod Duw wedi gosod Crist, er dechreuad yr oesoedd maddeuol, yn Drugareddfa-wr, er mwyn dangos, ar ol y Pentecost, pa beth oedd y cyfiawnder hwn, yr hwn a ganiatäai iddo faddeu yn barhaus (3, 25), a bod yn gyfiawn ar yr un pryd (26). Fod y

Ffydd (4, 5), ufydd-dod arbenig yr hon oedd credu yn Nuw dan y cyfnod cyntaf, ac yn Nghrist dan yr ail—yn cael ei chyfrif yn gyfiawnder Duw i Abraham ar ei grediniaeth (adn. 3 a 6); mai insel o'r cyfiawnder hwn i Abraham grediniol, ydoedd enwaediad iddo ef a'i had (adn. 11); ac mai addewid o blant i'r Ffydd a'i Phen annatguddiedig etto, ydoedd yr addewid fawr am etifeddu y byd, i Abraham (adn. 13); fod hanes gweithred Abraham o gredu, a bod hyny wedi peri cyfrif y Ffydd yn gyfiawnder iddo ef, wedi ei drosglwyddo i waered er mwyn i ninnau gredu yn Adgyfodydd ein Harglwydd o feirw (adn. 22). Y mae dawn y cyflawnder hwn, sef ei drysorau, i gael eu derbyn mewn helaethder gan y rhai a fynant deyrnasu yn y bywyd drwy Grist, 5, 1J; ac ni all gras Duw deyrnasu hyd fywyd tragwyddol i bechaduriaid, oddieithr drwy y cyfiawnder hwn, adn. 21. Dylai y rhai a gyflwynont eu haelodau yn arfau at wasanaeth Duw, eu cyflwyno at wasanaeth y cyfiawnder hwn, canys dyna unig gyfrwng ei wasanaethiad, 6, 13; ac y mae pob un a gofleidio Gristionogaeth yn dod, o anghenrheidrwydd, i mewn i'r cyfryw wasanaeth, adn. 18, tra mae pob un arall yn amddifad o'r fraint. adn. 20. Yr un modd ag y deilliodd marwolaeth i'n cyrff drwy bechod Adda, y deilliodd anniddymdra neu fywyd i'n hysbrydoedd drwy y cyfiawnder hwn, 8, 10. Nad oedd yr Iuddewon cyfoesol â Phaul yn hysbys o'r cyfiawnder hwn, fel yr oedd hyd yn nod yn gyfiawnder Duw dan y cyfnod cyntaf, 10, 3, er eu bod yn dilyn ar ol ei reol neu raghysbysiadau, 9, 31; mai drwy yr hyn a elwir gan amryw yn awr yn bregethu y ddeddf a'r Hen Destament, y ceisient ef, adn. 32, yn lle fel y ceisiwyd gan y Cenedloedd, drwy ei Destament a'i ddeddf ei hun, adn. 30. Cyfiawnder i'r credadyn yn unig yw efe; a daeth yn gyfryw yn yr un berthynas â phob dyn, er pan roddes Crist ddiwedd ar y ddeddf, 10, 4, Mae y cyfiawnder hwn yn ymwrthod â phob goleuni dadguddiadol, ond yr hwn a ddug Crist (a'i apostolion drwy ei Ysbryd ef) oddiwrth ei Dad; ac â phob dyoddefaint dyhuddol, ond yr hyn a orphenwyd gan Grist yn ei adgyfodiad o'r bedd, 10, 6, 7; ac â phob math o grediniaeth, ond yr hwn a gynnwyso ymroddiad calon, adn. 10.

Gelwir cyfiawnder BUCHEDDOL y gyfundrefn, er mwyn ei wahaniaethu oddiwrth eiddo dyhuddol Crist, yn "*gyfiawnder yn yr Ysbryd Glân*," pen. 14, 17. Yn debyg mae ystyr y gair hefyd yn 2 Cor. 6, 14, a 9, 9, 10; Eph. 4, 24, a 5, 9; 1 Tim. 6, 11; 2 Tim. 2, 22, a 3, 16, a 4, 1; Heb. 1, 9, a 12, 11; Iago 3, 18. Hwn yw y cyfiawnder hwnw a elwir yn "gyfiawnder y saint;" sef, eu ffyddlondeb gyda'u doniau a'u cyfleusderau, yn ol eu sefyllfa yn nheyrnas nefoedd. Gelwir gwobr y rhai o honynt a ennillasant freniniaeth drwy ddyoddef, yn "goron cyfiawnder." Mae Crist a hwythau yn yr un ymdrech; a megys yr oedd yn "weddus iddo ef gyflawni pob cyfiawnder," Mat. 3, 14, felly hwythau; a megys y gorchfygodd ac y coronwyd ef, felly hwythau, Dat. 3, 21.

Ar gyfiawnder Duw a'n Hachubwr Iesu Grist, Gwel gyfeiriadau ychwanegol yn 1 Cor. 1, 30; 2 Cor. 5, 21, a 6, 7, a 11, 15; Gal. 3, 6, 21, a 5, 5; Phil. 3, 9, pa rai o'u manwl olrhain, a geir yn gydunol â'r rhai a nodwyd eisoes am y cyfiawnder grasol hwn.

Gelwid Melchisedec yn frenin cyfiawnder gyda golwg ar berthynas ei swydd â chrefydd, ac nid â gwleidiadaeth, fel yr oedd swydd Aaron a'i olynwyr, Heb. 7, 2. Enw crefydd, o ddechreuad y byd, gan Paul, oedd y *Ffydd;* ei ddyledswydd arbenig oedd *credu;* a'i gras bywhaol, rhyddhaol, oedd *cyfiawnder Duw*, yr hwn, ar ol ei olrhain yn ngoleuni efengyl, a gafwyd yn cyfodi oddiar farwolaeth drososodiadol a mechniol Crist; a gelwir yr hen Ffydd ei hun, o hyny allan, yn *Ffydd Crist*, a'i phrif rinwedd yn *gredu yn Nghrist*, a'i gwasanaeth yn *wasanaethu Crist;* canys efe yw ei Thywysog, ac arno ef y mae holl ofal perffeithiad ei thasg, yn ol cynllun arfaethol y Drindod.

Mae Paul yn traethu mor oleu, mor benderfynol, ac mor ehelaeth, am y cyfiawnder hwn, yn ei holl berthynasau, fel y gellid ei alw ef, o'r braidd, yn nghanol ei frodyr, megys Noah yn mysg y saint cynddiluwiol, yn "bregethwr y cyfiawnder."

---

## TRAETHAWD IV.

### DEDDF NATUR.

[*Gwel ar pen.* ii, 12—16.]

Arferir yma yr ymadrodd deddf natur fel un cyfleus, ag y gellir cyfeirio drwyddo at awdurdod, mewn gwrthddrychau moesol, yr hyn a elwir yn Reddfau a Hawliau Naturiol.

"Mae y rhai," medd Paley, "a restrant dosturi yn mhlith gwreiddiol deimladau ein nhatur, yn uniawn ddal fod yr egwyddor hon, pan ein hannogo i leihau trueni dynol, yn dangos allan i ni yr hyn a ewyllysia Duw, a'r hyn sy'n ddyledswydd arnom ein hunain. Yn wir, gellid tynu'r un casgliad oddiwrth fodolaeth y nwyd neu deimlad hwn, rhodder y cyfrif a fyner am ei darddiad. Pa un bynag ai greddf ai effaith arferiad yw, y mae mewn ffaith yn briodoledd o'n nhatur, a'i gosodiad ynom gan Dduw."

Gellid ymresymu yn gyffelyb i hyn mewn perthynas i'n Hawliau Naturiol hefyd—hawl i fodolaeth—i ryddid personol—i gyfran o gynnyrch y ddaear. Y *ffaith* o fod bywyd wedi ei roddi i ni gan y Creawdwr—fod ein galluoedd personol a'n tueddiadau meddyliol wedi eu cyfaddasu ganddo ef i ryddid personol—a'i fod wedi cyfansoddi ein cyrff i sefyll mewn anghen o gynnyrch y ddaear, ydynt arddangosiadau boddlonol o'r ewyllys ddwyfol, ac o'r ddyledswydd ddynol ynghyd.

Gellir, gan hyny, benderfynu fod y gosodiad cyffredinol yn wir—fod talu sylw i ddeddf natur, wrth olrhain dyledswydd dyn, yn gydweddol ag ewyllys Duw. Ped ammheuid awdurdod deddf natur, fe allai y gellid ychwanegu i'r ammheuwr, fod y dadguddiad o'r ewyllys ddwyfol mewn ystyr yn ei chadarnhau, am fod y cyfryw ddadguddiad yn cael ei gyfeirio atom, ar ol cymmeryd yn ganiataol fod ein cyfansoddiad yn hollol fel y mae; ac am fod rhai gosodiadau dwyfol yn cyfyngu cylch deddf natur, ac yn nodi manau ar faes moesoldeb, lle mae ei hawdurdod hi'n terfynu. Mae dweyd am reol, mai mewn rhai amgylchiadau yn unig y mae hi anghymwys, yr un peth â dywedyd

ei bod yn gymhwys mewn llawer o amgylchiadau: at yr hyn y gellid ychwanegu fod tueddiad deddf natur yn amlwg fanteisiol. Nid oes neb a ammheua nad yw teimladau gwreiddiol a naturiol ein nhatur, yn tueddu yn rymus at lesâd y rhywogaeth ddynol.

Wrth son am reddfau natur, nid wyf yn ewyllysio treiddio i ddadleuon celfydd ac anorphen yr athronwyr. Pa un a oes un o'n nwydau neu deimladau yn briodol reddfol, ynte ai effaith cymdeithasiad ydynt, sydd o ganlyniad bychan i'r pwnc, tra'r y'm yn sicr o'u bodolaeth fywiog a gweithredol yn y cyfansoddiad dynol, a thra mae rheswm genym dros gredu eu bod yma yn gydweddol â'r ewyllys ddwyfol.

Ond y mae awdurdod deddf natur, yr un modd â phob awdurdod arall, yn ddarostyngedig i awdurdod y ddeddf foesol. Cofier nad y deg gorchymyn Moesenaidd a feddylir *yma* wrth y ddeddf foesol, ond holl ddyledswydd dyn o dan yr Efengyl, lle gosodir ef ar ei oreu, yn ol ei wybodaeth a'i amgylchiadau. Yr ydym yn clywed o enau Crist, cyhoeddwr goruchel, ac ymarweddwr perffaith, deddf foesol fawr y byd—y cyfryw ymadroddion a hyn:—"Nac ofnwch y rhai a allant ladd y corff, ac ar ol hyny heb ddim arall ganddynt i'w wneuthur; ond ofnwch yr hwn, ar ol iddo ladd, sydd yn meddu awdurdod i fwrw i uffern!" Luc 12, 4. Mae y ddeddf foesol yn yr ymadrodd hwn, yn eglur osod greddf naturiol yn ddarostyngedig iddi ei hun. Deillia ofni y rhai a laddant y corff oddiar reddf hunan-ymddiffyniad a serch at hunan-fywyd; eithr nid ydym i wrando ar lais, hyd yn nod y reddf hon, pan baro llais dadguddiedig Duw iddi dewi.

Rhestrwyd serch rhieni at eu plant, a phlant at eu rhieni, gan Dr. Price, ac ereill o'r philosophyddion, yn mysg y greddfau. Eithr mae y cyhoeddiad hwnw: "Yr hwn a garo fab neu ferch yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi," Mat. 10, 37, yn eglur ddarostwng y reddf hon i uwch awdurdod y meddwl dwyfol o enau Crist: canys y mae cariad at Dduw i gael ei brofi genym drwy ufyddhau i'w orchymynion. Gorchymyn arall i'r un perwyl a blyga y reddf o serch at fywyd tymhorol i'r un awdurdod; "Os na chasâ dyn ei einioes ei hun hefyd (mewn cydmhariaeth), ni all efe fod yn ddysgybl i mi." Ac y mae yn deilwng o ystyriaeth, fod y greddfau cryfion hyn wedi cael eu codi i sylw yma, er mwyn dangos i'r byd o Gristionogion, eu bod i gael eu cadw mewn îs-wasanaeth i amcanion mawr deddf foesol diweddaf yr oesoedd, sef perffaith, diattal, a chyhoeddus ymroddiad at ddedwyddoli pob dyn, yn gorff ac enaid byth, drwy egwyddorion efengyl.

Cawn atebiad ein Harglwydd i'r diafol, yn Mat. 4, 9, yn gosod attalfa ar un o reddfau cryfaf natur—*chwant i ymborth dan* y graddau eithaf o *newyn:* mae moesoldeb uchel teyrnas nefoedd, fel ei darllenwyd gan Dywysog y deyrnas cyn ei goroniad, tra, mewn ffaith yr oedd efe ar ymdrech fawr ei hennilliad—wedi gosod ei gorsedd i fyny yn nghanol greddfau cryfaf natur, a chymmeryd eu hawenau yn ei llaw bendefigaidd ei hun. Yr oedd y Ffydd, hyd yn nod cyn y chwyldroad Messïaidd, yn myned can belled a chroesi rhai o'r greddfau hyn, fel y prawf y dyfyniad a nodwyd o eiddo ein Harglwydd.

Daliai yr athronydd dysgedig hwnw yn neddfau y meddwl dynol, Dugald Stewart, mai priodol i ddyn yw cadw ei deimladau naturiol

mewn darostyngiad i ddeddfau uwch nag eiddo natur. "Dysgir ni (medd efe) gan alwadau rheswm a chydwybod, mewn iaith anmhosibl i'w chamddeall, ei bod weithiau yn ddyledswydd arnom i attal cynhyrfiadau anwylaf a hyfrydaf y galon; i gilio yn ol, er enghraifft, o olygfa y trueni ag y mae galwadau uwch yn ein hattal i'w esmwythau, ac i ballu y pleser pur hwnw i'n mynwes ein hunain, ag sydd yn cyfodi oddiar weithredu dyngarwch."

Mae hyd yn nod y moesoldeb hwnw, sydd heb ei seilio ar grefydd, yn argymhell yr un gwirionedd. Dywedai Godwin yr anffyddiwr; "Pe buasai y rhinweddol Fenelon yn ei balas, a chipio o'r tân yn y palas, a chynnydu o hono nes buasai raid i fywyd, naill ai efe ai ei forwyn fyned yn aberth, y buasai yn ddyledswydd arni hi ballu gwrando ar reddf hunangadwraeth, ac aberthu ei bywyd, oherwydd y gwnaethai Fenelon fwy o ddaioni i'r byd yn ol llaw" *(Political Justice, Vol. i)*. Eithr os yw moesoldeb anffyddiaeth yn dysgu y darostyngiad hwn o'n greddfau i olygiadau ansicr am les-âd, pa faint mwy ein dysgir gan foesoldeb y Testament Newydd i'w darostwng i ewyllys bendant ac eglur Duw?

Yn ol yr egwyddorion hyn yr amlygwyd yn ein byd ni yr esiamplau ardderchocaf o urddas dynol—eiddo y gwŷr hyny a roisant eu bywyd dros dystiolaeth cydwybod dda. Pe caniateid i'r gryfaf o'n greddfau—ie, i'r reddf hóno, ar ol ei hennyn i'w grymusder mwyaf gan ofn marwolaeth arteithiol, fod o bwys yn nghlorian moesoldeb Cristionogol, nes gorbwyso deddfau goruchel teyrnas Crist, diau y caniatesid iddi droi y glorian dros arbediad bywydau y tystion ffyddlon dan sylw. Pa fywydau buddiolach i'r byd na'r eiddynt hwy? etto, pa mor ysgafn ydoedd hyny i gyd yn ymyl cyfleusdra i gael gosod sel gydwybodol ar y gwirionedd!

Etto, er mor eglur yw y ddyledswydd a'r cymhwysder o roddi clust fel hyn i ddeddf y deyrnas nefol, gellid tybied, wrth sylwi ar fuchedd Cristionogion yr oes, gan mwyaf, fod deddf natur yn uwch ei hawdurdod nag un. Tybiant, os geilw deddf natur am gyflawni unrhyw weithred, fod hyny yn ddigon o arweinydd iddynt. Pe buasent yn baganiaid, gallasai rheswm fod yn y gosodiad. O, faint o Gristionogion a ballasant wrando ar leferydd dim ond y reddf o hunan-foddhad, heb son am hunan-gadwraeth! Diau nas gall y cyfryw fod wedi ystyried gronyn ar anghenfilwch eu hymddygiad: nid ydynt, mae'n sicr, yn meddwl eu bod yn ymosod yn erbyn deddf Duw yn Nghrist, er mwyn ennill y maes i'r gyfran anifeilaidd o'u cyfansoddiad! Mae golwg deddf Duw ar yr holl gyfansoddiad dynol—ein dysgwyliadau mewn byd arall yn gystal a'n bodolaeth yn yr un presennol.

Ond, y mae gan y pagan wersi parhaus yn ychwanegol i'r rhai hyn. Mae ôl llaw Duw yn amlwg o flaen ei lygaid. Er na allai efe, ond odid, ddysgu fod y Bôd mawr a ganiatäai ddaear-gryn a chroesdymhorau, yn un da; na bod yr hwn a ganiatäai dymhestloedd, er enghraifft, i ddystrywio y goedwig a dyfasai dan ei nodded ef ei hunan, yn Fôd doeth; na bod yr hwn, tra yn porthi cywion y gigfran, a adawai i newynu fam gyda'i thyaid o blant bychain, yn un tosturiol;

etto, gall yntau adnabod fod yr Un mawr hwn yn alluog, canys gwelir olion gallu yn mhob man. Tystia Paul hyn yn pen. 1, 20; tra nad yw efe yn gallu ychwanegu fod un o'r perffeithiau dwyfol ereill yn amlygu anweledigrwydd, neu fodolaeth, neu Dduwdod, yr Anfeidrol. Ond Gwel ragor ar yr adnod; ac yn Dymond's *Eseays*.

---

## TRAETHAWD V.

### CYDWYBOD.

[*Gwel ar pen.* ii, 14, 15.]

Yn yr ymgais o gyssylltu meddylddrych priodol wrth y gair "Cydwybod," rhaid i mi ddymuno ar y darllenydd beidio barnu manylder y sylwadau yn ol y tybiau a arferodd efe gyssylltu â'r gair. Yr olrheiniadau hyn uid ydynt yn nghylch geiriau, ond pethau. Os yw y sylwadau ynddynt eu hunain yn gywir, mae y prif amcan wedi ei gyrhaedd. Yr amcan nesaf mewn pwys i hwn, sef cyssylltu gwirionedd wrth eiriau priodol, ni chyrhaeddir ymhellach gan ysgrifenydd, nag y gall efe ymgadw at yr arferiad o air yn yr unrhyw ystyr yn barhaus yn ei ysgrifeniadau ei hun.

Mae dynion yn meddu tybiau am ddrwg a da, *right and wrong;* coleddant grediniaeth y dylent, dan amgylchiadau neillduol, wneyd y naill beth, a pheidio a gwneyd y llall. Galwaf y grediniaeth hon yn grediniaeth *gydwybodol*. A phan fodolo y gyfryw grediniaeth yn meddwl dyn mewn perthynas i ryw nifer o weithrediadau, dymunwn alw y crynswth neu yr oll o'r tybiau hyny yn nghylch drwg a da, ei Gydwybod ef.

Mae meddu tybiau am ddrwg a da mewn ymddygiadau dynol—bod yn argyhoeddedig y dylem wneyd neu beidio gwneyd unrhyw weithred—yn caniatau ac yn tybied *teimlad o rwymedigaeth* o fewn y meddwl. Mae y dyn a deimlo mai drwg yw iddo gyflawni peth, yn meddu teimlad o rwymedigaeth i beidio ei gyflawni. I ddechreuad y teimlad hwn o rwymedigaeth, neu i'r pa fodd y ceir ef yn y meddwl, nid wyf yn awr yn ymholi: digon i'r amcan presennol yw ei fod i'w gael; ac nid oes sail i ammau ei fodoliad yn darddiad oddiar ewyllys Duw.

Yn y rhan fwyaf o ddynion—ond odid, yn mhawb, mae y teimlad o rwymedigaeth yn cyfeirio, gyda mwy a llai o eglurder, at ewyllys rhyw Fôd goruchel neu gilydd. Mae yr argraff, pa mor dywyll bynag, yn gyffredinol, a sylweddol fel hyn: Rhaid i mi wneuthur fel a'r fel, canys mae Daw yn gorchymyn hyny.

Ceir fod y teimlad hwn o rwymedigaeth weithiau yn gyssylltiedig yn meddyliau gwahanol ddynion, wrth wahanol weithrediadau. Tybia y naill ddyn y dylai efe gyflawni y naill weithred, oddiwrth yr hon y tybia arall y dylai efe ymattal. Ar bwnc mawr moesoldeb mae yn wir, yn gyffredin, gydgordiad yn y farn ddynol; etto, cyfyd amgylchiadau i'r golwg, yn nghylch pa rai geilw cydwybod y naill am weithred hollol wahanol i'r hon y gelwir am dani gan gydwybod y llall. Nid yw anhebgorol, gan hyny, cyn meddu barn gydwybodol am ddrwg a da, i'r farn hòno fod mewn hollol gydgordiad â'r Ddeddf ddadguddiedig ar y pryd. Geilw cydwybodau rhai dynion am yr hyn nad yw

deddfau Duw yn son dim; a gorchymyna y deddfau hyny rai pethau ag y mae ambell gydwybod yn ddystaw yn eu cylch. Dyma yn union y canlyniad, ag a allesid ddysgwyl yn rhesymol, oddiwrth natur yr amgylchiadau. I gyrhaedd y cyfryw benderfyniadau cydwybodol yn mherthynas i'r hyn sydd uniawn, ennillir rhai gan addysgiadau ac esiamplau rhai ereill; rhai gan eu hystyriaeth a'u hymchwiliad eu hunain; rhai, fe allai, gan lyfr dadguddiad dwyfol; a rhai, fel y mae sail i ammau, drwy ryw fath o ddylanwad dwyfol, difoddion, am a wyddom ni, ar eu meddyliau; o leiaf, nid oes ynwyf awydd i wadu hyny.

Y cyfryw ystyriaethau a'n galluogant i roddi cyfrif am wahanol benderfyniadau cydwybodau mewn gwahanol bersonau. Megir un dyn yn mysg Pabyddion, a dysgir ef o'i febyd na ddylid bwyta cig ar y Grawys. Rhesymau y rhai nesaf ato, neu, fe allai eu hawdurdod, ydynt yn rhoi iddo ef foddlonrwydd, mai cywir yw yr hyn a ddysgir iddo. Mae y teimlad o *rwymedigaeth* yn dod yn gyssylltiedig fel hyn â'r nacâd i fwyta cig ar y Grawys; ac am hyny efe a ddywed fod yr ymattaliad yn cael ei orchymyn gan ei gydwybod ef. Addysgir Protestant ieuanc yn hollol wahanol. Mai naill ai reswm ai awdurdod yn ei foddloni yntau y gall fwyta cig bob dydd o'r flwyddyn. Ei deimlad *ef* o rwymedigaeth, gan hyny, nid yw yn gyssylltiedig â'r ymattaliad; ac am hyny efe a ddywed nad yw bwyta cig ar y Grawys yn gwneyd cam â'i gydwybod ef. Ac felly am luaws o bynciau ereill.

Pan, gan hyny, y dywedo rhywun, Dysg fy nghymmydog i mi y dylwn wneyd fel a'r fel, ei feddwl yw—neu, wrth arferyd y fath iaith, efe a ddylai feddwl—fod y teimlad o rwymedigaeth sydd yn ei feddwl yn gyssylltiedig â'r cyfryw weithred; ac y mae hyny, can belled ag y mae ei gydwybod ef wedi ei hiawn oleuo, yn gyfran o gyfraith Duw iddo ef.

Eithr, nid yw ein holl dybiau mewn perthynas i foesoldeb a chrefydd yn deilliaw oddiwrth ddysgu a rhesymu. Mae yr hwn a gaffo yn yr ysgrythyrau y gorchymyn nefol—"Cerwch eich gelynion," yn sugno tyb yn nghylch y ddyledswydd o garu y dosparth anhawddaf eu caru o'i gydgreaduriaid, allan o ewyllys ddatguddiedig Duw. Mae ei deimlad o rwymedigaeth i ewyllys da tuag atynt yn ganlyniad o'i waith yn cael allan y rheol hon; neu, mewn geiriau ereill, mae ei ddeall wedi ei ddysgu gan ddeddf foesol teyrnas nefoedd, ac y mae dyledswydd newydd wedi ei hychwanegu at y rhai a eisioes orchymynid gan ei gydwybod ef. Fel hyn y mae yr ysgrythyrau, drwy belydru gwybodaeth i mewn drwy ffenestr y farn, yn eangu maes awdurdod y gydwybod; ac oddiyma y mae mewn rhan, fod yn y rhai sydd yn difrifol chwilio yr ysgrythyrau, y gydwybod yn ymddangos yn gymmaint mwy effro a gweithgar, nag yn amryw o'r rhai sydd heb eu meddu, neu heb dalu sylw teilwng iddynt. Eithr, nid yw yr ysgrythyrau yn eglur benderfynu pob cwestiwn yn mherthynas i ddyledswydd dyn, ac ar rai amgylchiadau ceir dynion yn wahanol am benderfyniadau yr ysgrythyr. Mae hyn etto yn achosi cryn wahaniaeth yn ngalwadau y Gydwybod; pâr i'r teimlad o rwymedigaeth fod yn gyssylltiedig wrth

weithrediadau annhebyg, ac ar amserau, wrth rai hollol groes i'w gilydd.

Mewn perthynas i'r *awdurdod* sy'n perthyn yn briodol i'r Gydwybod, fel arweinydd ymddygiadau personol, ymddengys yn eglur, oddiwrth reswm yn gystal ag ysgrythyr, ei fod yn fawr. Pan gredo dyn, oddiar ystyriaeth deilwng, fod unrhyw weithred yn iawn, mae y weithred hóno yn iawn iddo *ef*. Mae y ffaith fod yn ei feddwl ef y teimlad o rwymedigaeth yn nglyn wrth y weithred, a'i fod ef wedi myfyrio yn deilwng ar gywirdeb ei farn, yn gwneuthur galwad ei gydwybod ef ar y pwnc hwnw yn alwad awdurdodol. Gan gydwybod attelir pob dyn rhag drwg bwriadol--arweinir ni'n gywir ganddi i gilio rhag euogrwydd ond ni luniwyd hi i'n sicrhau rhag syrthio i gyfeiliornad. Delir y dyn yn euog os croesa efe ei gydwybod—os gwna efe un peth. tra bo ei deimlad o rwymedigaeth yn tueddu yn y gwrthwyneb. Etto, os heb ei chywir ddysgu y bydd ei farn, ac os heb ei gyssylltu â gwrthddrych priodol y bydd ei deimlad o rwymedigaeth, euog y delir ef os croesa efe ei gydwybod fel y mae hi. Pe amgen, gellid ystyried dyn yn rhinweddol am weithredu yn groes i'r hyn a dybia yn ddyledswydd arno; neu yn euog, am wneyd yr hyn a gredai ef ei fod yn iawn. Felly, megys y dywed Drd. Price a Prideaux, cyn y gallwn sicrhau ffafr Duw a gwobrwyon gwir grefydd, rhaid i ni ddilyn ein cydwybodau a'n barnau ein hunain, *yn ol y goleuni goreu a allwn gyrhaedd*. Yn gyffelyb y mae hefyd farnau Syr William Temple a Jonathan Dymond. O ganlyniad, nid ymddengys un sail i wadu, y saif rhai yn gondemniedig gerbron y Barnwr Hollwybodol, am gyflawni gweithredoedd a'r nas nacawyd gan ei ddeddf ei hun; tra gollyngir rhai yn rhyddion am weithrediadau a'r nas cyfiawnheir gan y ddeddf hóno. Wrth y ddeddf ddwyfol y meddyliais yn awr, yr un bendant ddatguddiedig; ond, credu yr wyf, mai yr hyn a osodir allan yma, mewn cyssylltiad â chydwybod, yw y *gywir* ddeddf foesol i bawb. Mae y gwahaniaeth yn hyn yn eglur wrth gadw ar wahan haeddiant y gweithredydd a natur y weithred. Cawn eglurhad ar y gwahaniaeth hwn yn Esaia, pen. 10. Ewyllys Duw oedd i gyfres neillduol o weithredoedd gael eu cyflawni mewn cosp ar Israel. Er mwyn cael hyn oddiamgylch, gosodwyd brenin Assyria ar waith:—"Myfi a roddaf orchymyn iddo ef i gymmeryd yr yspail, a chymmeryd yr ysglyfaeth, ac i'w sathru hwynt fel tom yr heolydd." Gorchwyl y gorchymyn ffigwrol hwn a gyflawnwyd gan frenin Assyria; efe a gwblhaodd ewyllys Duw; ond yr oedd ei *amcan* ef yn bechadurus ar yr un pryd: "nid amcanai efe hyny;" ac o ganlyniad, pan y mae'r holl waith ar ben, "Myfi a *gospaf*," ebe Jehofa, "ffrwyth gwrol-galon frenin Assyria, a gogoniant ei uchel-drem ef."

Eithr, dywedwyd eisioes fod yr egwyddorion hyn yn nghylch cydwybod, yn cael eu dysgu yn yr ysgrythyrau. "Mae un yn credu y gall fwyta pob peth, tra mae arall, yr hwn sydd wan, yn bwyta dail, &c." Yma, gan hyny, y mae gwahaniaethau, ïe, gwrth-benderfyniadau barnau cydwybodol. A pha beth a orchymynir i'r pleidiau ei wneuthur?—"Bydded pob un sicr yn ei feddwl ei hun;" hyny yw, bydded penderfyniad dios a gofalus pob un yn rheol i'w weithrediad-

au. Amgylchiadau y personau hyn oedd, fod un o honynt yn *dirnad y gwirionedd* ar y pwnc, tra yr oedd y llall heb ei ddirnad; fod yn y naill ei deimlad o rwymedigaeth yn gyssylltiedig â thyb gywir, tra yr oedd yn y llall ag un anghywir. Drachefn, "Mi a wn, ac y mae'n sicr genyf drwy yr Arglwydd Iesu, nad oes dim yn aflan o hono ei hun;" gan hyny, a dywedyd y cwbl mewn gair, mae pob ymborth yn gyfreithlon i'w fwyta; "ond i'r hwn sydd yn tybied fod peth yn aflan, i hwnw y mae yn aflan." Nid pa un a oedd ei dyb ef yn gywir ynte anghywir, oedd y cwestiwn; ond pa beth mewn ffaith ydoedd ei dyb ef: dyna y pwnc. I'r petruswr yr oedd yr aflendid, sef y *pechod* o fwyta, yn sicr, er fod y weithred yn un iawn ynddi ei hun. Eilwaith:—"Pob peth, yn wir, sydd bur; eithr drwg yw i'r hwn sydd yn bwyta drwy dramgwydd." Gwel pen. xiv.

Ac yma, mae genym atebiad i'r rhai a gymmerant arnynt wneyd yn ysgafn o awdurdod Cydwybod, gan floeddio:—"Mae pob un yn pledio ei dybiau cydwybodol, a'i fod yn rhwym gan ei gydwybod i wneyd hyn a'r llall; ac etto, mae ei gymmydog yn gwneuthur yn hollol yr un ble, ac yn dwyn yn mlaen yr un rwymedigaeth i wneuthur yn hollol i'r gwrthwyneb." Ond, beth gan hyny? Yr oedd barnau y gwŷr hyn yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd; nid oedd hyny ddim ond a allasem ddysgwyl, canys ffaeledig oeddynt; ond yr oedd eu teimlad o rwymedigaeth, bob un, yn nglyn mewn gwirionedd, wrth ie wrthddrych, ac i'r naill a'r llall o honynt, yn awdurdodol ar eu buchedd.

Mae un sylw yn anghenrheidiol; sef, er y dylai dyn wneyd i'w ymddygiad gyduno â'i gydwybod, y gellir ar amserau ei ddal yn gyfiawn euog am gamsyniadau ei farn. Barna dynion yn aml yn gyfeiliornus yn nghylch eu dyledswyddau mewn canlyniad i'w gwallau eu hunain; ni chymmer rhai ond ychydig o drafferth i gael allan y gwirionedd; rhai a wirfoddol gauant allan wybodaeth; a byddai gan y rhan fwyaf o ddynion byd feddylddrychau cywirach am yr hyn sy'n wir dda ynddo ei hun, ped ymroddent yn deilwng i'w cyrhaedd. Ac felly, er na ellir cospi dyn am weithred neillduol, yr hon a gyflawnodd efe drwy anwybodaeth am natur ei drwg; gellir, a gwneir, ei gospi ef am yr anwybodaeth, yn yr hwn y daeth ei dyb ef i fodolaeth. A'r ystyriaeth hyn a rydd reswm i ni, ond odid, dros yr hyn a ddywedodd ein Harglwydd, y caiff yr hwn a ballodd drwy anwybodaeth a gwneuthur ewyllys ei Arglwydd, "ei guro ag ychydig o ffonnodiau." Mae graddau o ddrygioni, i weithredwyr yr hyn y mae Duw o'r diwedd "yn danfon amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd." Yn y stad hon o amryfusedd cadarn, ond odid na allant, heb groesi unrhyw deimlad o rwymedigaeth, gyflawni amryw weithredoedd tra drygionus. Arweinir ni gan yr egwyddorion a bleidir yma, i dybied y bydd y gosp sy'n aros y cyfryw bechaduriaid, yn perthynu yn hytrach i'r ysgelerder hwnw o ddrygioni, o ba un yr oedd yr amryfusedd barnol yn ganlyniad, nac i'r gweithredoedd neillduol hyny, ag a allasent hwy fod wedi eu cwblhau dan ddylanwad yr amryfusedd ei hun.

Dywed ein hapostel yn eglur fod yr holl baganiaid yn meddu teimlad o gyfrifoldeb, neu o leiaf, o rwymedigaeth foesol, yn nglyn a'u gweithredoedd—eu bod yn gweithredu yn aml yn groes i'r cyfryw

deimladau, ac o ganlyniad yn groes i'w cydwybodau—eu bod felly, pa un bynag ai iawn ai cam fo y gweithredoedd hyny, yn gwneuthur yr hyn a dybiant eu hunain yn ddrwg—a'u bod, o ganlyniad, yn agored i gondemniad y Barnwr cyfiawn yn y dydd mawr.

Ond, gallwn ninnau ychwanegu fod hyd yn nod Cristionogion, yn tawel ymorphwys mewn *anwybodaeth* dygn o wir natur y gweithredoedd a ymgynnygiant iddynt, pan y gallent yn hawdd gyrhaedd v wybodaeth anghenrheidiol. Mae hyn yn bechod pwysig a lled gyffredinol. Mae ereill yn waeth etto, gan ruthro i gyflawni rhai pethau ag y *petrusant* yn gryf yn nghylch eu cyfreithlondeb. Math o ryfyg peryglus yw hwn. ac yn ymledaenu gyda difrawder crefyddol yr oes o Gristionogion. Mae ereill yn waeth etto,—yn *credu* mai drwg ynddo ei hun yw y peth, ac er hyny yn ei gyflawni, gan addunedu ei adael am y rhinwedd gwrthgyferbyniol, mewn amser dyfodol. Ereill etto ydynt waeth na'r oll—gwyddant mai pechod yw y weithred, cyn, a chwedi, ei chyflawni; etto, ei chyflawni a fynant, heb un ystyriaeth o'r canlyniadau presennol na dyfodol! Math o anffyddwyr trwyadl ac ymarferol yw y rhai hyn, can belled ag yr â eu dirnadaeth a'u dylanwad. Defnyddiol iawn yw *Cydwybod*, i eistedd ar orsedd y meddwl, a barnu gwir foesoldeb pob gweithred cyn i'r gweithredydd ymosod arni. Defnyddiol iawn yw *Gwybodaeth*, i unioni barn y gydwybod, yn nghylch gwir natur pob gweithred, o ran graddau ei drygioni neu ei daioni, ynddi ei hun, ac yn ei pherthynasau neillduol â'r gweithredydd. Gwrandawed y darllenydd ar ei gydwybod, a gwrandawed y gydwybod ar air Duw!

---

## TRAETHAWD VI.

### "Y DDEDDF" YN DDIM OND GWLEIDIADAETH IUDDEWIG.

DIAU fod Duw yn y cymmeriad o Jehofa, wedi ymostwng i fod yn frenin gwladol ar Israel, ac i sefyll yn yr unrhyw berthynas atynt, ag y safai breninoedd yr oesoedd, a'r gwledydd hyny, at eu deiliaid hwy thau; megys llywydd eu byddinoedd, perchennog y wlad a ennillasai efe fel y cyfryw iddynt, a phrif ynad gorseddol eu holl ddadleuon ac iawnderau. Yr oedd efe i fod yn Dad iddynt oll, fel yr ystyrid breninoedd yn dadau i'w deiliaid, ac nid fel yr ystyrir ni yn awr yn dadau i'n plant teuluol. Yr oedd efe i fod mewn cyfammod â'r genedl, fel yr oedd gwyr yr oesoedd hyny mewn cyfammod â'u gwragedd. Yr oeddynt hwythau yn eiddo iddo yntau, fel y wraig i'w gwr, yr hon a brynasai efe â'i arian, o gaethiwed. Yr oedd hi i fod yn gaethes iddo ef, heb feddu ewyllys o'i heiddo ei hun, fel y mae gwragedd y dwyreinfyd hyd heddyw. Ei theimladau o'i flaen oeddynt y cariad ofnus, brawychus, crynedig hwnw, ag oedd yn naturiol i ddeiliaid, i briodo dan y fath amgylchiadau. Nid oedd yn hyn oll ddim crefyddol.

Wrth *grefyddol* yn awr, y meddyliaf yr ymwneyd hwnw â Duw, sydd yn dwyn perthynas yn meddwl y pechadur â byd arall—â nefoedd ac ag uffern, yr hyn oedd yn perthyn i'r maddeuant, a'r derbyniad

hwnw i ffafr Duw, nad oedd yn bod drwy yr aberthau ar y rhestr Aaronaidd.

Wrth *wleidiadol*, y meddyliaf yr ymwneyd hwnw â Duw, oedd yn dwyn perthynas yn unig â gwlad Canaan, ei hyd, ei gwin, a'i holew hi; at estyniad neu fyrhad oes ynddi hi; sef y gyfundrefn oedd â'i nefoedd (os goddefir benthyg yr ymadrodd) yn mrasder Canaan, a'i huffern yn nyffryn mab Hinnom.

Yn awr, gan mai y Beibl sydd wedi bod yn arweinydd proffesedig drwy yr Esboniad hwn hyd yma, ni ddysgwylir i mi yma osod y darllenydd i bwyso ar y duwinyddion yn ei le. Dosranaf yr arholiad, ynte, yn ddwy ran; sef, (1), *Tystiolaethau pendant dros fy ngosodiad;* ac (2), *Eglurhad ar y rhai a ymddangosant megys, ac yr ystyrid eu bod, yn ei wrthbrofi.*

Dosranaf y tystiolaethau cadarnhaol yn bedwar cyfnod, pa rai a redant drwy yr Hen Destament, yn nghyda chyfnod eglur a goleu y Testament Newydd.

Dosranaf dystiolaethau cadarnhaol yr Hen Destament etto yn ol y gwahanol gyfnodau, gan ystyried fod pob ychwanegiad o ddadguddiad dwyfol, yn cyfnewid graddau ar dybiau deiliaid dadguddiad; canys peri cyfnewidiad er gwell, mewn barn a buchedd, oedd amcan ei roddiad.

1. *Y cyfnod Cyn-foesenaidd.*

"Am gadw o Abraham fy ngadwriaeth (*mishmar, custom, usage),* fy ngorchymynion *(mitzotha)*, fy neddfau *(chuccoth)*, a'm cyfreithiau *(torotha),*" ebe'r Arglwydd wrth Isaac, yn Gen. 26, 5, "mi a amlhaf dy had di fel ser y nefoedd, a rhoddaf i'th had di yr holl wledydd hyn, a holl genedlaethau y ddaear a fendithir yn dy had di." Wele waddoli Abraham, a'i fab Isaac, â lliaws o blant, ac â gwlad fras, ac ag achyddiaeth y Messia. Yma nid oes un cyfeiriad at eilfyd. Dywed Gen. 15, 6, iddo ef gredu yn yr Arglwydd, ac mai hyny a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. A thystia Paul [Gwel ar pen iv.], mai drwy y weithred hono, ac nid drwy ufydd-dod i'r pedwar dosbarth uchod o osodiadau, y cyfiawnhawyd ef. O'r unrhyw natur ceir yr holl gyfeiriadau ereill a ellid wneuthur.

2. *Y cyfnod Moesenaidd hyd Ddafydd.*

Dengys Exod. 15, 26, mai y wobr am wneyd yr hyn oedd "uniawn yn ngolwg yr Arglwydd dy Dduw [*Jehofa Elohicah)*, a gwrando ar ei lais ef, a rhoddi clust i'w orchymynion [*mitzotha*] ef, a chadw ei holl ddeddfau [*chuccoth*] ef," oedd arbediad rhag clefydau yr Aifftiaid, o hyny allan; a'i reswm dros y gwarediad, oedd "am mai myfi yw Jehofa dy Iachawdwr di." "Os gwrandewch ar fy llais, a chadw fy nghyfammod (ebe efe yn pen. 19, 5), chwi a fyddwch yn drysor priodol i mi o flaen yr holl bobloedd, ac yn freniniaeth o offeiriaid, ac yn genedl santaidd i mi." Gwelwn etto mai breintiau tymhorol a gwleidiadol yn unig, a gyssylltir yma wrth yr holl ufydd-dod hwn.

Yna, yn pen. 21, 1, yr ydym yn cael y gair barnedigaethau [*mishpathim*], ystyr yr hwn yw y cyfreithiau yn nghylch gweision, llofruddiaeth, niweidiau, lladrad, benthyg, dewiniaeth, delwaddoliaeth, usur-

iaeth, blaenffrwythau, enllib, sabboth y seithfed flwyddyn, a sabboth y seithfed dydd, y tair gwyl, gwaed a brasder aberthau, &c. Gwelwn yma fod *barnedigaethau* yn cynnwys o'r bron y cwbl o'r llechau, yn nghyda'r gosp neu ddedfryd berthynol i bob troseddiad.

Yn Lef. 5, 17, cawn dori gorchymynion Jehofa yn bechod maddeuadwy mewn aberth cymmod, yr hyn a brawf, debygwyf, nad y dengair a feddylir bob amser wrth *gorchymynion (mitzotha)*.

A phwy nas daliodd sylw ar yr holl orchymynion a geir yn y cyfnod hwn, yn neillduol yn llyfr Deuteronomium, i garu Duw â'r holl galon, â'r holl enaid, ac â'r holl nerth, &c., ac i rodio yn ei ffyrdd ef, ac i lynu wrtho ef, ac i'w ofni ef, ac i'w wasanaethu ef, ac i dyngu i'w enw ef, a gwneyd yr hyn oedd uniawn yn ei olwg ef, &c., &c.? A phwy na sylwodd hefyd mai sylwedd yr holl addewidion annogaethol i hyn oll oedd cael "mynediad i mewn i'r wlad," "perchennogi y wlad," "estyn dyddiau yn y tir," "gyru ymaith eu gelynion o'u blaen," a'r cyffelyb? Gwel Deut. 6, 5, &c, 17, a 10, 12, a 11, 1, 13, 22, a 19, 9, a 30, 6, 16, a 7, 9.

A phwy a ammheua nad oedd yr holl ddeddfau, a'r gorchymynion, a'r barnedigaethau, i'w cyflawni, fel yr ofnent Jehofa eu Duw, *fel yr estynid eu dyddiau?* Gwel Deut. 5, 1, 2, 24.

Darllener yn fanwl Deut. 10, 12, hyd 11, 8, a cheir gweled yr ofni, y rhodio, y gwasanaethu, y cadw, yr enwaedu calon, y peidio caledu, y glynu, y moli, y cydnabod, a'r cyfryw ddyledswyddau, yn cael eu gwasgu, a'u hannog, a'u gwthio, at y genedl; a'r oll fel y byddent gryfion, ac yr elent i mewn, y meddiannent y tir, ac yr estynid eu dyddiau ynddo.

Yn adn. 13, &c., eilwaith, cawn yn wobr am garu Duw, *fel y Jehofa eu Duw*, a'i wasanaethu ef, â'r holl galon, ac â'r holl enaid, y cynnarwlaw, a'r diweddar-wlaw, yd, gwin, olew, glaswellt i'r anifeiliaid, &c.

Dywed Deut. 30, 20, mai einioes ac estyniad dyddiau oedd Jehofa iddynt, fel y cyfryw. Dengys Josua (23, 11) ar ei ymadawiad, yr un egwyddor.

Mewn perthynas i ystyr y gair deddf [*torath*] yn amser Moses a Josua, cawn yn Jos. 8, 32, y deg gorchymyn yn cael eu galw yn "gyfraith Moses, yr hon a ysgrifenasai efe ar y meini;" ac am y fendith a'r felldith, yn nghyda'r holl osodiadau ereill, gelwir yn "holl eiriau y gyfraith, yn ol y cwbl sydd ysgrifenedig yn llyfr y gyfraith," adn. 34. Cyfraith [*torath*] y gelwir y cwbl.

Yn Num. 19, 2 cawn ymadrodd hynod, yr hwn a arddengys ystyr y geiriau gwahanol hyn, a arferent, dehygasem ni, am yr un peth:— "Dyma *ddeddf y gyfraith* a orchymynodd yr Arglwydd, &c.," ebe Moses. Ordinhad yr anner goch oedd mewn golwg. Y geiriau gwreiddiol ydynt, *chuccoth ha torah*, oddiwrth yr hyn tebygid mai y manyliad *(particulars)* o'r gyfraith [*torah*] oedd y ddeddf [*chuccoth*]. Nid yw Gesenius na Lee yn gallu dangos un gwahaniaeth rhyngddynt.

3. *Y cyfnod o Ddafydd frenin hyd gaethiwed Babilon.*

Am waith breninoedd Judah yn gadael y gyfraith, a'r deddfau, a'r

barnedigaethau, a'r gorchymynion, bygythir ceryddon tymhorol yn unig, yn ol Salm 89, 31, 32.

Ond, cawn ryw oleuni cryfach nag o'r blaen ar natur eu crefydd: "Yr hwn a dry ymaith ei glust rhag gwrando y gyfraith [*torah*] sydd ffiaidd ei weddi hefyd." Diar 28, 9. Arddengys hyn nad oedd i ddeiliaid anufydd Duw fel Jehofa Israel, nemawr groeso wrth orsedd Rhad Ras Duw y Ffydd; sef, yr anufydd, cyndyn, ac anedifeiriol, o debyg; canys cafodd Dafydd odinebwr atebiad i'w weddi, pan edifarhaodd, er maint ei anufydd-dod blaenorol.

"Clywch gyfraith ein Duw ni, pobl y Gomorrah (newydd)," ebe Dduw drwy Esaia (1, 10). Yma gwrthyd eu haberthau, eu haddoliadau gwleidiadol yn ei gynteddau (adn. 12), eu newydd-loerau, sabbothau, a gwyliau oll. Fel eu Duw neu frenin gwladol, ni allai efe eu derbyn. Yna ychwanegir, nas gall efe fel Duw y Ffydd ychwaith, dderbyn eu gweddiau, oherwydd eu bod yn gymmysgedig â gorthrymder, a thrais. Etto, addewir maddeu hyd yn nod llofruddiaeth a thrais iddynt, ar dir ymostyngiad a diwygiad (adn. 18). Gwelwn, ynte, nad allan o'r Ddeddf y deilliai y maddeuant hwn, o bechodau oeddynt can goched o waed gwirion â'r porphor, canys ni feddai ei rhestr hi un aberth na phardwn gogyfer â'r fath ysgelerder. Allan o'r *Hasterios* (iawn), sef yr orsedd yr eisteddai Duw arni drwy'r oesoedd fel Duw y Ffydd, y deilliai y maddeuant rhad, diaberth, dioffrwm hwn. Gwel ar Rhuf. 3, 25, 26. Y prophwydi oeddynt uwch eu graddau swyddol yn wastadol na'r archoffeiriaid. Swyddwyr Duw y Ffydd, neu y grefydd achubol, oeddynt hwy, yn fwyaf arbenig. Gwas *Duw Israel* yn unig, oedd yr archoffeiriad; nid oedd dim o'i gyfryngwriaeth ef yn dwyn perthynas â byd dyfodol. Yn Jer. 2, 8, cawn yr esgynradd hon yn eglur. Syna y prophwyd fod yr offeiriaid wedi gwrthgilio, sef y rhai a drinient y gyfraith; ïe, y bugeiliaid—y prophwydi, a aethant hefyd ar ol Baal, ebe efe. Ystyriai yn fwy hynod ac annaturiol fod y prophwydi—gweision y grefydd, yn troi oddiwrth Dduw, na gweled yr offeiriaid—gweision y wleidiadaeth, felly.

Nid ydym yn y cyfnod hwn, ychwaith, yn cael un cyfnewidiad ar y ddeddf fel gwleidiadaeth. Ei gwobrwyon a'i chospedigaethau ydynt amserol yn barhaus.

4. *Cyfnod y Caethiwed, a hyd Ioan Fedyddiwr.*

Dywed meibion Corah neu Asaph yn y caethiwed rai pethau hyfryd iawn am y gyfraith, yn y Salm fawr; etto, nid oes un fendith amgen i'r rhai arferol i'w chanfod yn bendant gyssylltiedig â'r wleidiadaeth. Un peth teilwng iawn o sylw yn y cyfnod hwn, yw fod bob amser y cawn y gair cyfraith yn y rhif unigol, y gair gwreiddiol, *Torath*, yn arferedig; tra'r arferir y gair arall. *Chuccotn*, bob amser y cawn y deddfau yn y rhif lliosog. Sylwer ar y Salm a nodwyd, er enghraifft, yn adn. 1, 18, 29, 34, 44, 55, 61, 70, 77, 85, 92, 97, 109, 113, 126, 136, 142, 150, 153, 162, 165, 174: cawn y gair "cyfraith," yn yr unigol yn unig: *torath* yw y gair gwreiddiol; etto, yn mhob man lle cawn y gair "deddfau," sef y lliosog, *chuccoth* yn unig a arferwyd: nid y llall un amser. Tebygol, gan hyny, fyned o'r gair *torath*, erbyn hyn, yn

arferedig am gorff cyfan y gyfundrefn, tra cyfyngid y llall am y gwahanol ddeddfau ar wahan. Mewn canlyniad i hyn cawn y gair *nomos*, cyfraith, wedi rhedeg yn mlaen hyd y Testament Newydd. Disgynodd y *chuccoth* Hebreig, ond odid, i anarferiad, ac arosodd y *torath* mewn grym, ac yn arferedig am y cwbl fel cyfundrefn.

5. *Cyfnod Ioan Fedyddiwr a'r Messia.*

Dysgwyliwn yn awr gynnydd cyflymach ar y goleuni moesol, nac o'r blaen. Mae y dydd ar wawrio, a Haul cyfiawnder cyfiawnhaol Duw ar ymddyrchafu i olwg y byd. Mae teyrnas nefoedd ar ymddangos; eithr teyrnasiad y Ddeddf sydd etto yn aros.

Nid oes genym nemawr gyssylltiad o fendithion tymhorol, yn mhregethau Crist, wrth ufydd-dod i'r ddeddf; ond gellir profi mai gwleidiadaeth yn unig ydoedd hi, oddiwrth ei diddymiad gan Grist, mewn rhan, yn ei athrawiaethau; er nad oedd efe i beri clywed ei lef yn yr heolydd. Yr apostolion, ar ol cyfodiad Haul y deyrnas, oedd i bregethu y diddymiad o'r hen wleidiadaeth ar benau tai. "Na ladd!" ebe y rhai gynt; ac onid Moses oedd un o'r rheiny? "Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd, Na ddigia!" ebe'r Iesu. "Na odineba!" a ddywedasai Moses; eithr Crist a ddywedai, "Nac edrych yn chwennychgar!" "Na thwng anudon!" ebe Moses: ond, "Na thwng ddim!" ebe Crist. "Llygad am lygad!" ebe Moses; ond, "Tro'r ochr arall at dy darawydd!" oedd gorchymyn Crist. Tra dywedai Moses, "Casâ dy elyn; na chwennych ddaioni dy elyn; a lladd dy elyn!" "Cerwch eich gelynion!" oedd gorchymyn newydd ein Harglwydd tosturiol. A phan ei cyhuddwyd o weithio ar y Sabboth, ac felly o dori y gorchymyn Moesenaidd, ei amddiffyniad nid oedd drwy geisio cyssoni ei ymddygiad â'r gorchymyn; ond drwy hóni uwchafiaeth swyddol ar sylfaenydd y Sabboth—drwy ddatgan ei fod ef ei hun yn Arglwydd ar y Sabboth. A phan ddywedodd efe fod yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll ar y ddau orchymyn mawr:—"Câr yr Arglwydd dy Dduw, &c., a'th gymmydog fel ti dy hun " ni ychwanegodd efe fod ei deyrnas ef ei hun hefyd yn sefyll arnynt. Efe a wyddai fod cariad mwy na hyny dan sail ei deyrnas ef, a gwyddom ninau hefyd, y fynyd y nesaom at ei groes, ac y canfyddom ef yn marw dros ei elynion. Mat. 22, 37—40.

Tystia Crist ei hun yn Mat. 11, 13, mai hyd Ioan y prophwydai y gyfraith a'r prophwydi (Mat. 11, 13), ac ychwanega Luc (16, 16) mai teyrnas Dduw a bregethid o hyny allan yn eu lle hwynt; ac mai ati hi yn eu lle hwynt, yr ymwthiai pawb gwedi hyny. Yn Ioan 1, 17, cawn nad oedd na gras na gwirionedd, yn mhriodol ystyr y geiriau, sef eu hystyr dan y Testament Newydd, o fewn y ddeddf.

6. *Y cyfnod ol-bentecostaidd yn gyffredinol.*

"Y ddeddf nid yw o ffydd," meddai Paul (Gal. 3, 19), yr hyn sy'n arddangos gagendor amlwg rhwng y ddeddf a threfn y cadw; ac os na bu hi yn drefn cadw enaid, ni bu o nemawr werth yn grefydd i neb. "Hyd oni ddelai yr had," ei rhoddasid (adn. 19). "Cyn dyfod y Ffydd y cedwid dynion dan y ddeddf," sef cyn dyfod Ffydd i'w theyrnas a'i rhwysg. Wedi bod *(gegonen)* yn athraw at Grist y mae hi: a mwyach

nid ydyw, hyd yn nod yr Iuddewon, dani felly. Dywedir, yn Gal. 4, 22—30, mai cnawd oedd cyfammod Sina, a'i fod i gael ei fwrw allan (adn. 30). Yn y cyfammod hwnw yr oedd y llechau; llechau y cyfammod eu gelwir: ni chaiff y cyfammod hwn gydetifeddu â chyfammod teyrnas nefoedd; ac os bwriwyd allan y cyfammod, aeth allan ei lechau, ac aeth allan yr hyn sydd arnynt. Ni bu y ddeddf dda i ddim ond i gyfiawnhau y cyfiawn, ac yr oedd ganddi ei chyfiawnderau iddo. Os pechai dyn yn erbyn un o'r llechau, ni feddai hi gyfiawnder iddo ef, canys ni feddai ei rhestr un aberth drosto. Diddymodd Crist "ddeddf y gorchymynion mewn ordeiniadau." (Eph. 2, 15; Col 2, 14.) Fod y deg gorchymyn gynnwysedig, a debygwyf; canys dechrenir adnod Col. 2, 16 â'r gair "canys," "oherwydd paham" *(oun)*; ac o fewn cyfres y gorchymynion a nodesid, cawn yr un am sabbothau. Wrth droi yn ol i'r Hen Destament, i adnabod at ba bethau y cyfeiriai y genedl dan y gair GORCHYMYNION *(entolai)*, cawn ein hunain yn Deut. 4, 2, 40; 2 Bren. 21, 8, &c.; ac wrth ddarllen yr arferiad yno o'r gair, ni allaf lai na thybied ei fod yn cynnwys y deg gorchymyn, yn gystal â'r lleill. Na feddylied neb fy mod am ddiddymu deddf foesol dynolion; eithr am wadu gorchymynion Moses fel cyfundrefn o foesoldeb i'r byd. Caf un helaethach, ysbrydolach, a myrdd mwy perffaith, o enau ac esiampl Crist, na dim sydd yn y llall. Pa hawl oedd gan gyssylltwyr cyntaf crefydd a gwleidiadaeth, i gyhoeddi Moeseniaeth yn rheol buchedd i'r byd? A pha hawl sydd gan neb yn awr i'n rhwymo ni wrth eu penderfyniadau cnawdol hwynt? "Ni pherffeithiodd y gyfraith *ddim*:" (Heb. 9 19,) trwy y gobaith gwell a ddygwyd i mewn yn ei lle, yr ydym ni yn nesâu at Dduw. Yn awr, a yw Crist yn dewis i ni fucheddu dan gyfraith na allai berffeithio dim oll? ac onid dan yr un gyfundrefn yr ydym i fyw, ag yr ydym i nesâu at Dduw? Os na thâl y ddeddf i mi i weddio dani, ni thâl i mi i wneyd dim dani, canys gorchymynir i mi weddio yn ddibaid. Darllener hefyd benderfyniad y gymmanfa apostolaidd, yn Act. 15, 24, 28, lle ceir gorchymyn pendant i beidio annog neb i gadw deddf Moses. Digoned hyna ar osodiad sydd mor eglur.

*7. Athrawiaeth ein hepistol ar ddadl y Ddeddf.*

Yn awr, sylwn ar dduwinyddiaeth ein hepistol yma ar y pwnc pwysig hwn. Cawn y gair deddf, *nomos*, 74 o weithiau yn yr epistol.

1. Am gyfraith yn gyffredinol; pob deddf. cawn y gair heb y fannod, gan mwyaf, ac yn y manau canlynol: sef pen. 2, 12, 14 ("ydynt ddeddf"); pen. 3, 20, 21, 27 ("pa ddeddf?"); adn. 28, 31; 4, 13, 15; 6, 14, 15, a 7, 1 ("gwybod deddf"). Wrth y gair yn y manau hyn y meddylir deddf naturiol a datguddiedig.

2. Am y ddeddf a ddaeth i mewn i Eden, drwy Iesu Grist ein Harglwydd. Canlyniadau dyfodiad y ddeddf hon i mewn, oedd amlhad camwedd Adda, o ran ei gosp, yn eiddo i bawb, a'i ddygiad i ben drwy gyfrifiad yn unig, yn nghyda rhagor-amlhad gras yr un Crist i bawb mewn adfywhad corfforol; ac i laweroedd mewn lliosogrwydd o ras, a theyrnasiad mewn bywyd tragwyddol, ar ol yr adgyfodiad. Ar-

ddengys y nodau hyn arni, nad deddf Moses a feddylid. Pen. 5, 13, 20, ac fe allai 8, 2.

3. Am ddeddf priodas (yn pen. 7, 1, 2, 3), neu awdurdod y gwr ar ei wraig, yn ol y deddfau dwyreiniol.

4. Am yr unrhyw awdurdod o eiddo Pechod arnom, lle personolir ef fel gwr, a ninnau fel ei wraig, yn rhwym odditano, 7, 7, 21, 23, 25; a 8, 2.

5. Am yr efengyl neu gyfundrefn y Ffydd yn nghyfnod Crist Iesu, 3, 27; 8, 2; a 9, 31.

6. Am gyfundrefn Moses i gyd. Dosrenir hon yn dair cyfran gan y duwinyddion; eithr dengys sylw teilwng, na wyddai yr apostolion ddim oll am y rhaniad hwn. Sylwir yma yn unig ar yr ymadroddion a dybir yn arwyddocâu yr hyn a elwir yn ddeddf seremoniol, moesol, &c.:—

6, 14, "Nid ydym ni dan y ddeddf:" lle gosodir hi mewn cyferbyniad i *charis*, gras. Yn Ioan 1, 17, cawn y gyfraith a gras yn cael eu cyferbynu, oddiwrth ba le y gwelwn mai ystyr y naill a'r llall, pan mewn cyferbyniad, yw cyfundrefn Moses a chyfundrefn Crist.

7, 4, a gyfrifir yn ddeddf fel ammod bywyd. Eithr, pa gyfran o air Duw a'n hysbysa fod y rhai dienwaededig erioed, nac yn fyw i'r ddeddf, na than y ddeddf? Hefyd, cawn y sawl sydd mewn golwg yn ein testyn, wedi bod unwaith yn briod â'r ddeddf. ond eu bod yn awr i briodi Crist. Ni buom ni erioed yn sefyll yn yr unrhyw berthynas â Moeseniaeth ag yr ydym ynddi yn awr â Christ drwy grediniaeth ynddo.

Adn. 14. Nid yw ddim ond ymresymiad cyfeiliornwr Platonaidd. Gwel ar y lle.

8, 3, nid yw yn cynnwys un anhawsdra i ystyried y ddeddf fel cyfundrefn wrth y gair, yn gystal â'r un seremoniol, neu yr un foesol.

10, 4. Mae dywedyd fod Crist yn ddiwedd i orchymynion y llechau, yn gystal ag i'r gyfran arall o'r ddeddf, yn dychrynu rhai esbonwyr; eithr darllener yr *Esb.*

13, 8, 10. Nid yw Paul wrth ddatgan mai cyflawnder y gyfraith yw cariad, yn annog y gyfraith arnom, ond yn bwrw, yn hytrach, ddeddf yr Iuddew ei hun yn ei wyneb, fel y ffordd rwyddaf i'w ddystewi. Arferai Paul y dull hwn o ymresymu yn aml iawn. Gofalodd rhag dywedyd fod yn y ddeddf ddim at neb ond "y cymmydog." Cariad Crist yw y gwir rywogaeth o gariad yn awr.

8. *Tystiolaethau a dybir dros grefyddolder y Ddeddf, neu y gyfundrefn Foesenaidd.*

Salm 119, 96, "Dy orchymyn di sydd dra eang." Peidied neb ag estyn y gair hwn yn eangach nag y cawn ef mewn manau sy'n rhoi i ni fesur manylach y gair.

Diar. 6, 23, "Canwyll yw y gorchymyn, a goleuni yw y gyfraith." Gwir; ond y ffordd i fywyd tymhorol a oleuid ganddi.

Luc 23, 56, a ddywed iddynt orphwys ar y sabboth, yn ol y gorchymyn; eithr cofier nad oedd teyrnas nefoedd etto mewn grym: yr oedd ei brenin yn farw yn ei fedd.

Eph. 6, 2, 3. Mae yr ychwanegiad o fod hir oes ar y ddaear i'r ufydd, yn eglurhau mai coffa hen orchymyn, gan ddywedyd mai efe ydoedd y cyntaf mewn addewid, yr oedd Paul; ac nid ei gadarnhau yn rheol buchedd i ni. Mae ein gorchymyn ni "yn yr Arglwydd," i'w gael yn yr adnod flaenorol. "Peri i'w haul godi ar y drwg a'r da," ac nid estyn oes dymhorol i'r ufydd, y mae Duw yn Nghrist. Ceir cyssylltiad o'r gorchymynion yn adn. 1, 4, 5, 6, 9, â'r Arglwydd Crist, yr hyn nid oes â'r gorchymyn yn ein testyn.

1 Tim. 1, 5, "Diwedd y gorchymyn yw cariad o galon bur, a chydwybod dda, a ffydd ddiragrith." Ni all y gorchymyn hwn fod yn eiddo Moses, canys dywed Paul yn gyffredin fod Ffydd yn beth tra gwahanol i'w eiddo ef. Gorchymyn newydd Crist, mae'n debyg, oedd mewn golwg.

Marc 10, 17—22. Nid oedd Crist yn gosod y gorchymynion yn llusern "bywyd tragwyddol" i'r gwr ieuanc: "tyred, canlyn fi," oedd y moesoldeb hwnw.

Nid yw y *gorchymynion* y cyfeirir atynt yn Ioan 14, 21; a 15, 20; 1 Cor. 7, 19; a 14, 37; 1 Thes. 4, 2; 1 Ioan 2, 4; a 3, 24; 2 Ioan 6; Dat. 22, 14, namyn eiddo Crist fel Pen yr eglwys.

Esay 42, 21, "Yr Arglwydd sydd foddlawn er mwyn ei gyflawnder, efe a fawrha y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus." Ai anrhydedd iawnol yw hwn? Ai at Grist y cyfeirir? A yw ffansi ein catecismau yn ddigon i brofi y peth? Ac oni fawrhaodd Crist y gyfraith yn ei fuchedd?

Mat. 5, 17, 18, 'Na thybiwch fy nyfod i dori y gyfraith, neu y prophwydi: ni ddaethum i dori, ond i gyflawni. Canys yn wir meddaf i chwi, Hyd onid êl y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod nac un tipyn o'r gyfraith heibio; hyd oni chwblhaer oll." Tori *(kataluô)*, gwneyd yn ofer. Cyflawnr *(pleroô)*, dwyn i ben, i gyflawn amcan a diweddiad, gorphen hyd berffeithiad ei thymhor. Ni ddaethai efe i ddystrywio deddf Moses, a'i chroesi. Ei hamcan oedd sefyll hyd oni ddelai yr Had; wele yr Had am gadw pob iod o honi yn ei le, *hyd oni chwblhaer oll!* ond dim yn hwy.

Mat. 23, 23, "Ac a adawsoch heibio y pethau trymach o'r gyfraith; barn, trugaredd, a ffydd." Yr wrthddadl yw; Onid yw Crist yma yn datgan fod barn, trugaredd, a hyd yn nod y ffydd ei hun, yn mysg pethau trymaf y gyfraith, ac o ganlyniad yn ffurfio cyfran o honi? Ac, os oedd ffydd yn gyfran o honi, yr oedd crefydd yn gyfran o honi, ac os crefydd, yna cyfeiliornus raid fod holl rediad yr esboniad hwn ar y Rhufeiniaid. Rhaid cyfaddef fod yma ddirfawr anhawsdra, ar yr olwg gyntaf; eithr yn y camgyfieithiad yn unig y mae'r cwbl, mewn ffaith. Yr ymadrodd gwreiddiol yw *barutera tou nomou*, "trymach o'r gyfraith:" eithr "trymach na'r gyfraith" a ddylasai fod. Darllened y dysgedigion Matthaei's *Greek Gram.* § 454. Stuart's *New Test. Gram.* § 101, (5); § 119, (5). Winer's *Gram.* § 30, 2, (b); § 36, 4. Er enghraifft, wele yr un cystrawiad yn y manau canlynol:—"Mae genyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan," Ioan 5, 36.—"Haeddu mwy o barch na'r ty," Heb. 3, 3.—"Un mwy nag Ioan Fedyddiwr," Mat. 11, 11; Luc 7, 28.—"Mwy na Solomon," Mat. 11, 42,—Marc 4, 32, "mwy na'r holl

lysiau ydyw,"—12, 31, "gorchymyn mwy na'r rhai hyn nid oes,"—Ioan 1, 50, "ti a gei weled pethau mwy na'r rhai hyn."—Ioan 4. 12, "Ai mwy wyt ti na'n tad Jacob?" Ac felly 8, 53; 10, 29; 13, 16; a 15, 13; 1 Ioan 3, 20, &c. Felly hefyd y Septuagint yn Job 6, 3, "trymach na thywod y môr."—Diar. 27, 3, "trymach na'r ddau." Bellach, caniateir i mi, yn ddiau, gyfieithu Mat. 23, 23, yn gydunol â'r unrhyw ymadrodd gwreiddiol yn y manau a nodwyd: "ac a adawsoch heibio y pethau trymach *na'r* gyfraith; sef barn, trugaredd, a ffydd," yr hyn sy'n dangos fod y pethau hyn yn ddyledswydd arnynt, ac o ganlyniad i'w dysgu allan o'u hysgrythyr eu hunain, er nad yn ffurfio un gyfran o'r gwleidiadaeth a elwid *y gyfraith*, tra yr ydoedd math o farn a thrugaredd yn ofynol ganddi hithau.

Luc 16, 17,—"Haws yw i nef a daear fyned heibio (ebe Iesu Grist), nac i un tipyn o'r gyfraith ballu," neu fyned yn ofer. Ei hamcaniad oedd i aros nes delai yr Had (Gal. 3, 12); sef, nes delai efe yn y cymmeriad o'r "Hwn a gawsai yr addewid," sef yr addewid o'r deyrnas Bentecostaidd. Myned yn ofer, fuasai iddi gael ei thaflu o'i lle cyn ei hamser; a myned o'r efengyl yn ofer, fyddai gadael y ddeddf ar yr orsedd yn hwy.

Gal. 5, 14. Yma cawn yr apostol, ar ol tynu i lawr y ddeddf o ddechreu yr epistol, yn mlaen, yn bwrw ei ddeddf ei hun i wyneb yr Iuddew, gan ddangos fod hyd yn nod ei moesoldeb iselach hi yn condemnio y cymmydogion fo'n cnoi a thraflyncu eu gilydd. "Eithr *(de)*, yr wyf fi yn dywedyd, Rhodiwch yn ol yr Ysbryd," ebe efe, gan ofalu am beidio eu gadael gyda'r "Câr dy gymmydog fel ti dy hun," yn unig.

Adn. 23,—"Yn erbyn y cyfryw nid oes deddf," ebe efe. "Pe byddech yn mynu glynu wrth 'Casâ dy elyn,' a'r holl ddeddf, ni allwn eich hannog at y rhinweddau hyn; eithr yn awr nid oes ddeddf neu osodiad yn erbyn yr un o'r pethau hyn. Dyna y cyfeiriad; ac nid bwrw fod y rhinweddau Cristionogol hyn o fewn cylch y ddeddf, Iago 1, 25. Sonir yma am "berffaith gyfraith y rhyddid," sef yr efengyl. Deddf caethiwed y gelwir un Moses, yn y Testament Newydd.

Gal. 2, 8,—"Os cyflawni yr ydych y gyfraith freninol yn ol yr ysgrythyr, Câr dy gymmydog fel ti dy hun, da yr ydych yn gwneuthur." Dyma adgyfodiad teg i hen gyfraith Moses, medd rhywun. Nage; oherwydd, yn gyntaf, gelwir hi yn freninol *(basilicos)*, ystyr yr hyn yw:—perthynol i frenin, i diriogaeth, megys yn Act. 12, 21: Dillad breninol." Ac adn. 20: "Am fod eu gwlad hwy yn cael eu cynnaliaeth allan o'r un freninol," [Groeg]. Num. 21, 22: "Ar hyd y ffordd freninol y cerddwn." 2 Sam. 14, 26: "Wrth y pwysau breninol." Esther 8, 15: "Mewn gwisg freninol." Gwelwn mor ofalus fu'r apostol i nodi allan gwir natur deddf Moses. "Y *nomos* freninol—y gyfraith freninol, wleidiadol, diriogaethol," ebe efe. Eithr, medd gwrthddadl arall, Paham y pâr efe iddynt wneuthur felly? Am fod caru cymmydog fel ni ein hunain, yn sicr o fod yn dda, can belled ag y cyrhaedda; a'i wasgu ar Iuddewon Cristionogol, mor debygol â dim, i'w hennill oddiwrth dderbyn wyneb. Eithr, dymunaf ar y darllenydd sylwi yn neillduol ar adn. 12, "Felly llefarwch, ac felly

gwnewch; gyda chofio un peth drwy y cwbl, mai drwy gyfraith rhydd-id, ac nid yr un Foesenaidd, y'ch bernir chwi." "Fel y cyfryw yr edrychwch ar y gorchymynion a nodwyd, ac nid fel deiliaid Moses, y rhai a fernir wrth ei ddeddf ef." Yna, mae yr apostol yn myned yn mlaen, i ddangos mai ofer i ddyn hóni ei fod wedi cofleidio cyfundrefn y Ffydd, tra yn methu dod i fyny â hyd yn nod, Câr dy gymmydog fel ti dy hun: fod y cynllun anmherffaith gynt yn ei gondemnio ef, megys pechadur, heb son am gariad purach y cynllun newydd.

4, 11,—"Y neb sydd yn dywedyd yn erbyn ei frawd, ac yn barnu ei frawd, y mae efe yn dywedyd yn erbyn y gyfraith, ac yn barnu y gyfraith: ac od wyt ti yn barnu y gyfraith. nid wyt ti wneuthurwr y gyfraith, eithr barnwr." "Dyna gyfraith Moses (medd rhywun) yn gadarnhaol gyfraith i Gristionogion." Dim o'r fath; canys medd yr adnod ddilynol:—"Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli;" a phwy yw efe ond y Ceidwad Crist? Ei gyfraith newydd ef sydd yma. Nid oes bannod o flaen y gair, fel nad oes, ychwaith, yn 1, 25. a 2, 8, 12, lle sonir am yr un gyfraith fawr foesol i Gristionogion.

1 Ioan 3, 4,—"Anghyfraith yw pechod." Nid cyfeiriad at gyfraith Moses yn unig yw, ond at ba gyfraith bynag y bo y rhyddweithredydd cyfrifol dani: peidio cadw hóno sydd bechod ynddo ef. Pe gellid cael dyn digyfraith, ceid dyn heb fodd pechu ganddo.

Ceir hysbysiadau nad ydym ni dan y ddeddf, yn Rhuf. 3, 19, a 6, 14, 15; 1 Cor. 9, 20; Gal. 3, 33, a 4, 5, 21. a 5, 18. Ofer yw ymwingo, drwy ddywedyd mai dan y ddeddf fel cyfammod bywyd, a feddylir, canys gwyddis yn awr, mai Awstin a ddyfeisiodd y deongliad yna. Nid oes un dyn, ac ni bu ychwaith, un enaid dani fel cyfammod bywyd tragwyddol. Ni cheir gair o son am y fath fywyd o fewn ei haddewidion. Dan yr efengyl y mae pob dyn am ei fywyd yn awr, derbynied efe ef neu beidied. Dylaswn grybwyll nad yw Salm 19, 7, yn cael ei chywir esbonio, "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid." O'r braidd yr wyf yn gallu cael y gair cyfraith *(torath)* yn arferedig mor foreu â hyn, am ddadguddiadau crefyddol ar wahan oddiwrth ddeddfau Moses. Cawn, fel y nodwyd eisioes *chuccoth*, deddfau, yn y rhif lliosog, ond nid y *torath*, cyfraith, un amser, o'r caethiwed babilonaidd yn mlaen; a hyd yn nod yn amser Esaia. "Yn troi,—*meshibâth*, arwain yn ol, dychwelyd, troi yn ol, gyru yn ol,—yr enaid, yr einioes, yr ewyllys." Gallai fod yn foddion cadw y bywyd tymhorol, os dygai dyn yr aberth oedd ar ei thaflen; onide, elai y gwrthodiad aberthu yn bechod anfaddeuadwy—elai â'i fywyd ef. Allan o ryw dystiolaethau o eiddo Duw y caffai Dafydd allan, fod calon ddrylliog yn dderbyniol gyda Duw, ar ol iddo wrthod pob aberth (Salm 51, 16, 17).

Gweddus yw i mi adael y traethawd hwn, mewn gostyngeiddrwydd, wrth draed olrheinwyr y beibl santaidd. Yn unig dealler, fy mod am osod cymmaint o'r Hen Destament ag a geir yn perthynu i gyfammod Israel, yn rhestr addysgiadau yn unig, ac nid yn gyfreithiau i ni. Nid wyf wrth hyn am ei fwrw o'r beibl. Na atto Duw! Rhestraf hwynt oll yn y man lle rhestrasai fy mrodyr y degymau, yr aberthau, a'r gwyliau, a'r golchiadau, a gawsent yn yr un gyfundrefn. Nid wyf yn

cael y Testament Newydd yn caniatâu iddynt hwy na minnau ddewis y gosodiadau a fynom o'r gyfraith, a gwrthod a fynom, yn unig oherwydd ddarfod i'r Pabau boreuol syrthio mewn serch â hi, er mwyn ei hoffeiriadaeth, ei hawliau swyddol, ei gorfodaeth, ei degymau, a'i dialau. Ni bu hi, na'i hoffeiriadaeth, na degymawl gynnaliaeth ei hoffeiriadaeth, erioed yn un math o bethau crefyddol, os crefydd yw pethau cadw enaid—pethau yn cylymu enaid wrth y nef, wrth ysbrydolrwydd addoliad, a gobaith bywyd tragwyddol. Trwy gredu yn Nuw, meddai Paul, y cedwid y saint er y dechreuad, ac nid drwy ddim o weithredoedd y ddeddf. Am yr hyn a elwir *Deddf Foesol*, peth hollol wahanol ydyw i ddeg gorchymyn Moses, yn cyrhaedd llawer pellach, manylach, a pherffeithiach.

Am y man lle dywed Crist mewn prophwydoliaeth, "Dy gyfraith sydd o fewn fy nghalon," nis gallai fod y gyfraith hono a ddywedai, "Câr dy gymmydog fel ti dy hun," onide buasai ei gariad yn rhy wan, a'i fynwes yn rhy oer, i *farw* dros y cymmydog, a llawer llai dros ei *elyn*. Gan ei Dad y derbyniasai efe y gorchymyn i hyn—y gyfraith newydd hon (Ioan 10, 18). Hon yw cyfraith moesoldeb Cristionogaeth. Yn ei fynwes anwyl y tarddodd, ar y groes, ac yn ei waed (O, mor effeithiol, darawiadol!) y dylifodd gyntaf allan i fyd anfoesol, truenus, a gelynol.

Am yr hyn a geir yn Heb. 8, 8—13, hawdd y deallir, wrth fanwl ddarllen yr adnodau, nad at yr un ddeddf ag a fuasai yn yr hen gyfammod, y cyfeirir. Y Testament Newydd, a'i gariad, a'i faddeugarwch, a'i hunanymwadiad, yn unig, sydd yn cyfansoddi y cyfammod newydd hwn.

Yn awr, dichon y tybia rhai fod fy mhryder hwn i ymgadw at y Testament Newydd, yn arddangos fod yn agos i'r fynwes ryw ddirgel anmharch i'r Hen. Paham, meddant, y tynir y naill gyfran o'r beibl oddiar yr orsedd, mwy na'r gyfran arall; mae y llyfr oll genym; paham na cheir cymmeryd yr oll? Yr wyf yn ateb, fy *mod* yn cymmeryd yr oll. Nid wyf yn tynu i lawr un gyfran oddiar ei orsedd ei hun. Fy amcan neillduol ac arbenig yw cael i eglurder deilwng awdurdod pob cyfran o hono. Yr wyf yn cyfaddef fod, mewn rhyw ystyr, awdurdod pob cyfran o hono yr un. Yr awdurdod uchaf all fod ydyw, canys dwyfol yw. Yn yr olwg yma, yr oedd yr un awdurdod yn yr oruchwyliaeth Iuddewig ag sydd yn yr un Gristionogol,—yn ngosodiadau Moses, ag yn eiddo Crist. Nid oes un ddadl, debygwyf, am hyn. Perthyna y ddadl yn hollol, nid i *awdurdod*, ond i *amcan* y dwyfol Deddf-roddwr—mewn perthynas i barhaol ac amserol, gwleidiadol a chrefyddol, rwymedigaeth ei osodiadau. Tra yr ydym yn dal dros ddwyfol awdurdod y gosodiadau eu hunain, a'u bod yn gofyn ufydddod diymwad pob un y rhoddid iddo; etto, os dros dymhor yn unig yr amcenid iddynt barhau, yr ydym yn gwadu yr un awdurdod, drwy ddal fod eu rhwymedigaeth yn un barhaol; a thrwy osod y gyfran wleidiadol o honynt yn grefyddol, a'r un grefyddol yn wleidiadol. Os i bobl neillduol, ac at amcan neillduol, yr amcenid hwynt, yr ydym yn euog o anufydd-dod i'r awdurdod goruchaf, pan geisiom osod eu rhwymedigaeth ar ereill, a phan ymosodom at eu dal i fyny ar ol i'w

hamcan priodol gael ei ateb drwyddynt. Yr wyf yn dywed hyn, rhag camddeall o neb, drwy na rhagfarn, nac arferiad ymdidawl credoaidd sect, a thybied, am fy mod yn ystyried rhai rhanau o'r Hen Destament, mewn goleu newydd i'w lusern ef, fy mod yn edrych yn ysgafn ar, neu yn yspeilio cyfran o, awdurdod y rhan hòno o'r gair dwyfol. Ymhell oddiwrth fy nhraed y byddo pob cyfryw lithrigfa at anffyddiaeth. Fy mai (os bai hefyd,) ydyw ceisio "cadarnhau y ddeddf," drwy ei gosod, gyda Phaul, ar ei sylfeini ei hun, a thybied yn ddios, mai ei dirymu hi y mae pob un a'i cymmysgo hi, na'i rhwymedigaethau, ag eiddo y Ffydd. Yr hyn y dadleuaf drosto yw,—a phwy a wâd briodoldeb y ddadl?—y rhaid, wrth gymmeryd yr ysgrythyrau yn arweinydd, gydblethu amcan eu rhoddiad a'n hesboniad arnynt wrth fyned yn mlaen; canys dichon y naill beth fod yn gymhwys a manteisiol, gyda'r amgylchiadau hyny ag y gosododd dwyfol ddoethineb ef danynt; ac er hyny, yn anghymhwys a niweidiol dan amgylchiadau ereill: gallai fod yn ddoeth a da dros y tymhor yr amcenid iddo barhau, ac i'r dyben a amcenid iddo wasanaethu; ac er hyny, yn ynfyd a drwg ar dymhorau ereill, ac i ddybenion ereill. Ac, er mwyn cael allan pa beth oedd wleidiadol, a pha beth yn grefyddol; pa beth yn dymhorol, a pha beth yn barhaol: nid oedd genyf un ffordd i'w chymmeryd, ond naill ai rhedeg ar ol y duwinyddion duwiol a dysgedig a ysgrifenasant yn y canrifoedd diweddar ar y pwnc; ai ynte, eu hammau hwynt oll, ac ail-gychwyn drosof fy hun, drwy fanwl olrheiniad o egwyddorion y ddadl allan o'r gyfrol berffaith yn unig. Penderfynais wneyd dewisiad o'r olaf; a barned y darllenydd, nid ar fy newisiad o'r llwybr, ond ar y llwyddiant a gefais wrth geisio ei onest ddilyn.

Yr hyn a ennillwyd, os cywir yr arholiad hwn, yw cael allan—na bu crefydd erioed yn beth gorfodol, na gwleidiadol—nad oedd yr archoffeiriad, na'i dylwyth, na'i offer, na'i aberthau, na'i olchiadau, na'i gynnaliaeth ddegymawl, blaenffrwythawl, &c., yn ddim ond perthynasau gwleidiadol; a dygwydd o honynt gael eu gorchymyn gan *Dduw*, ac nid gan *ddyn*, yn unig am ei fod ef yn frenin ar y genedl ar y pryd.

---

## TRAETHAWD VII.

### FFYDD.

Er mai yr un gair a geir yn y Testament Groeg yn gyffredinol am y gras hwn, gorfodwyd y duwinyddion i'w ddeongli yn ffydd gadwedigol yn y naill fan, ac yn ffydd hanesiol, neu yn ffydd wyrthiol, &c., mewn man arall: y darllenydd yntau a orfodwyd, felly, i ddilyn y cyfryw dduwinyddion, heb un boddlonrwydd i'w farn, yn mhellach na bod y duwinyddion yn wyr dysgedig a da; a chan eu bod hwy yn pendant haeru hyny, mai *hyny*, yn ddiau, ydoedd yr arwyddocâd dwyfol o'r gair.

Ond, ai gwir yw nas gellir taro wrth un reol o ddeongli, ag a esyd un ystyr yn unig i air fel hwn, sydd yn arferedig, fel y nodwyd, gan yr apostolion, heb na *chadwedigol*, na *hanesiol*, na *gwyrthiol*, ynglyn

ag ef? Neu ynte, oni ellir drwy olrhain yn fanwl i'r cyfymadroddion gwreiddiol, gael allan fod gan yr apostolion rywddull neillduol o ymadroddi gyda'r gair, pan arferent ef mewn ystyr wahanol i'r un arferol? Nid oes genyf yma ddim i'w wneuthur, ond naill ai dilyn y duwinyddion oll yn wasaidd ar yr un llwybr a'u gilydd, fel y nodwyd; ai eu hanghofio, megys, ac olrhain yn bwyllog i briod-ddull ein hapostol hwn, i weled a ellir cael allan safon cywir a phendant i wneuthur gwahanol ystyriaethau i'r gair *Ffydd*, ai peidio.

I. Ystyr y gair Pistis—Ffydd.

*Ei darddiad*, sydd allan o'r gair *Peithô*, ystyr yr hwn yw perswadio, neu annog a dylanwadu ar, rywun, drwy eiriau tirion ac annogaethau *(motives)*. Yna allan o'r gair *peitho* tarddodd *pistos*, ystyr yr hwn yw, teilwng o grediniaeth, neu ymddiried; o hwnw eilwaith, meddant, y deilliodd Pistis, ffydd, ystyr cyntefig yr hwn ydoedd crediniaeth, ymddiriediad yn ngwirionedd, didwylledd, neu ddiffuantrwydd, rhywun neu rywbeth. Felly bu ei arferiad yn nghyfnod dau, a thri, a phedwar cant o flwyddi cyn Crist, heb un eithriad, mae'n debyg. Ni wyddid am dano ef, nac am y berwyddiad berthynasol *pisteno*, credu, mor foreu ag amser Homer, eithr cawn ef mewn arferiad, er nad yn aml, yn amserau Demosthenes yr areithiwr, Euripides a Sophocles y beirdd, Xenophon, Plutarch, a Herodian. Wrth ddynesu yn mlaen, hyd yn nod yn Plutarch, Lucian, a Hippocrates, ceir yr aawyddocád yn ymlithro tuag at yr ystyr o Grediniaeth fel rhinwedd, neu gyfundrefn o rinwedd, crefyddol. Ond, gan fod y cyfieithiad Groeg o'r Hen Destament Hebraeg, ag a elwir y Septuagint, yn cael ei ddarllen gan yr apostolion, rhaid fod arferiad y beibl hwnw o'r gair *Ffydd* yn dylanwadu i raddau nid ychydig ar flurf yr arwyddocâd a osodid ganddynt hwythau iddo, yn Ngeiriadur newydd y gyfundrefn Gristionogol. Sylwaf ynte, yn nesaf, ar *ystyr* y gair *Pistis* yn y *Septuagint*.

"Meibion heb *ffyddlondeb* ynddynt" Deut. 32, 20: ond medd y Septuagint, "Meibion heb y *ffydd* ynddynt."

"Pallodd y ffyddloniaid," Salm 12, 2; ond, "Pallodd pobl y ffydd," meddai Symmachus, yr hwn a gyfieithodd yr Hen Destament o'r Hebraeg i'r Roeg, yn yr ail ganrif o oed Crist.

"Agorwch y pyrth, fel y del y genedl gyfiawn i mewn," ebe Esaia 26, 2; ond "Pobl y ffydd i mewn," yw cyfieithiad Groeg Aquila, yr hwn a wnaed ychydig o flaen eiddo Symmachus. Y gair Hebraeg yn y manau uchod, yw *Emon*, neu *Amen*. Egyr y gair hwn y drws i ni, i gael adnabod pa enwau a osodent ar eu perthynas grefyddol â Duw, ar wahan oddiwrth eu perthynas wleidiadol ag ef fel eu Jehofa. Arwyddocâd y gair *Emon* yw gwirionedd, ffyddlondeb, megys yn Diar. 20, 6: "pwy a gaiff wr ffyddlawn?" sef, "gwr *amenau*, pwy a'i caiff?"

*Emonah*, sydd air Hebraeg arall, wedi ei gyfieithu gan y Sept. yn *pistis* neu ffydd. Ei arwyddocâd yw sefydlogrwydd, uniondeb, yn lled gyffelyb i'r gair a nodwyd uchod. 2 Cron. 31, 12, 15, 18. "Oblegid mewn *ffydd* y trinient yn santaidd y peth santaidd." Cyfieitha Symmachus Esay 25, 1:—"Dy gynghorion o'r dechreuad ydynt wirionedd a ffydd," am "sicrwydd."

*Emanah*, sydd air Hebraeg arall, wedi ei gyfieithu yr un modd. Ei arwyddocâd yw sicr gyfammod. Felly o'r Sept. yn Neh. 9, 38: "O herwydd hyn oll yr ydym yn gosod i fyny ffydd."

*Emeth* hefyd a gyfieithir yn *ffydd* ganddynt, megys yn Diar. 3, 3: "Na âd i drugaredd a ffydd ymadael â thi—ysgrifena hwy ar lech dy galon." "Barn, trugaredd, a ffydd," oeddynt bethau trymach na'r gyfraith gan Grist hefyd.

Er nad yw yr Apocrypha yn rheol ymarweddiad, nac yn sail athrawiaeth, y mae, fel pob hen lyfr arall sydd yn iaith wreiddiol y Testament Newydd, ac yn neillduol, oherwydd ei fod mewn arferiad gan yr Iuddewon, yn gymhorth tuag at ddeall ystyr geiriau yr apostolion a'r prophwydi. Cwrddir â'r gair *pistis* (ffydd) yn Ngroeg Sirach 15, 15: "Os myni, i gadw ei orchymynion ef, ac i gyflawni y ffydd yn gymmeradwy." Dywed 49, 10, ddarfod i'r "deuddeg prophwyd gysuro Israel, a'u gwaredu drwy obaith ffydd." Swyddogion *crefydd* oedd y prophwydi. Yr un gwreiddyn Hebreig sydd i'r *credu* yn Gen. 15, 6, "*Credodd* Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder," yr hyn a arferwyd gan Paul yn Rhuf. 4, yn dystiolaeth dros ei bwnc, nad drwy y ddeddf, ond drwy y ffydd y cedwid saint yr Hen Destament. Dywed Salm 78, 22, na chredodd Israel yn Nuw, at yr hyn y cyfeiria Paul yn Heb. 4, fod ynddynt galon ddrwg anghrediniaeth; nid fel crefyddwyr, gyda golwg ar waredigaeth enaid, ond fel gwladwyr, gyda golwg ar waredigaeth corff yn unig. Ni chaed niwaid ar Daniel, oherwydd credu o hono yn Nuw, yn ffau y llewod, Dan. 6, 23. Lle ceir *gwrando* geiriau Duw, megys yn Jer. 25, 8, gan yr Hebraeg, ceir *credu* iddynt, yn aml gan y Septuagint. Gwel Doeth. Sol., 12, 2.

Gellir gorphen yr arholiad hwn gyda golwg ar yr Hen Destament, gydag ychwanegu, mai ystyr y *gwreiddyn* Hebreig o'r holl eiriau a nodwyd *(Amen, Aman)* yw bod yn ffyddlon a sicr.

*Yn y Testament Newydd*, dywed Paul (Heb. 12, 1), "Eithr nyni nid ydym o'r Gwrthgiliad i golledigaeth [yr enaid], eithr o'r Ffydd i gadwedigaeth yr enaid. Ffydd, yn wir, yw *upostasis* (sail, &c.) y pethau yr y'm yn eu gobeithio—sicrwydd *(elegchos)* y pethau nid ydym yn eu gweled." Gwel y darllenydd fod cywir adnabyddiaeth o'r ystyr a gyssylltai Paul â'r gair *pistis*, ffydd, i'w gyrhaedd drwy dalu sylw teilwng i'r arwyddocad a ddyry efe ei *hunan* i'r gair: yr arwyddocad hwnw a geir yn y testyn hwn. Rhaid i ni ddeall ystyr dau air cyn myned yn mhellach: *upostasis* (sail), ac *elegchos* (sicrwydd), a'r ddau yn gyssylltiedig â'r gwirioneddau dadguddiedig perthynol i'n hiachawdwriaeth dragwyddol.

*Upostasis* sydd air Groeg, a'i ystyr cyntefig yw, yr hyn a osodwyd i sefyll dan rywbeth, *sail*. Felly yr arferiad yn Ezec. 43, 11, am sail ty. Ystyr arall iddo yw *sylwedd*. "Os daliwn ddechreuad ein hyder, neu sylwedd crefydd, yn sicr hyd y diwedd," Heb. 3, 14. "Cywilyddio yn y sylwedd o'r ymffrost hwn," 2 Cor. 9. 4. Dywedir yn Heb. 1, 3, fod y Mab yn ddysgleirdeb gogoniant a *character upostasis* Duw," lle cyfieithir y gair yn *berson*, pan y dylasai fod yn sylwedd. Bu mawr ddadlu yn y drydedd a'r bedwaredd ganrif yn nghylch cymhwysiad y gair *upostasis* at Dduw, fel person a phersonau, fel sylwedd a sylwedd-

au. Athanasius a'i ddysgyblion a'i harferasant gyntaf yn yr ystyr o berson, er mwyn gwrthsefyll Arius a'i ganlynwyr. Cyn Cynghorfa Nicea, arferid y gair hwn am *substance*, neu *essence*, sylwedd. Condemniai Dionysius Romanus (A. D. 250) y sawl a bregethent dri *upostasis*, gan ystyried hyny yr un peth a dal allan dri o sylweddau, neu dri Duw. Felly hefyd Athanasius ar y cyntaf. Daliai Origen yntau dros arferyd *upostasis* am berson, a bod o'r cyfryw dri yn y Drindod. Eithr yr oeddynt gan mwyaf o'r farn hon, pan gyfododd Sabelliaeth i fyny yn eu herbyn. Gwelwn mai ei ystyr foreuaf yn mysg Cristionogion oedd *sylwedd* yn unig. Cymmaint a hyna am ystyr y gair yn ol ei arferiad yn yr iaith.

Yn nesaf, pa ystyr a geir yn fwyaf naturiol iddo yn ein testyn, lle dysgrifir natur ffydd, y gair arall mewn dadl?

1. "Ffydd i gadwedigaeth yr enaid" sydd dan sylw. Gallai fod yn grediniaeth, fel y dywed Stuart, a'r lleill oll, o ran hyny, neu ynte yn gyfundrefn neillduol, fel yr esbonir drwy y gwaith hwn.

2. Sail neu sylwedd yr holl bethau a obeithiwn yn "nghadwedigaeth yr enaid" ydyw. Hyn nis gall crediniaeth fod; canys nid ar y ffaith o'n bod ein hunain yn credu, yr adeiladwyd holl athrawiaethau yr efengyl; a diau nad crediniaeth dyn yw, ychwaith, sylwedd yr athrawiaethau tragwyddol hyny. Byddai y sylweddau pwysig hyny yn bod, pe na chredai neb o honom hwynt. Felly byddai y *ffydd* yn bodoli yr un modd, pe na chredid ynddi genym ni.

3. "Sicrwydd *(elegchos)* y pethau nid ydym yn eu gweled" ydyw. Ystyr y gair hwn yw *prawf argyhoeddiadol.* Gorfodir y dosparth o feirniaid sydd yn galw ffydd yn grediniaeth, i ddywedyd fod y gair yn y fan hon yn cael ei arferyd yn allegawl, gan ei drosi yn *sicr berswadiad:* eithr methant oll a chael iddo yr unrhyw ystyr mewn ymadrodd arall o fewn cylch yr iaith. Ceir ef yn 2 Tim. 3, 16, lle ei cyfieithir yn *argyhoeddi;* eithr enw, ac nid perwyddiad, yw efe: pa anhawsdra sydd mewn dywedyd *sicrwydd* neu *brawf diymwad* yno, yn ol ystyr cyffredin y gair? Yn Job 13, 6, a 23, 4, cyfieithir yn *rheswm.* Pa fodd y gall crediniaeth mynwesol dyn fod yn brawf neu sicrwydd argyhoeddiadol iddo, o wirionedd y pethau? Gall crefydd neu ffydd fel cyfundrefn, fod yn gyfryw. Gallasai y gyfundrefn oedd yn cyssylltu y patriarchiaid â Duw, drwy eu gwaith yn *credu* ac ymddiried ynddo, yn lle drwy *weithio* aberthau a golchiadau yn ol cyfundrefn y Ddeddf —fod yn sail, a sicrwydd, a sylwedd, a rheswm argyhoeddiadol, i bob dyn, o fwynhad pob pechadur o fewn cylch ei hammodau, o'r pethau nad ydys yn eu gweled, ond yn gobeithio esgyn i'w mwynhau byth.

4. Ynddi hi *(en antes)* y mae tystiolaeth dda i'r henuriaid (Heb. 11, 3) patriarchaidd, ac nid yn nghroniclau y ddeddf. Trwy eu crefydd, ac nid eu gwleidiadaeth, y cawsant air da.

Gwrthddadl i'r gosodiad, mai cyfundrefn, ac nid teimlad na phenderfyniad, a feddylir wrth *ffydd* yn Paul, yw y son aml sydd am ffydd fel ffydd hwn, a ffydd y llall, ac y byddai yn fwy priodol i ni ystyried y ffydd yn grediniaeth, yn y cyfryw ymadroddion, nag yn gyfundrefn.

Mewn atebiad i hyn, cyfaddefir fod yr ymadroddion "eich ffydd,"

"dy ffydd," "eu ffydd," "ein ffydd," &c., i'w cael yn Rhuf. 1, 5, 12, a 4, 5, 12, a 14, 22; 1 Cor. 2, 5, a 12, 9, a 13 2, a 15, 14, 17; 2 Cor. 1, 24, a 10, 15; Eph. 1, 15; Phil 2, 17; Col. 1, 4, a 2, 5; 1 Thes. 1, 3, 8; a 3, 5, 6, 7, 10; 2 Thes. 1, 3. 4, a 3. 2, a 4, 12; 2 Tim. 2, 18. Eithr, ni all fod mwy o anghymhwysder ymadroddawl mewn dywedyd, "dy ffydd," "dy gyfundrefn," "ein Cristionogaeth:" nag mewn dywedyd, "dy grefydd," "ein crefydd." Etto, pwy nas gŵyr mai cyfundrefn yw crefydd, ac nid teimlad yn unig?

Etto dywed Stuart mai crediniaeth neu ymddiried yw ystyr y gair ffydd yn Heb. 11, 1; a'i reswm nid yw namyn "fod y cyfryw ystyr yn amlwg briodol i'r ymadrodd."

Eithr gadawaf ystyr y gair yn awr, gyda dywedyd, mai yr unig arwyddocad sydd yn ymddangos i mi yn esmwyth eistedd arno ar hyd ei arferiad, o'r bron yn ddieithriad, drwy epistolau Paul, yw y gyfundrefn a elwid yn *grefydd* drwy yr oesoedd, ar wahan oddiwrth *wleidiadaeth* cyfammodol Canaan, yr hwn a elwid yn *Ddeddf.*

II. Cynnwysiad y Ffydd.

Arweinir ni i'r drysorfa fawr hon, drwy ddilyn arferiad ymadroddawl yr apostol. Olrheinir, ynte, i'r holl ymadroddion sy'n cynnwys y frawddeg *en pistis*, yn, o fewn, drwy y ffydd. Yr ystyr yw, *yn* y ffydd o ran stad, cyflwr, amgylchiadau, allanol neu fewnol; neu *yn ol* y ffydd, fel safon, rheol, neu derfynau; neu ynte, *yn* neu *ar* y ffydd fel sail mewn ystyr ffigwrol; neu, ond odid, fel annogiad, neu ar rai amgylchiadau, fel moddion. Mae yr holl ystyriaethau hyn i'w cael o fewn cylch yr *en* neu *yn* Groegaidd. Ond, yn awr am dano gyda ffydd, *pistis*, yn epistolau Paul, fel y gwypom pa bethau, meddai efe, sydd o fewn y ffydd. Mae cysuron yn deilliaw oddiwrth y naill o blant y gyfundrefn hon, i'r llall, mewn cyfrinachiad; sef, cysuron neillduol oddiwrth bob un, a'r nad ydynt i'w cael allan o'r gyfundrefn yn ei chyssylltiad â neb arall. Mae gan bob un o honynt hwy i bob un arall o honynt, ryw gysur ag y mae yn ofer ei ddysgwyl o'r gyfundrefn drwy neb ond efe, Rhuf. 1, 12. Mae bywyd pardynol, maddeuol, pob Cristion, yn cael ei fwynhau ganddo o fewn y gyfundrefn hon; yn awr, yn y cyfnod o honi sydd ar enw Mab Duw. Gal. 2, 20. Cyfeirir at y bywyd hwn, yn ei darddiad haeddiannol allan o gariad Crist at, a'i hunan-ymroddiad dros, y cyfryw.

Yn y gyfundrefn hon; sef y cyfnod o honi a elwir mewn modd arbenig, yn santeiddiad yr Ysbryd, a ffydd y gwirionedd, yr etholwyd er dechreuad y byd y rhai a fwynhant ogoniant, ac a alwyd [2 Thes. 2, 14]. Nid oedd y sylwedd, sef y gras a'r gwirionedd, perthynol i'r gyfundrefn, wedi eu cyfranu, yn y cyfnod a gyfoesai a chyfundrefn gysgodol y ddeddf. 2 Thes. 2, 13.

Mae y gyfundrefn hon yn ystyried, ac yn wir, yn gosod, pob un a ennillir *ac a ysbrydol fegir*, gan ryw un arall, yn blentyn mewn ystyr i'r cyfryw; safant yn y gyfryw berthynas agos a serchoglawn byth, 1 Tim. 1, 2. Dywedir eu bod *ynddi* hi yn y cyfryw berthynas a'u gilydd.

Yn y gyfundrefn hon yr oedd holl ddysg a phregeth Paul; yr hyn a

eilw efe :—"yn y ffydd a'r gwirionedd," 1 Tim. 2. 7. Nid yn y ddeddf: nid yn y ffydd a'r cysgodau; ond yn y ffydd a'r gwirionedd.

Mae ynddi dystiolaeth dda, erbyn yr oesoedd dyfodol, i gymmeriad ei holl ffyddlon blant: a'r hyn a gyflawnant mewn hunanymwadiad ac ymddiriediad yn Nuw, yn ol ei haddewidion hi. yw y rhinweddau a bwysant drymaf oll yn ei chloriannau, ac a wobrwyir yn benaf ganddi. Heb. 11, 2.

III. Tarddiadau allan o'r Ffydd.

Ceir gafael yn y dosparth hwn drwy olrhain yr ymadrodd *ek pisteôs*. Ystyr yr *ek* yw allan o'r gyfundrefn fel ffynnonell—fel prif ac uniongyrchol ffynnonell y peth; fel yr achos effeithiol o gynnyrchiad y peth. Hefyd, arferir am yr achos offerynol, drwy ba un y rhed neu y dylifa y peth; ond nid mor aml.

Allan o'r gyfundrefn hon y daeth dadguddiad o gyfiawnder cyfiawnhaol Duw; sef allan o'r cyhoeddiad o'r cyfnod olaf o honi; yr hwn gyhoeddiad a elwir *efengyl*, Rhuf. 1, 17.

Diau fod y cyfiawn dan bob goruchwyliaeth o'r Ffydd, yn cael ei fywyd, neu ryddhad cyfiawnhaol; etto, allan o'r gyfundrefn hon o Ras, ac nid o'r ddeddf, y caffai efe ef. (Yr un adnod.) *Y cyfiawn* oedd yr enw ar deulu y gyfundrefn dan ei goruchwyliaethau boreuaf, megys y mae *saint, ffyddiaid, ffyddloniaid, Cristionogion, &c.*, yn enwau arnynt dan yr oruchwyliaeth hon.

Nis gwn paham y dywedir am y rhai a gyfiawnheir dan yr oruchwyliaeth bresennol, mai "rhai allan o *(ek)* ffydd Iesu" ydynt, oddieithr fod amcan yn hyny i arddangos mai allan o honi hi y cawsant y ddyfodfa o farwolaeth i fywyd, nes eu bod mwyach yn sefyll ar y tir o blant iddi. Eithr, dichon yr ystyr fod yn "rhai perthynol i ffydd Iesu," Rhuf. 3, 26.

Allan o'r gyfundrefn hon, ac nid o un Moses, y deilliai cyfiawnhad i'r holl gyfiawnion perthynol i gyfammod yr enwaediad: gan hyny, nid oedd gan gyfammod Moses gyfiawnhad oddiwrth ddrygau moesol i hyd yn nod ei ddeiliaid ei hunan: adn. 30. Am yr "o ffydd," a'r "drwy ffydd." Gwel ar y lle.

Allan o'r un gyfundrefn y daeth yr addewid i Abraham, y byddai Crist, ei had ef, yn etifeddu y byd o ddynion. Rhuf. 4, 16.

Allan o Ffydd y tardd ein cyfiawnhad ni oll yn awr (5, 1): yr hwn o'r diwedd, a gyrhaeddwyd gan y cenedloedd (9, 30), er nad oeddynt gynt yn ymofyn am dano; a chawsid ef gan genedl Israel yn ogystadl, ac yn llawer boreuach na hwynthwy, pe ceisiasent ef allan o'r gyfundrefn hon, yn lle allan o un Moses, ac un y Phariseaid (adn. 32). Ac, y mae yr un cyfiawnder, mewn iaith, yn llefaru yn yr efengyl, gan ymddangos wrth ddrysau, ac wrth law, pob dyn a'i derbynio (10, 6, 8); ac y mae, mewn gair, cymmysgu â chrefydd rywbeth nad yw yn perthyn i, ac yn tarddu allan o'r gyfundrefn hon, yn bechod (14, 23).

Amcan gan, a chanlyniad sicr i, y sawl a gredant yn Iesu Grist *(eis Jes. Chr.)*, yw cael o honynt eu cyfiawnhau allan o'r gyfundrefn hon, fel y mae hi yn eiddo i Grist. Gal. 2, 26. Gan fod y *credu* yma yn yr amser gorphenol, a'r *cyfiawnhau* yn y modd galluadwy *(subj.)*, dy-

wed y Grammadegwyr fod yr olaf yn cynnwys amcan gweithredydd y berwyddiad gyntaf, mewn modd pendant a diymwad. Rost, § 122. Matth. § 518, 1. Gan hyny, mae yn gymhwys fod, os nad yw hefyd, yn rhaid fod, amcan y credadyn wrth gredu yn Nghrist, i gael ei ryddhau neu gyfiawnhau allan o haeddiant trysoredig ei gyfundrefn ef. Pe buasai y cyfiawnhau yn ammheus, gosodasid ef yn yr *Optative Mood.*

Allan o ufydd-dod ffydd y derbyniai'r cyn-Gristionogion yr Ysbryd Glân, o ran ei ddoniau gwyrthiol. Col. 3, 2. Mai yr Ysbryd felly, ac nid fel y dywed yr esbonwyr, o ran ei rasusau, a feddylia, sydd amlwg oddiwrth adnod 5ed, yn ol yr hon y ceir fod yr apostolion wedi cyfranu neu weinyddu y cyfryw iddynt, yr hyn ni allai un apostol, fel yr oedd efe yn Ysbryd grasusawl a chyflyrawl.

Allan o'r gyfundrefn hon y cafwyd i Abraham yr holl had ag a elwir yn blant yr addewid. Enwocaf o,—tad yn y dull Hebreig hwn o lefaru—ydoedd efe i, holl gredinwyr cyfnod cyn-bentecostaidd cyfundrefn y Ffydd, adn. 6, 7. Felly, allan o'r drefn hon y bendithir yr holl gredinwyr yn Nuw, ac yn Nghrist, o blith y Cenedloedd fel yr Iuddewon, a'r cwbl gydag Abraham; nid fel yr oedd efe yn dad naturiol yr Iuddewon, ond fel yr oedd efe yn sefyll yn unig ac uchel blentyn y Ffydd, yn y tymhor dan sylw o'r oes. Adn. 9, 10.

Yr un peth yw y cyfiawnhau a geir allan o'r ffydd ag yw rhoddi ei fywyd i ddyn euog, canys arfera Paul yn Gal. 2, 11, ymadrodd Habacuc (2, 4):—"Y cyfiawn allan o'r ffydd fydd byw," i brofi pa fodd y cyfiawnhawyd y cyfiawn.

Nid yw y ddeddf i'w chyfrif yn gyfran o, nac yn perthynu i, y ffydd; canys er fod cyfundrefn ffydd yn mhell o'i blaen, nid allan o'r ffydd y tarddodd hi (adn. 12). "Y dyn a wnel y pethau hyn a fydd byw drwyddynt," yw y ddeddf; ond, "Y dyn ni wnel y *pethau hyny* mwy, ond a greda yn yr hwn sydd yn cyfiawnhau yr annuwiol," yw y gyfran gyferbyniol o'r gyfundrefn rasol hon.

Peidiodd Duw a chydgau yr *holl fyd* dan y ddeddf, i aros esgoriad addewid fawr y Ffydd ar yr Had; yr Iuddewon yn unig a gydgauodd efe felly (Gal. 3, 23), tra "dan bechod," sef yn yr ystad baganaidd, y cydgauasai efe y Cenedloedd dros yr un cyfnod; a'i amcan ef wrth hyn oedd, "fel y gallai yr addewid allan o ffydd Iesu Grist gael ei rhoddi i'r rhai a gredent." Gan i'r rhai a gauesid dan y ddeddf, wrthod yr addewid, da ydoedd nad oedd ragor o'r byd wedi ei gau felly, onide, gwrthodasid Crist gan bawb: rhagwelodd Duw—Duw y brophwydoliaeth hon, pa fodd y byddai, ac yna efe a gydgauodd y byd fel y nodwyd, yn lle ei gydgau gyda'r Iuddewon. Dengys yr *ina with subj.*, "fel y rhoddid"—fel y gellid rhoddi, fod amcan pendant a hollol yn hyn. Wele atebiad i'r anffyddiwr, sy'n gofyn yn barhaus, paham na anfonasai Duw genadwri y ddeddf i'r paganiaid. Y rhai a'i galwant yn fath o grefydd ni allant ateb y gofyniad; eithr gwel y neb a'i hystyriant yn wleidiadaeth yn unig, mai hollol anghyfaddas i'r holl genedloedd fuasai. Am ddadguddiadau y ffydd cyn Crist, yr oeddynt mor aneglur ac anaddfed, fel mai doethach oedd eu cyfyngu fel y gwnaed, a gadael dynion y byd i arweiniad deddf natur yn hytrach.

Gosodwyd cyfundrefn Moses yn athraw—*paidagôgos*, i'r Iuddewon, hyd Iesu Grist, fel eu cyflawnheid hwynt allan o gyfundrefn ffydd. Nid oedd efe yn gwasanaethu yn lle Crist, canys caethwas ydoedd y *paidagogos*, neu fe allai, gaethwas rhyddhaol, dan ofal yr hwn yr ymddiriedid y meibion ieuainc, gwaith yr hwn oedd eu dysgu hyd y gallai, gofalu am eu cadw i, a'u hebrwng ei hunan i, yr ysgolion cyhoeddus. Gal. 3, 24, 25. Pe buasai y ddeddf yn gallu dysgu iddynt y wers am y cyfiawnder hwn, ofer fuasai eu cadw i'w hebrwng i ysgol uwch Iesu Grist.

Allan o'r un gyfundrefn y dysgwyliwn obaith y cyfiawnder, drwy yr Ysbryd, mewn rhyw fodd ag nad yw Paul yn ei eglur benderfynu. Gal. 5, 5.

Allan o ffydd y daeth y cariad sydd yn ddiwedd ar orchymyn y ddeddf, sef y caru gelyn, debygid, ag sy'n derfyn ar y gorchymyn cyfyngach o fewn y gorchymyn :—"Câr dy gymmydog fel ti dy eun : allan o'r ffydd wirioneddol a digymmysg y daeth. 1 Tim. 1, 5.

IV. Goruchwyliaethau y Ffydd.

Rhanaf yn gyntaf yn ddau gyfnod, yn ol trefn ein hapostol, yr hon a geir yn pen. 3, 25, 26. Yno dosrenir fel y nodwyd, gyda pherthynas â maddeuant drygau moesol dan y gyfundrefn, yn gyfnod y *paresis*, myned heibio yn unig i anwiredd, ac yn gyfnod y cyfiawnhau allan o ffydd Iesu.

Ar y Pentecost yr oedd cyssylltiad y ddau gyfnod hyn. Gwel ar yr adnodau a nodwyd.

Cawn dystiolaethau lliosog yn y Testament Newydd i brofi mai drwy y gyfundrefn hon, yn hollol oddiallan i gyfundrefn y ddeddf, y maddeuai Duw bob drwg moesol, ac yr ymwelai yn mhob modd â phechadur, gyda golwg ar fyd arall.

Gwrthddrych y ffydd gyn-bentecostaidd, nid oedd Iesu Grist fel y mae efe yn awr, ond Duw yn uniongyrchol, ac am a wn i yn awr, yn hollol ddigyfrwng, oddieithr i ni alw edifeirwch, a gweddi, ac ymddiriediad, yn gyfryw. Geilw rhai y "ffydd Duw" yn Rhuf. 3, 3, yn gyfeiriad at y gyfundrefn hon ; eithr gwyddom mai "i *Dduw*," heb son am Grist na Chyfryngwr, y credodd Abraham, pen. 4, 3. Dywedai Paul yn Heb. 6, 1, mai un o wersi dechreu rhai yn Nghrist, oedd athrawiaethau cyfnod cyntaf y gyfundrefn, pan ei gelwid yn Ffydd ar Dduw. Diau na allesid galw athrawiaeth y gyfundrefn, na *chrediniaeth* ychwaith (pe hyny yw y gair *ffydd*) yn ei pherthynas â Christ Iesu, yn wersi dechreu rhai yn Nghrist, ac yn rhai pell yn ol oddiwrth berffeithrwydd. Hyd yn nod ar dymhor gweinidogaeth ein Harglwydd ei hun :—"Bydded genych ffydd Duw" *(pistin Theou)*, oedd ei annogaeth i'w ddysgyblion (Marc 11, 22), canys gweinidog yr enwaediad oedd efe.

"Yn ol yr un gyfundrefn o ras y bu farw yr holl batriarchiaid (Heb, 11, 13), gan ymddiried yn Nuw am ddinas nefol (adn. 16) i'w phreswylio. Hynod yw fod Stuart yn dywedyd, nad oedd cyssylltiad y personau a enwogir yn Heb, 11 â ffydd, yn perthyn i gadwedigaeth eu henaid. Dylasai efe wybod nad ar yr un ammodau o grediniaeth

yn Nghrist â'n hachubiaeth presennol ni, y selid eu cadwedigaeth hwynt.

Nid yw yn ymddangos fod neb o'r cenedloedd wedi eu cauad allan dan y cyfnod cyntaf o'r ffydd, mwy nag yn awr, os nesaent ar hyd llwybr yr oruchwyliaeth; yn wir, o'r braidd nad yw Rhuf. 3, 22, yn profi hyny. Tybiaf yn awr mai y ddeddf oedd yn cau allan y cenedloedd, ac nid y ffydd, canys mae genym sail i gredu fod llawer o addolwyr diffuant gan Dduw drwy holl gyfnod y wleidiadaeth ddwyfol yn Nghanaan, oddiallan i had Jacob.

Ffydd Iesu—Ffydd Iesu Grist—Ffydd Crist—y ffydd yn ei waed ef, a'r cyffelyb, yw teitlau y gyfundrefn dan ei goruchwyliaeth ol-bentecostaidd. Gal. 2, 16, a 3, 22; Eph. 3, 12; Phil. 3, 9; 1 Tim. 3, 13; Rhuf. 3, 22, 26. Gwel ragor ar y pwnc yn yr Esboniad ar y gwahanol adnodau o'r Epistol hwn.

Ymddiriedaeth perffeithiad athrawiaethol y gyfundrefn a roddwyd i Paul, debygid, oddiwrth 1 Tim. 1, 4; Eph. 3, 9; 1 Cor. 9, 17. Cawn yma fod *oikonomia*, goruchwyliaeth arbenig gan Dduw o gyfundrefn y ffydd, yn amser Paul: mai iddo ef y rhoddwyd y gras neillduol dan sylw, yr hwn a gynnwysai bregethu i'r Cenedloedd anchwiliadwy olud Crist; ac yn ail, Peri i bawb wybod pa beth yw cymmundeb â'r dirgelwch fuasai guddiedig yn Nuw o ddechreuad yr oesoedd; sef er pan greasai efe bob peth drwy Grist. Y dirgelwch hwn ydoedd yr holl ras a drysorasid gogyfer â'r Cenedloedd. Dywed hefyd fod goruchwyliaeth wedi ei hymddiried iddo; pa un ai yr oruchwyliaeth, fel yr oedd yn gorff o athrawiaethau newyddion, ynte yr hyn a nodwyd eisoes, nid yw efe yn eglurhau.

V. Ffydd fel cyfrwng.

Dilynir y ganghen hon o athrawiaeth y ffydd, can belled ag ein harweinir gan yr ymadrodd "drwy ffydd," *dia with Genitive*, o fewn ysgrifeniadau Paul. Ystyr yr ymadrodd hwn, yw *drwy ffydd* fel cyfrwng, neu fel moddion, dull, ystad, amgylchiad, a'r cyffelyb. Mae cyfiawnder cyfiawnhaol Duw yn rhedeg i'r byd euog, drwy gyfrwng cyfundrefn y ffydd yn unig, sef fel ei hystyrir yn ei chyfnod dan Iesu Grist. Er fod y gyfundrefn yn cadw dynion er dechreuad y byd, ac er fod gyda Duw Drugareddfa-ŵr, wedi ei osod fel y byddai efe yn gyfiawn tra yn gwneyd felly, ni amlygwyd fod dim ond *trugaredd* yn y cyfryw gadwedigaeth, cyn y cyfnod presennol. Er fod y duwiolion yn cael eu galw dan yr Hen Destament yn *gyfiawnion;* ond gan mai "cuddio eu beiau," "myned heibio i'w hanwiredd," &c., yn unig oedd eu maddeuant hwy, a chan nad oes son fod Duw yn cyfrif cyfiawnder *Crist* iddynt cyn ei gael, nid wyf yn dywedyd dim ar hyny. Cymmaint ag a gawn, yw peidio cyfrif pechod iddynt, a chyfrif rhywbeth yn gyfiawnder i Abraham. Am hyn, Gwel y Traethawd ar *Gyfrifiad.*

Trwy y gyfundrefn hon, fel y mae hi yn gyssylltiedig â gwaed Crist, y rhagosodwyd ef gan Dduw yn yr unrhyw sefyllfa i gyfundrefn y ffydd, ag y gosodasid y drugareddfa i sefyll i gyfundrefn wleidiadol y ddeddf (3, 25).

Trwy gyfrwng y ffydd y cauwyd allan yr holl ymffrost, a ddarllenir

o eneuau saint yr Hen Destament, yn u cyssylltiad ag ammodau gwleidiadaeth; ynghyd ag ymffrost i'r Phariseaid hefyd yn eu cnawdol gyfundrefn hwythau. Yn eu gweithredoedd eu hunain yr ymffrostient, ac yr oedd y cyfundraethau a nodwyd yn caniatau hyny iddynt; ond yma, gras yw yr achos o'r cwbl, a Christ yn ei farwolaeth a'i gyfiawnder, yw yr achos o'r gras. Adn. 27.

Cyfrifid gan Paul (adn. 30) y ffydd fel ffynnonell yn bwrw allan *(ek)* gyfiawnhad i'r enwaediad, canys arferasid dywedyd "*allan o*" *(ek)* am y peth, megys yn Habaccuc, ac ereill; eithr y dienwaediaid "*drwy* *(dia with Gen.)* y ffydd," ebe efe; canys gwyddis *yn awr*, mai Duw *yn Nghrist* sydd yn cyflawnhau, *drwy* y gyfundrefn o ffydd, fel llwybr a chyfrwng. Ond gwel ar yr adnod.

Yn gyffelyb ag y rhyddhäai y ddeddf ei throseddwr yn ngwyneb yr aberth a nodid ar ei rhestr ei hun, felly y rhyddha y ffydd pob troseddwr yn ngwyneb yr aberth a nodir ar ei rhestr hithau (Gal. 2, 16). Arferir yr un frawddeg am y naill gyfiawnhad ag am y llall, ond fod eu seiliau yn wahanol. Mewn troi at y ddeddf a'i haberthau am gyfiawnhad oddiwrth ddrygau *moesol*, yr oedd y bai. Drygau *pendant* yn unig allai hi ddileu Ni ellid drwy gyfraith Moses gael glanhad oddiwrth *bob* pechod: trwy ei waed ef y ceir hyny. Dengys yr *ean mê*— "os nad," os cyfiawnheir dyn yn awr, mai drwy y ffydd hon y bydd hyny. Llwyr brynodd Crist yr Iuddewon oddiwrth, neu allan o, felldith y ddeddf. Gair Paul am y *llwyr bryn*u yw *exogorezo* · ei arferiad a geir yn Gal. 4, 5:—"fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf." Os yw yr holl fyd dan y ddeddf yn yr ystyr yma, pa fodd y gellid dywedyd *llwyr brynodd?* "llwyr brynu pan gredant" ddylasai yr ymadrodd fod. Eph. 5, 16, a Col. 4, 5:—"gan brynu yr amser." Yr ystyr yw rhyddhau a chadw i ni ein hunain, ryw beth neu berson. Yn awr, un o amcanion Crist yn prynu y genedl, neu, o leiaf, y rhai Cristionogol o honi, fel hyn, ydoedd er mwyn cael o'r apostolion a'u canlynwyr, dderbyn addewid yr Ysbryd, sef yr addewid am yr Ysbryd, ag a roisid gan Grist, yn Ioan 16, a'i derbyn hefyd drwy gyfundrefn y ffydd; canys pe drwy arferiad o ryw foddion perthynol i'r ddeddf, y derbyniasid ef, gallasai yr Iuddew ddadlu dros ei wleidiadaeth, mai hi oedd y grefydd ddwyfol; eithr, tra mai drwy foddion apwyntiedig, ac i ddysgyblion, Crist y cyflawnwyd hi, rhaid mai drwy y ffydd y bu, ac nid drwy y ddeddf. Adn. 14.

Diau fod pob creadur yn blentyn Duw o ran *tarddiad*, a bod Israel yn blant Duw fel yr ydoedd dwyreinwyr yn arfer cael eu hystyried yn blant i'w llywodraethwyr; eithr mewn ystyr *grefyddol*, ni bu blant gan Ddnw cyn goruchwyliaeth ragarweiniol teyrnas nef, sef y gyfran berthynol i'r Mab o weinidogaeth yr enwaediad. Mae yr holl Gristionogion, mwyach, yn blant i Dduw. Trwy y ffydd hon, yn ei dadguddiadau gan, ac oddiwrth, Grist Iesu yn unig, y daeth y cyfiawnion i fwynhau y fraint oruchel hon. Gal. 3, 26.

Ffydd yw cyfundrefn cadwedigaeth (Eph. 2, 8). Daw y cadw fel rhodd Duw, drwyddi hi fel cyfrwng cyfundraethol, i'r pechadur. Ceir naill ai y *gras* ai y *ffydd*, pa rai ydynt enwau menywaidd, yn cael ei galw yn *rhodd*, yr hwn sydd yn y canolryw *(neuter)*; neu, fe allai

yr iachawdwriaeth *(soteria)*, yr hyn a gynnwysir yn y gair cadwedig; eithr menywaidd yw hwnw hefyd. Tebycach mai at yr "hyny" *(touto)*, yr hwn sydd ragenw canolryw, y cyfeiria y gair *dôron*, rhodd. Os felly, cadwedigaeth dyn o ras pur drwy gyfrwng ffydd fel cyfundrefn, yw yr "hyny," sef y *rhodd Duw* mewn golwg.

Trwy gyfnod Crist ei hun o'r Ffydd—"ei ffydd ef"—y mae genym ynddo ef yr hyfdra, a'r dyfodfa mewn ymddiried hyderus, ag sy'n arbenig berthynol i Gristionogion, wrth gyfrinachu â Duw, yn rhagor i'r hyn oedd eisoes yn yr eglwys (Eph. 3, 12).

Drwy y gyfundrefn hon yn rhywfodd y gwna Crist ei breswylfa yn ein calonau ni, ac y cyfrenir nerth gan ei Ysbryd ef i'n dyn oddimewn ni (3, 16, 17), nes y byddom o radd i radd felly wedi ein seilio a'n gwreiddio yn nghariad difesur y gyfundrefn, yr hwn a orlifa fynwes Iesu ei hun, fel afon y bywyd, i'w holl eglwys drwy nef a llawr.

Cawn yn Phil. 2, 9, darddiad a chyfryngiad y ffydd ar wahan :—"Heb fy nghyfiawnder fy hun, ag sydd allan o'r *(ek)* ddeddf, eithr yr hwn sydd drwy *(dia, with Gen.)* ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd oddiwrth *(ek)* Dduw ar y ffydd" *(epi. with Dat.)* fel sail neu safon. Wele y cyfiawnder ar y ffydd fel ei sail; sef y cyfnod boreuaf o honi, o debyg; a thrwyddi hi fel cyfrwng neu ammodau, sef, y cyfnod agosach presennol, o debyg; ac allan oddiwrth Dduw drwyddi ac arni felly, fel ei ffynnonell ddechreuol.

Ffydd Duw ydoedd y gyfundrefn dan bob cyfnod; ond gelwir hi dan ei chyfnod penaf presenol, yn "ffydd gweithrediad—nerthol weithrediad *(energeia)* Duw;" a hyny oherwydd iddo osod holl alluoedd y peiriant a elwid Ffydd ar waith, i gael y Mechniydd i'r lan o fedd condemniad, lle yr oedd efe yn gorwedd dan ein trwm dynghedfen ni; ac nid yn unig efe fel person unigol, ond fel gwr cyhoeddus, canys yr oeddym ni oll ynddo, a chydgyfodasom, yn ddiau, gydag ef. Ordinhad yn cyfeirio at hyn yw y bedydd. Col. 2, 12, 13. Methai peiriant y ddeddf byth a chyfodi dyn yn rhydd odditan gymmaint ag un drwg moesol.

Drwy y ffydd fel y mae hi yn Nghrist Iesu, y mae hyd yn nod ysgrythyrau yr Hen Destament yn abl i ddysgu dyn yn ddoeth i iachawdwriaeth, *yn awr*, nad beth oeddynt dan y cyfnod blaenorol; hyny yw, rhaid wrth egluriadau dadguddiol y cyfnod presennol o honynt, cyn y gellir gwybod digon i wynebu ar orchwylion trymach crefydd y cyfnod. 2 Tim. 3, 15.

Pa addewidion bynag a roddwyd i'r cyfiawnion cyn Cristionogaeth, drwy gyfundrefn y ffydd, ac nid drwy y ddeddf na chrefydd naturiol, yr etifeddasant hwynt: dilyn y cyfryw yr ydym ni, can belled ag mai i'r un wlad yr awn. Heb. 7, 12. Yr oedd hyd yn nod cyfundrefn y ffydd yn îs ei safon cyn Crist, nag yw efe ar ol hyny; gan hyny, nid ar y gyfundrefn wladol yn unig y mae yr holl wall am ddialgarwch a rhyfel, canys drwy ffydd y goresgynodd amryw o'r cyfiawnion deyrnasoedd, megys Gideon, Barac, Samson, Jephtha, Dafydd, Samuel, a'r prophwydi —nid yw efe yn dywedyd, "yr *holl* brophwydi," canys gwyddom ninnau am rai o'r cyfryw yn fyr o egwyddorion y ffydd hon, yn ei chyfnod anmherffeithiaf, ac ysgafnaf ei ofynion (Heb. 11, 33). Nod arall ar y lluaws tystion hyn dros sicrwydd y gyfundrefn, yw eu bod yn dysgwyl ad-

gyfodiad gwell i'w cyrff, drwy eu gollwng yn aberthau y ffydd fel merthyron (adn. 35): ac yn mhellach drwy eu cyssylltiad â'r gyfundrefn hon, y cawsant ar ddalenau ei chroniclau air da a chymmeriad parhaol yn eglwysi teyrnas nefoedd (adn. 39). Etto, mae Duw wedi cadw goreuon breintiau, dadguddiadau, doniau, a gwobrwyon y Ffydd fawr i ni. Drwy wrthod dyoddefiadau y gyfundrefn y gwrthodwn, fel oesoedd, y pethau a nodwyd; pa rai, gan hyny, a gedwir i oesoedd dyfodol o blant y deyrnas (adn. 40).

VI. Ffydd yn achlysur, nôd, amcan, a gweithredydd.

Yr ymadrodd arweiniol at y rhan hon o berthynasau y gyfundrefn, yw *pistis in the Dative Case;* sef y gair *ffydd* wedi ei osod yn y fath frawddeg ag, *i ffydd*, a'r cyffelyb. Cyfieithir yr ymadrodd hwn o'r bron yn mhob modd, yn y Testament Cymraeg, Saesonaeg, ac ereill diweddar, yn ol barn y cyfieithydd am yr ymadroddion cylchynol, ac yn aml, yn ol ei gredo ar brif bwnc yr adnod neu adnodau a gynnwysant yr ymadrodd. Mae profion y dosparth hwn o agos berthynas i eiddo yr ail ddosparth.

Gan ffydd ei hunan, heb gymhorth cymmaint ag un o weithredoedd gosodiadol Moses, y cyfiawnheir dyn (Rhuf. 3, 28). Hyn oedd cydbenderfyniad y'r apostolion. Hwynthwy ni phregethent y ddeddf yn foddion argyhoeddiad, nac ofn na chariad Duw. Mae genym ddyfodfa at Dduw drwy Grist fel ein Cyfryngwr; eithr i'r gyfundrefn hon o ffydd y rhoddwyd y ddyfodfa hon; gan y ddeddf nid oedd dim ond ofni; a chrynu, ac ysbryd caethiwed, Rhuf. 5, 2.

Gydag anghrediniaeth y torwyd ymaith y genedl Iuddewig o freintiau addewidiol Abraham; eithr gyda'r ffydd y mae'r cenedloedd yn sefyll yn y cylch perthynol i'r cyfryw freintiau, pen 11, 20; 2 Cor. 1, 24.

Cawn egwan, a chryf, gyda'r ffydd, yn pen. 14, 1, 2, 21, a 15, 1, a 4, 19, 20; sef mwy a llai o betrusdod yn nghylch ei hathrawiaethau, breintiau, neu ddyledswyddau.

Mae y gyfundrefn yn nôd cydymdrech o'i phlaid i'w holl ddeiliaid didwyll, Phil. 1, 27. Eithr elai a gormod o le yn awr i olrhain yr holl brofion hyn: darllener Col 1, 23; Heb. 11, 3, 4—31; a 4, 2, lle gwelir y gellid cyfieithu Heb. 11, 4, &c., "I'r ffydd yr offrymodd Abel"—Gyda'r ffydd—gan y ffydd, y symudwyd Enoc, &c.

VII. Tueddiad neu amcan y gyfundrefn *(pistis eis)*. Gwel yn Rhuf. 4, 5, 9, a 5, 2; Col. 2, 5; Heb. 10, 39. Cyfrifir y ffydd *yn, trwy, at,* gyfiawnder: gyda'r ffydd y daethpwyd *hyd* i'r gras o ddyfodfa at Dduw, a heddwch ag ef: cadarnhau dynion i Grist yw un o'i hamcanion: cadwedigaeth yr enaid yw un arall o'i hamcanion.

VIII. Sefyllfa y Ffydd *(pistis en)*. Gwel 1 Cor. 2, 5; Eph. 1, 15; Col. 1, 4; 1 Tim. 1, 14; 2 Tim. 1, 5. Ceir yma ei bod wedi ei sefydlu yn nerth Duw o ran ei phrofion gwyrthiol—yn Nghrist Iesu, o ran ei hymddiriediad--ac yn y Cristion, o ran ei hegwyddorion a'i theimladau, &c.

IX. Cyfryngau gweithrediadau y gyfundrefn *(pistis dia with Gen)*. Gwel Gal. 5, 6, &c., &c., lle gwelir mai drwy gariad, o ran ei theimlad, y gweithreda, &c.

X. Dyfodiad allan y gyfundrefn *(pistis apo)*. Gwel Eph. 6, 23, lle ceir gweled mai odd wrth Dduw Dad, gyda'r Arglwydd Iesu Grist, y deeth hi.

XI. Goruwch-adeiladaeth y ffydd *(epi pistei)*. Allan o Dduw y tarddodd cyfiawnder cyfiawnhaol, ac ar awdurdod neu sail y gyfundrefn hon y gosodwyd ef i fros (Phil 3, 9). Pwy bynag a'i ceisio, ar ei hammodau, ac yn ol ei rheolau hi, y ceir ef. Gwel hefyd *kata pistin*, "yn ol ffydd," yn Heb. 11, 7.

XII. Gwrthddrych ardremiad y gyfundrefn *(pistis pros, cum Acc.)*. Tuag at Dduw yn unig y mae anneliad pob gras a dyledswydd o'r eiddi, fel myneg-fysedd at yr un cartrefle a chanolbwynt, 1 Thes. 1, 8, &c.

XIII. Meddiannau y gyfundrefn. Yn perthynu iddi, neu yn gyssylltiedig â hi, neu yn gyfran o honi, dywed Paul fod y pethau a geir yn yr ymadroddion canlynol :—Rhuf. 4, 11, 13, a 1, 5, a 3, 27, a 10, 8, a 12, 3, 6, a 16, 26; 2 Cor. 4, 13; Gal. 3, 2, 5, 25, a 6, 10; Eph. 4, 13, a 6, 16; Phil. 1, 25: 1 Thes. 1, 3, a 5, 8; 2 Thes. 1, 11: 1 Tim. 3, 9, a 4, 6, a 6, 12; Philem. 6; Heb. 10, 22, 39, a 12, 2. Cawn o fewn ei pherthynasau hyn, wedi eu cyssylltu â'r gair *ffydd* yn y *Genitive Case*, megys "cyfiawnder y ffydd," "ufydd-dod y ffydd," &c.; hefyd deddf, gair geiriau, mesur, cyssondeb, ysbryd, gwrandawiad, dyfodiad, teulu, undeb, tarian, lledaeniad, llawenydd, gwaith, dwyfroneg, dirgelwch, ymdrech, cymmundeb, hyder cyflawn, Awdwr, Perffeithydd, &c.,—y Ffydd. Ceir cyfleusdra yn aml i dalu sylw manylach iddynt.

Dylesid gwneuthur crynodeb o briodoleddau neillduol y gyfundrefn hon, ar y diwedd; eithr ni byddai hyny namyn ail-adrodd o'r bron y cyfan a ysgrifenwyd arni; canys adroddiad o'i phriodoleddau, allan o'n hapostol, ydyw y cwbl: er hyny. gellid dywedyd mai rhai o'i neillduolion ydyw,—*Tarddiad* hollol o feddwl Duw ei hun, heb un pwnc na changhen pwnc, o ddyfais neb arall—na chynghorfa o neb, pwy bynag. *Meddiant* anghyfranol â neb, o'r *monopoly* o bob peth perthynol i gadw pechadur: ni allai, ac ni cheisiodd, cyfundrefn Sina, gael na rhan na chyfran yn y gorchwyl anhawdd a phwysig hwn; nac un enwaediad, nac un reddfol y natur ddynol, ychwaith. *Cyfansoddiad* yn bur o ras; ac os mynir yn well, o rad ras yn unig. Gras yw ei bod yn *trefnu* dyledswyddau, ac ammodau mor hawdd, i allu o ddyn colledig ddod mewn cyssylltiad â'i goludoedd o ras annhreuliadwy byth. *Effeithioldeb* yn unig drwy waed Iesu. *Ammodau* ei chyfnod blaenaf—Credu yn Nuw a'i drugaredd: dan y cyfnod diweddaf—Credu yn Nghrist fel Ceidwad rhad, galluog, ac ewyllysgar. Gwelwn yn eglur bellach, fod yr apostol wedi eglur brofi, mai ynddi hi, a thrwyddi hi, y mae i'w gael, gyfiawnder cyfiawnhaol Duw i bechadur. Os nad oedd y *Ddeddf* yn gallu cyfiawnhau yr euog o ddrygau moesol, ni allai ennill cymmod Duw, na'i nefoedd ychwaith iddo; yna, ni allai ofyn ufydd-dod mewn golwg ar sefyd dyfodol, na chospi yn yr ystad hòno am ei throseddiadau; yna, nid oedd yn un math o *grefydd;* ac, o ganlyniad, nid taliadau crefyddol oedd ei threthau, degymau, blaenffrwythau, na'i hoffrymau. Beth, ynte, a allai hi fod? Diau mai gwleidiadaeth yn unig. Ond, medd y gwrthddadleuwr, Yr oedd a fynai yn ei holl ranau â Duw. Caniateir hyny; ond, â Duw yn mha berthynas? Hyny yw y pwnc i'w wybod.

Yn awr, gan mai addewidion, bygythion, ac annogaethau, yn dybenu yn angeu, oedd yr eiddi oll, ni allai fod yn ddim mwy ysbrydol a chrefyddol nag y mae ein gwleidiadaeth Brydeinaidd bresennol, er enghraifft; canys onid yw hon hefyd yn gofyn i ni garu, a pharchu, ac ofni yr awdurdodau? Os gwrthddadleuir, nad yw yr eiddom ni yn cospi am ddim meddyliol; atebaf, nad oedd yr un Foesenaidd chwaith. Y swm o'r cwbl, ynte, yw—Mai trefniant gwladol a thymhorol yn unig ydoedd yr hyn a elwid "Y Ddeddf;" mai cyfundrefn y Ffydd yn unig oedd y grefydd ar yr un pryd, Ufydd-dod allanol, "cnawdol," neu gorfforol, oedd dyledswyddau y ddeddf; ond ysbrydol oedd eiddo y ffydd.

Darfydded Ymneillduwyr, mwyach, a chaniatau fod y ddeddf, a'i degymau, a'i hoffrymau, wedi bod yn grefydd unwaith. Profed y sawl a fynant haeru ei bod yn grefydd yn awr, ei bod wedi sefyll yn fath yn y byd o grefydd un amser. Proffesed y sawl a hònant ddegymau yn awr, mai taliadau *gwleidiadol* ydynt, am gyflawni dyledswyddau ac ymddiried gwladol, ac yna cânt ysgrifenydd y Traethawd hwn yn un o'u hochr, ar yr ammod o'i fod yn cael ei argyhoeddi o uniondeb y cydraniad, ac effeithioldeb gwleidiadol y swyddogaeth gyssylltiedig. Gwel hefyd y Traethawd ar *Y Ddeddf*, dan dosran 8.

I ba raddau y gellir dywedyd am y sectau a gymysgant y pethau a nodwyd, a'r cyffelyb, o eiddo y ddeddf, â'r ffydd,—eu bod "yn gwadu y ffydd," sydd destyn cymhwysach, ond odid, i frawdle olaf y gyfundrefn, ac i frawdle bresennol eu cydwybod hwy eu hunain, nag i'r pin sydd yn rhedeg allan y llinellau hyn. Dim ni ddywedaf, yn mhellach na'i fod yn arholiad o bwys nid bychan i'r oes a'r genedl.

---

## TRAETHAWD VII.

### GALWEDIGAETH EFFEITHIOL.

WELE bwnc sydd mewn dadl yn yr oes, ac y mae hefyd ei wadwyr, braidd, yn cynnyddu yn Nghymru. Mae yn y ddadl ddau gwestiwn: Yn gyntaf, A oes galwedigaeth effeithiol neu lwyddiannus i'w chael yn y Testament Newydd? Ac yn ail, Pa un ai Duw ei hun, drwy ryw fodd *neillduol*, ynte y galwedig yn unig, sydd yn peri y gwahaniaeth llwyddiannus hwn?

Edrychwn yn gyntaf i'r gair *galw*: pa air neu eiriau gwreiddiol a geir yn y Testament Newydd am dano? pa dystiolaeth a ddyry yr ymadroddion a'i cynnwysant, i'n cynnorthwyo i ateb y gofynion a nodwyd. Ni wn i am un cynllun sicrach na'r cyfryw olrheiniad, i gyrhaedd adnabyddiaeth o feddwl yr ysgrythyrau ar y pwnc.

"Ni ddaethum i *alw* y rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch," Mat. 9, 13; Marc 2, 17; Luc 5, 92.

"Anfonodd ei weision i *alw* y rhai a wahoddasid," Mat. 22, 3.

"Llawer sydd wedi eu *galw*, &c.," Mat. 20, 16; a 22, 14.

"Yn mysg pa rai yr ydych chwithau yn *alwedigion* Iesu Grist," Rhuf. 1, 6. "Y rhai a *alwyd* i fod yn saint," adn. 7. "Y rhai a *alwyd* yn ol ei arfaeth ef," 8, 28. "Nid llawer o rai galluog a *alwyd*,

1 Cor. 1, 36, &c., &c., &c. KALEÔ yw y gair am *galw*, KLETOI am *galwedigion*, a KLESIO am *galwedigaeth.*

Cyn rhoddi i lawr un gosodiad, olrheiniwn i arferiad y gair KALEO, *galw ar rywun, gyda golwg ar iddo ddyfod neu fyned i rywle.* Arferir (1), Am alw gyda'r llais, megys bugail ar ei braidd, a Christ ar y deuddeg. (2), Anfon am, neu beri i rywun ddyfod, megys Herod yn galw ar y doethion ger ei fron. (3), Galw gyda'r meddylddrych o awdurdod, galw allan, i bresenoldeb barnwr, neu ynad, megys y galwodd y Sanedrim yr apostolion ger eu bron, yn ol Act. 4, 18. (4), Gwahodd, megys i wledd, &c. (5), Galw i sefyllfa neu swydd,—dewis, apwyntio, megys y galwyd Aaron gan Dduw i fod yn archoffeiriad, yn ol Heb. 5, 4. Nid yw yr ystyr o roddi enw ar un, ac o ystyried un yn rhywbeth neillduol, er eu bod yn cael eu gosod ar y gair, yn perthyn dim i'r arholiad hwn, Ond, at y testynau ysgrythyrol:

MATTHEW a MARC yn gyntaf; canys nid yn yr un wlad, nac yn hollol dan yr un cyfnod, graddau o wybodaeth, na brawddegiaeth Gristionogol, yr ysgrifenwyd yr holl Destament.

Mat. 9, 13; dywed Crist mai i alw pechaduriaid i edifeirwch y daeth efe i'r byd. "Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd," oedd yr alwad hon. Un gyffredinol, ac o'r bron yn hollol aneffeithiol ydoedd.

22, 3; anfonodd y meistr, yn y ddammeg, ei was i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas; ac ni fynent hwy ddyfod. Aneffeithiol etto.

Adn. 9; "Gelwch i'r briodas," ebe efe eilwaith. Bu y galw hwn yn effeithiol; ond ai i bob un, nis gwyddom. "Casglasant gynnifer oll ag a *gawsant*," medd yr hanes. Pa un ai "a gawsant i glywed," ai "a gawsant i ufyddhau," nid oes amlygiad. Dyna gymmaint ag a geir o arferiad y gair *kaleo* gan Matthew, yn dangos un ddelw o alwad ddwyfol.

Marc 2, 17; nid yw namyn yr un ymadrodd ag a gafwyd yn Mat. 9, 23. Felly Luc 5, 32.

Arferiad LUC o'r gair.

Pen 14, 16; "Rhyw wr a wnaeth swper mawr, ac a *wahoddodd* lawer." Aneffeithiol fu yr alwad i bob un.

IOAN hefyd,—

Pen. 10, 3; "Y mae efe (y bugail) yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwynt allan." Os ystyrid hwynt yn ddefaid iddo ef cyn y galw hwn, ni all ei fod yn alwad effeithiol ddechreuol.

PEDR sydd hefyd yn ei arferyd:

1 Epist. 1, 15; "Yn ol fel y mae yr Hwn a'ch galwodd chwi yn santaidd, byddwch chwithau, &c." Cyfeirir yn ddiau at Grist; ond, gan mai efe a ystyrir yn gwahodd drwy yr efengyl, ni ellir penderfynu pa ystyr o'r ddwy mewn dadl sydd yma; er y tebygwyf, ar y cyfan, mai yr un lwyddiannus ac achubol.

2, 9; "Fel y mynegoch rinweddau yr Hwn a'ch galwodd, &c." Yma, mae y galwedigion yn "rywogaeth etholedig," a chwedi eu dwyn, drwy yr alwad, allan o dywyllwch i oleuni Crist.

2, 21, a 3, 9, a 5, 10; 2 Pedr 1, 3. Cawn yma yr alwad i amynedd,

a maddeugarwch, tragwyddol ogoniant Iesu Grist, a gogoniant a rhinwedd: oll yn rhinweddau a breintiau y cadwedigion yn unig. Felly arweinir fi i ystyried arferiad y gair *kaleo* yn Pedr, am yr hyn a dybir wrth alwedigaeth effeithiol. Eithr ni chafwyd gwybod pa un ai ar unwaith, ynte drwy gyfres o rasusau ereill, yr ennillwyd y Cristionogion hyn i'r tir a elwir *galwedigion effeithiol* gan Pedr.

PAUL sydd yn unig i'w olrhain mwyach.

Rhuf. 8, 30. Cawn yma mai yr un personau yw y rhai a ragluniodd Duw, ac a alwodd, ac a gyfiawnhaodd, ac a ogoneddodd efe; ac na chollir un o honynt byth.

9, 11. Ymddengys mai rhyw ystyr tebyg i *ddewis* sydd i'r gair yn yr ymadrodd hwn: "Nid o weithredoedd, ond o'r Hwn sydd yn galw." Pa *alw* fu ar Jacob cyn ei eni? Bu *dewis* arno, a dim yn rhagor. Felly adn. 24, lle sonir am alw allan o, o fysg *(ek)* ereill, yr hyn nid yw gwahoddiad cyffredinol efengyl, yn cael ei osod, yn un rhan o'r beibl.

Mae arferiad y gair yn 1 Cor. 1, 9, a 7, 15, 17, 18, 20, 21, 22, 24; Gal. 1, 6, 15, a 5, 8, 13; Eph. 4, 1, 4; Col. 3, 15; 1 Thes. 2, 12, a 4, 7, a 5, 24; 2 Thes, 2, 14; 1 Tim. 6, 12; 2 Tim. 1, 9; Heb. 9, 15, lle cyfeirir at alwedigaeth ddwyfol, yn penderfynu drosom, debygwyf, y pethau canlynol:

1. Y fraint neu ras eu gelwir i'w fwynhau, yw cymdeithas Iesu Grist ein Harglwydd (1 Cor. 1, 9), rhyddid yr efengyl (Gal. 5, 13), gobaith y ffydd (Eph. 1, 4), tangnefedd Duw (Col. 3, 15), teyrnas a gogoniant Duw (1 Thes. 2, 12), cadwedigaeth hyd ymddangosiad Iesu Grist (a 5, 24), iachawdwriaeth drwy santeiddiad yr Ysbryd (2 Thes. 2, 14), i fwynhau gogoniant Iesu Grist, a bywyd tragwyddol (1 Tim. 6, 12).

2. Y dyledswyddau eu gelwir i'w cyflawni, yw heddwch teuluol (1 Cor. 7, 15, &c.), gostyngeiddrwydd, tiriondeb, hirymaros, cariad brawdol (Eph. 4, 1, 2), santeiddrwydd (1 Thes. 4, 7), &c.

3. Y pryd eu galwyd, ac y daethant i gael eu galw yn alwedigion, oedd ar ddechreuad eu crefydd, 1 Cor. 7, 17; pan eu hachubwyd 2 Tim. 1, 9.

4. Trwy ba beth eu galwyd? Gras Duw, Gal. 1, 6, 15.

5. Tarddiad yr alwedigaeth sydd yn ol yr arfaeth a'r gras a roddwyd iddynt yn Nghrist er cyn dechreu y byd, 2 Tim. 1, 9; ac y mae Crist yn Gyfryngwr y Testament Newydd, er mwyn cael o'i alwedigion dderbyn addewid yr etifeddiaeth dragwyddol, Heb. 9, 15,

Y *crynodeb* o'r cyfan yw, mai ystyr y gair yn y rhan hanesiol o'r Testament Newydd yw *gwahoddiad* neu *alwad*, yn ystyr cyffredin y gair gyda ni; ond mai yr ystyr sydd iddo yn ddieithriad, debygwyf, yn yr Epistolau gan Pedr a Phaul, yw *dewis*, galw nes ennill gwrandawiad. Ond, pa fodd yn *offerynol* y gwneir hyny, nid yw y testynau yn ein hysbysu.

Arddengys sylw manwl uwchben yr hyn a olrheiniwyd yma, i'r darllenydd, pa un ai dewisedigion neu alwedigion *am*, ynte *i*, y dyledswyddau a dodwyd, ydynt hwy.

*Galwedigaeth (klesis), a call,* galwedigaeth. Arferir am alwedigaeth i deyrnas Duw a'i breintiau; sef, yr alwad ddwyfol hóno drwy ba un y dygir Cristionogion i mewn i freintiau a goludoedd gras yr efengyl. Ceir yn Rhuf. 11, 29; Eph. 4, 1; Phil. 3, 14; 2 Thes. 1, 11; 2 Tim. 1, 9; Heb. 3, 1; 2 Pedr 1, 10; Eph. 1, 18, a 4, 4; 1 Cor. 1, 26, a 7, 20; lle tystir fod Duw yn sefyll wrth ei chefn yn ddiedifarus; a'i bod yn gyfundrefn o ras a dyledswyddau, i mewn i gylch yr hon y dygir yr holl gadwedigion. Ymddengys ei bod yn cynnwys o'i mewn holl gylch dyledswyddau cyfundrefn y ffydd, dan ei chyfnod presennol. Nid galwedigaeth y ddeddf, nac eiddo cyfnod boreuaf y ffydd chwaith, ydyw. Cyfeirir at alwedigaeth uwch na'r un gadwedigol hon, dan y teitl o "uchel alwedigaeth Duw," yr hon sy'n meddu camp neu wobr arbenig, sef coron merthyrdod ddiysgog, o debyg (Phil. 3, 14). Gwelir oddiwrth 2 Thes. 1, 10, 11, fod gogoneddiad yr adgyfodiad a'r farn yn alwedigaeth neillduol, i'r hon y gelwir ac y deffroir yr holl saint: dylid gweddio am i ni gael ein cyfrif yn deilwng o honi. Nod arall ar yr un gadwedigol yw "galwedigaeth sautaidd," neu neillduedig, gyssegredig, fel pe byddai alwad arall fwy cyffredinol: a phwy a wada hóno hefyd? (2 Tim. 1, 9.) A thebygol mai yr un yw yr hon a elwir yn Heb. 3, 1, yn "alwedigaeth nefol," oherwydd ei bod yn effeithiol lef teyrnas nefoedd, ac nid llef daranawg brenin dwyfol Israel, o ben Sina. "llef yr hwn y pryd hyny a ysgydwodd y ddaear.

Eithr, pa beth a gawn yn 2 Pedr 1, 10? "Byddwch ddyfal i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr." Ai diau fod galwedigaeth ac etholedigaeth y rhai a f'ont yn alwedigion ac etholedigion eisoes, yn ansicr, ar ol y cwbl? Er mwyn cyrhaedd yr atebiad, edrychwn yn fanylach i ystyr y gair *sicr (bebaios).* Pa un ai ar fod y peth yn sicr ei barhad a'i deitl i'r sawl a'i meddo, ynte ar fod y brodyr a annerchid yn sicr o brofion teg o'u cyssylltiad ag ef, yw y pwnc yn yr ymadrodd? Os y blaenaf, mae etholedigaeth galwedigaeth Duw yn cyfnewid eu gwrthddrychau, yn ol ymddygiadau y gwrthddrychau hyn eu hunain. Os yr olaf, y perygl oedd, i'r brodyr dan sylw dybied eu bod o rifedi deiliaid yr etholedigaeth a'r alwedigaeth hyn, a thrwy ddiofalwch yn nghylch y dyledswyddau ammodol, syrthio oddiallan i'r cylch yn y diwedd. Ceir y gair *sicr* yn 2 Cor. 1, 7; Heb. 3, 6, a 6, 19; Rhuf. 4, 16: Heb. 2, 2, a 3, 14, a 9, 17; 2 Pedr 1, 19, am sicrwydd gobaith, llawenydd, addewid i'r had, cyflawniad bygythiad, hyder, testament, prophwydoliaeth. Cawn hefyd fod Crist yn sicrhau ei ganlynwyr hyd y diwedd (1 Cor. 1, 8), a Duw ei hun yn eu sicrhau yn Nghrist. Cyfeirir yn Col. 2, 7, at sicrhau y saint yn y ffydd, heb enwi y gweithredydd yn hyny; ac yn Heb. 15, 9, am sicrhau y galon â gras. *Cadarnhâai* Duw bregethau yr apostolion â gwyrthiau (Luc 16, 20; a sicrhaodd gweinidogaeth Iuddewig Crist yr hen addewidion, Rhuf. 15, 8; a sicrheid hanes pregethau Crist gan y rhai a'i clywsent ef, i Paul a'r rhai ereill nas clywsent ef. Cyna yr holl dystiolaethau anffaeledig dros arferiad y gair *Bebaios*, sicr. Pa un ai sicrhau teimladau neu dybiau eu hunain ac ereill yn nghylch y pethau; ynte sicrhau bodolaeth y pethau eu hunain, yw y meddwl? Tybiaf mai y blaenaf, canys y cyfryw yw arferiad mwyaf cyffredinol y gair; etto,

goddefa, yn ddiau, yr ystyr arall. Ond, trown at yr ymadrodd nesaf: "Canys wrth wneuthur hyn, ni lithrwch chwi ddim byth." Beth yw y llithro *(ptaiō)* hwn? Ceir yn Iago 2. 10, a 3, 2; Rhuf. 11, 11; Deut. 7, 25, oll am lithro bucheddol, a dim unwaith am gwympo o gyflwr neu ystad, yr hyn a'n harweinia at yr esboniad hwnw—mai sicrhau, nid y pethau eu hunain, ond tybiau am danynt, a gobaith ynddynt, a feddylir; canys cyfaddefai adn. 5 eu bod yn *meddu* y ffydd; ond fod arnynt anghen am y rhestr rhinweddau a nodid, ynddi —canys *yn (en)*, ac nid *at*, y ffydd, &c., yw yr ymadroddion, yr hyn a ddengys nad crediniaeth, ond cyfundrefn, yw y *ffydd* yma hefyd. Ac os meddent y ffydd, diau y meddent yr alwedigaeth; a chan mai "y rhai a ragluniodd efe yw y rhai a alwodd efe" (Rhuf. 8, 30), rhaid eu bod o fewn yr etholedigaeth. Felly yr oedd y ddwy fraint yn eiddynt, yn ol barn yr apostol ei hun; eithr mynai iddynt fawr arfer y rhinweddau ereill, ac yna ni lithrent i un ffos byth, yn yr hon y suddent dan ammheuaeth o'u hetholedigaeth, &c. Sicrwydd *tyb*, ac nid sicrwydd *ffaith*, debygwyf, ydoedd. Cymmaint â hyna am yr *Alwedigaeth*.

Galwedigion *(kletoi)*. Ceir yn Mat. 20, 16, a 22, 14, am wahoddedigion anufydd yn unig. Yn Paul, megys Rhuf. 1, 6, 7, a 8, 28; 1 Cor. 1, 2. 24; Judas 1; Dat. 17, 14; yn nghyda Rhuf. 1, 1; 1 Cor. 1, 1, a'r rhai cymharer Gal. 1, 15, diau mai yr ystyr yw *dewisedigion*, yn ol a gafwyd yn rhanau blaenorol y Traethawd. Cyfaddefa Stuart, ac amryw o feirniaid Germani, fod gan Paul a Phedr ystyr gwahanol i eiddo Matthew, a'r efengylwyr ereill, ar y gair: a chan mai olrhain eu hymadroddion hwy, ac nid profi pwnc, oedd mewn golwg yma, nid oes genyf ond ei adael gyda'r darllenydd fel ei cefais. Bydd ambell dduwinydd ieuanc yn brochi, ond odid, wrth ganlyniad yr olrheiniad hwn,—am na orphenodd mewn rhinwedd digymmysg o eiddo yr ufydd yn ei droedigaeth, heb y gras a elwir *galwedigaeth* yn gyd-dymherus fel hyn â'i rinwedd ef; ond pa beth oedd i'w wneyd â'r ddau apostol, —eilwaith? a pha fai—a bwrw un rheswm i ddannedd rheswm arall —all fod mewn gosod sail i'r achubol i ddiolch ddwywaith i ras Duw, yn lle unwaith, am ei waredu rhag uffern, a thrwy ei borthi â gras ar ol gras, a thrwy rybudd ac annogaeth, gadw yn fyw a grymus ynddo, yr egwyddorion â'i harweiniant yn ddiffael i nef y nefoedd?

---

## TRAETHAWD IX.

### Y LLYGREDD GWREIDDIOL.

*Pechod Gwreiddiol Awstin, Calvin, Edwards, Catecism y Gymmanfa, Erthyglau Eglwys Loegr, Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, John Brown, Richard Williams, &c.—Golygfa gyffredinol ar y pwnc —Naturiaeth a Rheswm yn ei wadu.* Rhan I.

Ar ol manwl ystyriaeth o'r llwybr deheuaf i drin y pwnc dyryslyd hwn, bernais mai goreu oedd olrhain i ysgrythyrolrwydd a rhesymol-

deb y tybiau mwyaf cyffredin yn gyntaf, ac ymdrechu at osod i lawr yr hyn a gaf yn ymddangos i mi yn sicr ddadguddiad a ffaith, cyn y diwedd.

*a*), "Ar ol i ddelw Duw ar Adda gael ei llygru, nid efe ei hun yn unig oedd yn dyoddef y gosp, sef fod yn lle doethineb, gallu, santeiddrwydd, gwirionedd, a chyfiawnder, â pha harddwch ei gwisgasid ef, wedi dod i mewn y pläau mwyaf ofnadwy, dallineb, gwendid, aflendid, celwydd, ac anghyfiawnder; ac nid yn unig hyny, ond efe a faglodd ac a foddodd ei holl had gydag ef yn yr un trueni. Dyma y llygredigaeth sydd yn dod drwy etifeddiaeth, ag a alwai yr hen ysgrifenwyr yn *bechod gwreiddiol*, gan ystyried wrth y gair *pechod* lygredigaeth y natur, yr hon o'r blaen oedd yn bur a da."—Calvin *Instit*. ii, 5.

*b*), "Nid drwy ddrygioni oddiallan i ni ein llygrir, ond yr ydym wedi dwyn gyda ni o groth ein mam i'r byd, ddrygnaws planedig yn ein cenedliad, gwadu yr hyn sydd warthus iawn."—Awstin.

*c*), "Disgynasom oll o had aflan, a ganwyd ni i'r byd yn llygredig gan haint pechod; ïe, cyn gweled o honom oleuni y bywyd hwn, yr ydym yn aflan a brycheulyd yn ngolwg Duw."—Calvin.

*d*) "Felly yr ydym yn cael fod aflendid y rhieni yn dod i wared i'r plant, a bod pawb yn ddiwahaniaeth yn aflan yn eu dechreuad. Ond ni chawn afael yn nechreuad yr aflendid hwn, nes myned o honom yn ol at ein tad ni oll,—at lygad y ffynnon Felly gan hyny, yr oedd Adda, unid yn nig yn dad, ond hefyd yn *wreiddyn* y natur ddynol, ac o ganlyniad, yn ei lygredigaeth ef aeth holl ddynolryw yn deilwng lygredig."—Calvin, ii, 6.

*e*) "Pwrcasodd Adda drwy ei bechod, nid yn unig niwed a dinystr iddo ei hun, ond efe a daflodd hefyd ein nhatur i lawr i'r un dinystr."—Calvin.

*f*), "Pa roddion neu ddoniau bynag a welodd Duw yn dda eu cynnysgaethu ar ddynolryw, efe a'u gadawodd hwynt yn ngofal Adda; a phan gollodd efe hwynt, efe a'u collodd drosto ei hun a'i holl hiliogaeth. Allan o'r gwreiddyn pwdr tarddodd allan ganghenau pwdr, ac allan o'r rhei'ny eilwaith flagur pwdr yn barhaus. Nid yn sylwedd y cnawd na'r enaid y mae achos yr aflendid, ond yn ordinhad Duw."—Calvin, ii, 7.

*g*), "*Pechod gwreiddiol yw* y gwyrni a'r llygredigaeth sydd yn disgyn yn etifeddiaethol yn ein nhatur, gan gael ei dywallt ar led i holl ranau yr enaid; yr hyn sydd yn ein gosod yn euog o ddigofaint, ac yn nesaf yn dwyn allan y gweithredoedd hyny ynom, ag a elwir yn yr ysgrythyrau yn weithredoedd y cnawd; a thyna yn briodol ydyw yr hyn a eilw Paul yn aml yn *Bechod*. Y gweithredoedd sy'n cyfodi o hono ydynt odinebau, lladradau, &c. Gelwir hwynt yn bechod, ac yn ffrwythau pechod; ac yr ydym am y cyfryw lygredigaeth yn unig yn cael ein hystyried yn deilwng ddamnedig a chondemniedig gerbron Duw."—Calvin, ii, 8.

*h*), "Nid ydym ni fel rhai *diniweid* yn cael ein condemnio yma, canys y mae'r haint ag sydd yn cael ei ddistyllio o hono ef, yn aros ynom, ac ar hwnw y mae'r gosp yn teilwng aros."—Calvin.

*i*), "Pechod Adda ydoedd y pechod, etto oherwydd y cyfammod, efe a ddaeth drwy genedliad yn bechod i bob un o honom."—Awstin.

*k*), "Mae y babanod wrth ddwyn gyda hwynt eu damnedigaeth o groth eu mam, yn rhwym, nid gan gamwedd un arall, ond gan eu camwedd eu hunain."—Calvin.

*l*), "Nid yw y rhai a ddywedant mai un diffyg o'r *cyfiawnder* gwreiddiol ag a ddylasai fod ynom, yw pechod gwreiddiol, yn cynnwys o fewn eu gosodiad holl rym ac effaith y peth."—Calvin.

*m*), "Nid yw y drydedd bennod at y Rhufeinaid ddim ond desgrifiad o bechod gwreiddiol."—Calvin, ii, 9.

*n*), "Na rwgnached neb, gan ddywedyd, Y gallasai Duw ragweled a threfnu yn

well tuag at ein hiechydwriaeth, drwy wneyd darpariaeth i attal Adda rhag pechu. Heblaw rhyfyg yr wrthddadl hon, y mae ei phwnc yn perthyn i ddirgelwch etholedigaeth ac arfaeth Duw.''—Calvin, ii, 10.

*o*, "Yr wyf yn galw y llygredigaeth hwn yn *naturiol*, rhag meddwl o neb mai drwy ddysg ac arferiad y deillia i ni; canys y mae efe yn dal pob dyn yn rhwym drwy hawl o ddisgyniad etifeddiaethol.''—Calvin, ii, 11.

*p*), "Yr oedd dedwyddwch neu annedwyddwch holl hiliogaeth Adda, yn gystal â'i eiddo ei hun, yn ymddibynu ar ei ufydd-dod, neu ei anufydd-dod ef, Rhuf. 5, 12, a 7, 10; Gal. 3, 10; Eph. 2, 1; Tit, 3, 3; Jer. 17, 9.''—*Cyffes Ffydd y Trefnyddion Calfinaidd, Erthygl* ix.

*q*), "Fel yr oedd Adda yn wreiddyn a chynddrychiolwr dynolryw, y mae ei bechod cyntaf yn cael ei gyfrif iddynt, a'i lygredd yn dyfod i bob un o'i had sydd yn dyfod drwy genedliad naturiol o hono; trwy y llygriad naturiol hwn, y mae holl ddynolryw wedi myned yn analluog, ac yn wrthwynebol i bob daioni, ac yn dueddol i bob drwg: ac o'r anian lygredig hon y mae pob pechod gweithredol yn tarddu, Rhuf. 5, 6; Gen. 6, 5; a 8, 21; Rhuf. 3, 10; Iago 1, 14; Eph. 2, 2, 3: Mat. 15, 19; Iago 3, 2: Rhuf. 7, 14; Diar. 20, 9.——Y mae pechod gwreiddiol, a phob pechod gweithredol, mewn enaid a chorff, yn drosedd o ddeddf santaidd Duw; ac yn dwyn pechadur dan felldith, ac yn rhwym o fod dan ddigofaint Duw, trueni ysbrydol, tymhorol, a thragwyddol, 1 Ioan 3, 4; Rhuf. 3, 9, 19, a 6, 23, a 1, 13: Ioan 3, 36.''—Y *Gyffes*, x.

*r*), "Trwy drosedd yr Adda cyntaf, mae holl ddynolryw, gan eu bod ynddo ef, wedi cael eu dwyn oll dan felldithion y ddeddf, yr hon sydd yn cyhoeddi pob un yn felldigedig nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir ynddi. Ac y maent wrth natur oll yn feirw mewn camweddau a phechodau, yn elynion mewn meddwl drwy weithredoedd drwg, &c., ac yn cyflawn haeddu marwolaeth dragwyddol.''—Y *Gyffes*, xi.

*s*), "Drwy osod Adda yn rhwymedig dros ei holl hiliogaeth, cafwyd y ffordd fyraf a sicraf o ddiogelu eu dedwyddwch, na bod i bob un fod yn rhwymedig drosto ei hun; oblegid wedi i Adda unwaith gwblhau ei ufydd-dod, ni allasai un o'i hiliogaeth byth gwympo: ac yr oedd ganddo, nid yn unig barch priodol i'w ddedwyddwch ei hun, ond hefyd ofal tadol am ei holl had naturiol, i'w rwymo i ufydd-dod.''—John Brown, *Cat.*, *Gof.* 12.

*t*), "Gan fod y cyfammod wedi ei wneuthur ag Adda, nid yn unig drosto ei hun, ond hefyd ei hiliogaeth; holl ddynolryw, yn dyfod oddiwrtho ef drwy genedliad naturiol, a bechasant ynddo ef, ac a syrthiasant gydag ef yn ei drosedd cyntaf, i gyflwr o bechod a thrueni, yn yr hwn cynnwysir euogrwydd pechod cyntaf Adda, diffyg o gyfiawnder gwreiddiol, a llygredigaeth yr holl natur, fel y maent dan ddigofaint Duw a'i felldith, wedi eu darostwng i bob trueni yn y byd hwn, i farwolaeth ei hun, ac i boenau uffern yn dragywydd.''—*Catecism Byraf y Gymmanfa Bresbyteraidd.*

*u*), "Cwympodd holl hiliogaeth Adda gydag ef, am bechu o honynt ynddo ef yn ei drosedd cyntaf: mae pechod a thrueni y cwymp hwn yn helaeth, ac yr ydym wedi ein sicrhau ynddo, gan fygythiad y cyfammod toredig, a naturiaeth pechod. Trosglwyddir y pechod hwn i ni gan ein rhieni o Adda, ac y mae genym er pan beichiogwyd arnom, yn ffynnonell pob pechod gweithredol. Cynnwysir mewn tair rhan; euogrwydd peched cyntaf Adda, sef pechod gwreiddiol cyfrifol; y diffyg o gyfiawnder gwreiddiol, a llygredigaeth ein holl natur, sef pechod gwreiddiol greddfol. Mae Duw yn awr, fel Barnwr cyfiawn, yn attal y cyfiawnder gwreiddiol hwn wrth greu ein heneidiau, fel cosp am bechod cyntaf Adda, cyfrifedig i ni. Mae deddf Duw yn gofyn cyfiawnder gwreiddiol, dan boen o'i ddigofaint tragwyddol, hyd yn nod pan na all dyn ei roddi iddo; canys bai y dyn ei hun oedd ei golli. Na ddyweded neb mai Duw sydd yn planu y pechod gwreiddol greddfol ynom, canys tarddu y mae o'r pechod gwreiddiol cyfrifol, drwy genedliad naturiol. Hefyd yr ydym yn y cwymp wedi ein dwyn dan ddigofaint a melldith anwrthwynebol, anoddefol. anocheladwy, nerthol,

gwastadol, cyfiawn, a thragwyddol Duw; ac ymerys felly ar ein personau, ein henwau, ein heiddo, a'n gweithredoedd."—John Brown, *Gof.* 16, 17, 18, 19.

*v*), "Ni ddadguddiodd Duw un ffordd i gadw dynion, hen nac ieuainc, ond drwy faddeuant; ac y mae maddeuant bob amser yn rhagdybied trosedd. Gan hyny, pan y mae babanod yn cael eu cadw, y maent yn cael hyny drwy faddeuant, ac os felly, rhaid fod y maddeuant hwnw yn eu cael yn droseddwyr; a'r unig drosedd y gallant fod yn euog o hono yw pechod Adda. Ac, onid pechod Adda yw yr achos o fod dynion yn cael eu goddef i syrthio i bechodau ag sydd yn tynu dinystr arnynt hwy a'u plant? Gan fod yr halogrwydd a'r euogrwydd a'u gafael yn mhob dyn o'r foment gyntaf o'i hanfodiad, ni welaf ddim anmhriodoldeb i gymmeryd y ddau i mewn dan yr enw *pechod gwreiddiol*. Dywed y Calfinist wrthyf fy mod wedi dyfod i'r byd yn euog, hyny yw, yn rhwym i gosp dragwyddol. Nid y cyfrifiad yw yr achos o fod pechod Adda yn eiddom ni; ond oblegid ei fod yn eiddom ni mor wirioneddol a phe buasem ni wedi ei gyflawni yn ein personau ein hunain, am hyny y mae yn cael ei gyfrif i ni gan Dduw. Rhoddi anghyfiawnder yn erbyn Duw fyddai dywedyd ei fod yn cyfrif pechod lle nid yw. Mae pob dyn wedi dinystrio ei hun yn Adda, ond fe ddinystriodd Adda ei hun a'i holl hiliogaeth."—*Y Pregethwr a'r Gwrandawr, tudal.* 60, 64, 66, 67, 70.

*w*), "Pechod Adda yn gyfrifol yw yr achos fod dynion yn cael eu geni gyda phechod gwreiddiol *tumewnol*; hyny yw, llygredd gwreiddiol; a thyna y gosp a osodir arnom am bechod Adda ag a gyfrifir i ni."—Turretin.

*x*), "Canlyniad o bechod Adda yw y llygredd naturiol mewnol sydd ynom; a gosodir hwn yn ein herbyn ni fel yn bechod."—Calvin, Edwards, Stapfer.

*y*), "Mae undeb anianyddol ac ysbrydyddol (*physical and psychological*) rhwng Adda a'i holl hiliogaeth; a thyma yr achos o'r llygredd naturiol, yr hwn pan gyntaf y dechreuo, a gyfrifir yn bechod yn ein herbyn, ac am hyny sydd gospadwy, ar dir cyfraith, a niweidiau tymhorol a thragwyddol."—Edwards.

*z*), "Cosp ydyw o'r dechreuad, a hyny oherwydd bod pechod Adda yn cael ei gyfrif i'w hiliogaeth,"—Turretin.

*aa*), "Cyffelyb yw ein cyssylltiad hwn ag Adda i gyssylltiad y pren a'r canghenau." —Edwards.

*bb*), "Mae yr holl weithredoedd a gyflawnir gan ein priodol natur (*de notre propre nature*) yn ddrygionus ynddynt eu hunain. Cyn i Dduw ein derbyn i'w ffafr, ni allwn beidio pechu, fel y mae pren drwg o angenrheidrwydd yn dwyn ffrwyth drwg." —Erthygl y *Walloons*, neu Brotestaniaid Ffrainc.

*cc*), "Yr ydym yn hollol analluog i ddim daioni: a chospir ni gan Dduw am ein pechod gwreiddiol a gweithredol, mewn amser a thragwyddoldeb."—*Heidelburg Confession.*

*dd*), "Nid yw pechod gwreiddiol yn sefyll am ddilyn *Adda* (megys yr ofer siarad y Morganiaid), eithr bai a llygredigaeth pob dyn ydyw a'r a genedlir o hil Adda, trwy yr hyn y mae dyn wedi myned yn dra phell oddiwrth gyfiawnder *gwreiddiol*, ac yw o'i naturiaeth ei hun a'i ddychwant ar ddrygioni, megys y mae'r cnawd bob amser yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd; ac am hyny yn mhob dyn a enir i'r byd hwn, a haeddai ddigofaint Duw a damnedigaeth. Ac y mae'r llwgr natur yma yn aros, ïe, yn y rhai a adgenhedlwyd."—Eglwys Loegr, *Erth.* ix.

*ee*), "Nid yw y gweithredoedd a wneler cyn (cael) gras Crist, ac ysbrydoliaeth ei Ysbryd ef, yn boddloni Duw, yn gymmaint ag nad ydynt yn tarddu o ffydd yn Iesu Grist; ac nid ynt ychwaith yn gwneuthur dynion yn addas i dderbyn Gras."—Eglwys Loegr, *Erth.* xiii.

Nid wyf yn gallu dirnad fod nemawr wahaniaeth rhwng y naill a'r llall o'r awdurdodau hyn, ac am hyny y rhestrwyd hwynt gyda'u gil-

ydd. Eithr, gwell yw gosod y tybiau hyn mewn trefn yn gyfochrog â'u gilydd, a dilyn ar hyd eu grisiau, y pechod ei hun o Adda ar y dechreu hyd i'r pechadur colledig o'i lwynau, yn y golledigaeth dragwyddol; a siomir fi yn fawr, os nad yw y credo hwn yn sicrhau damnedigaeth pob dyn, trosedded efe neu beidied, mewn amser.

Gan nad oes gwahaniaeth rhyngom oll fel dynion, cymmerer CAIN, er enghraifft, a chymhwyser ato ei berthynas a'i dad Adda, yn ol y golygiadau hyn; a'r pechod gweithredol, am ba un yr ydym yn gwrando ar Dduw yn ei farnu, gaiff fod *llofruddiad Abel* ei frawd.

BARNWR.—Mae Abel dy frawd? Onid tydi a'i lleddaist ef? Pam y llofruddiaist dy frawd?

CAIN.—Gofyn i Adda fy nhad, a ŵyr efe pwy a hauodd hadau llofruddiaeth ynof; pwy a'm cenedlodd yn amddifad o'r cariad brawdol oedd yn nelw Duw, ac yn ei le yn gyflawn o gelwydd, a gwendid yn ngwyneb temtasiwn? pwy a'm maglodd â maglau llofruddiaeth, ac a'm boddodd yn mhwll llofruddiaeth, er pan yn nghroth fy mam? Gofyn i'm tad pa waddol a adawodd efe yn gynnysgaeth i mi, yn ystorfa fy enaid? ïe, myn wybod, onid llofruddiaeth oedd ei etifeddiaeth ef i mi? Mae Abel wedi ei ladd! Hyn nis gallaf fi ei wadu. Myfi yw ei leiddiad; hyny nis gwadaf ychwaith; ond am ei *lofrudd*, pwy ydyw hwnw, sydd bwnc arall. Beth a ddysgwylid oddiwrth lofruddiaeth yn ei had, ond llofruddiaeth yn ei bren? oddiwrth fagl llofruddiaeth, heblaw ffos llofruddiaeth? oddiwrth foddfa yn nghanol naws llofruddiaeth, yn amgen nag ymorweddiad tawel ar y gwaelod? Cymharer Calvin *(a) (c)*.

B.—Ond dy ddrygioni di ydoedd tyfu yn ol yr had, pan y gallesit yn hawdd beidio.

C.—Pa beth a dderbyniodd fy mrawd genyf heblaw a dderbyniais innau yn nghroth fy mam? Ai gwaeth oedd fy nrwg-weithred i na'r drwg-naws hwnw? Gosoder fi yn ochr yr hwn a'm cenedlodd mewn drygnaws. Gosoder fi, yr hwn a yspeiliodd ei frawd o ychydig flynyddau o amser, yn ochr fy nhad, yr hwn a'm hyspeiliodd i o holl ddelw Duw. Gosoder ef, gan hyny, yr hwn a laddodd fy nghorff a'm henaid i byth, yn ochr ei fab, yr hwn ni wnaeth namyn lladd corff ei frawd yn unig. Ond, a allwn i beidio tyfu yn ol natur yr had? A allodd un pren naturiol na moesol wneyd felly? A fuasai tyfu yn hollol annaturiol i'r had, pe gallaswn, a phe gwnaethwn—yn beth da? Onid annaturiol fuasai? Ac onid yw croesi natur yn annhrefn? Ac onid oes trymach cyhuddiad yn fy erbyn, nag am beidio cynnyrchu ffigys per, a mi o naturiaeth onest yn ysgallen?—a ddemni di dy greadur am byth, am ddim ond peidio dwyn afalau, ac yntau o hyd yn ddim ond perth o ddrain? Pwy erioed a losgodd ddraenen am beidio dwyn afalau? Pwy a daflodd i'r tân ysgallen wael am beidio cynnyrchu ffigys? Beth, a fynit ti fedi lle nis hauodd dy arddwr dy hunan ddim? ïe, a fynit ti ei ymddiried ef yn unig hauwr, ac yn y diwedd, am gamsynied o hono ef, a hau ysgall yn lle ffigys, a ddigi di wrth yr ysgallen, ac a dewi di a son yn nydd dy ddigter, am ddim ond drygioni yr ysgallen? Os cyfiawn wyt, tro at yr hwn a'm hauodd, a bwrw arno ef yn unig benyd yr ysgall oll. Pes hauasid fi yn ffigysbren, a phe

tyfaswn gwedi hyny yn ysgallen, gallaswn ddeall fy mai, a chywilyddio drosof fy hun, a chyfiawnhau dy ddedfryd dithau. Ond fel y mae, deall nis gallaf, Cyn fy mod y gwnaed y camwedd. Myfi nid wyf yn cofio dim, ond mai myfi oedd Cain lawn o hadau llofruddiaeth fel drygau ereill; a dim ni ddygwyddodd yn awr, ond yr hyn oedd yn hollol naturiol i'w ddysgwyl. Cymharer Awstin *(b)*.

B.—Yr ydwyt yn anghofio mai dy dad dy hunan ydoedd Adda, mai dyrchafiad iddo ydoedd yr ymddiried a roddais arno, fod ynddo gymhwysder i sefyll, ac i'th gynnal dithau i'r lan gydag ef; a darfod i mi osod gorchymyn digon ysgafn o'i flaen, gwobr a chosp yn ei ymyl yn nglyn â'r ammod; ac i mi, mewn gair, ei lenwi a'm delw santaidd, gyfiawn, doeth, a da fy hun, a symud pob tramgwydd oddiar ffordd ei gyfrifoldeb, er mwyn iddo sefyll; ac am hyny, gan mai i lawr yr aeth, nid arnaf fi, yn anad neb, y mae y bai yn aros am hyny. Pe le addasach i Greawdwr cyfiawn osod dy dynghed arno, nag ar ysgwyddau dy dad santaidd dy hun? Onid wyt yn barod i gyfaddef uniondeb y gosodiad, a mawr drugaredd y drefn?

C.—Pwy a greodd yr had dynol? pwy a'i gosododd oll ar unwaith yn y llestr glân hwnw? A wyddai rhywun mai cwympo i wared i'r dom a wnelai y llestr? Ie, a wyddai perchenog yr had am yr anffawd dyfodol hwnw? Gan mai efe oedd piau yr had, diau fod hawl ganddo i'w osod yn y llestr a fynai; ond, a oedd ganddo hawl i'w osod mewn llestr, am yr hwn y gwyddai efe yn sicr, mai cwympo i'r llaid a wnelai efe? ac a oes ganddo hawl i alw y trefniad hwn yn un uniawn; ac os yn uniawn, a yw efe yn ddoeth; ac os yn ddoeth, a yw efe yn *dda* —yn dda i'r had ag a gondemnir byth; ie, y daioni penaf hefyd? Ai cyfiawn cospi yr had am gamwedd y garddwr? Ai uniawn i foneddwr edliw i'r planigion gamweddau ei arddwr, yr hwn a ddewisasai efe ei hun?

Ond, am Adda fy nhad, fy ngwreiddyn, fy mhen-cyfammodwr, ffynnon fy llofruddiaeth, hauwr fy nrygau, llygwr fy nynoliaeth;—nad pa ddyrchafiad ydoedd y drefn hon iddo ef, gwyddit mai codwm yn unig, fyddai i mi; ac os gollyngaist ef o'th law a chymhwysder ynddo i sefyll, mai fy ngollwng i o'th law a chymhwysder ynof i syrthio, a wnaethost; ac os oedd dy orchymyn yn ysgafn iddo ef, oedd a'th ddelw arno, mai trwm ac anorfod yn wir oedd dy orchymyn i mi, oedd â delw llofrudd arnaf; ac os gosodaist ef yn uniawn a syth i wynebu ar y bai, heb un gogwydd ynddo ato, paham na chawswn innau fy ngadael felly, heb un gogwydd ynof at ladd fy mrawd? paham fy ngogwyddo gymmaint at lofruddiaeth, ag yw gogwydd had at dyfu yn bren unrhywiog ei natur; ag yw gogwydd dyn a dafler i bwll, at aros ynddo; ag yw gogwydd deilen a syrthio oddiar y pren, i aros ar y llawr yn lle dringo yn ei hol; ag yw gogwydd dwfr i redeg ar i wared o'r ffynnon i'r môr? Os gwyddit yn berffaith ar y fynyd mai pechu a wnelai fy nhad dan holl fanteision dy ddelw, pa fodd yr wyt yn dysgwyl i mi ymddwyn yn well, ar ol trefnu yr hyn y gwyddit a'm hyspeiliai o'r ddelw hóno? Tra yn gwybod fod hyd yn nod y ddelw *hòno* yn rhy egwan i gadw dyn oddiwrth bechod, paham na chynnysgaethasit ni, y ha oedd yn dyfod ar ei ol ef â graddau helaethach o'th ddelw? ie,

os am drefnu y modd goreu at ein cael i beidio lladd ein gilydd yr oeddit, paham ein hamddifadit o'r ddelw oedd ar ein tad, a threfnu ein tynghedfen ar lwybr gwybyddus i'n dwyn oll i'r byd ar ddelw diafol llofruddiog yn unig?

'Diau nad arnat ti y mae y bai am fyned o'm tad *Adda* i lawr; ond ar bwy y mae y bai am fyned o honof fi, *Cain*, i lawr? Pwy a'm gosododd i ynddo ef i gadw? Ai call oedd hyny? Ai doeth oedd y drefn sydd wedi gosod ymresymiadau esgusodol fel hyn yn ngenau llofrudd? Onid doethach fuasai gadael pob dyn at ei ryddid, i gylymu ei hun â naws, ac â hadau, ac â llygredd pechod, neu beidio? Pe lluniesid fi yn hollol wag o bob tueddiad at ddrwg na da, ae yna gosod annogaethau o'm blaen, dewisaswn y naill neu y llall; ac yn awr, os llofruddiaeth fuasai fy newisiad, buasai genyt resymau yn fy erbyn, a buasai raid i minnau fyned yn ddiesgus ac yn fud. Ond, yn awr, yn lle uniondeb â mi, cam dirfawr ydoedd y cyfammod hwn: yn lle trugaredd, creulonder pur ydoedd. Tydi, O Farnwr Hollwybodol, a wyddit mai fy ngosod mewn llong a sicr suddai yr oeddit; ae etto, fy ngosod ynddi a wnaethost! Aeth y llong yn ddrylliau fel y tybiaist yr elai; ac er fod bai ar y llywydd, ai tydi, yr hwn a'i hymddiriedaist, sydd yn fy nghondemnio i, yr hwn a osodaist ar ei bwrdd, am foddi? ac wrth sefyll i fyny i'm condemnio felly, ai cyfiawnder y gelwi dy waith? ac ai trugaredd y cyfenwi y gorchwyl o ymddiried fy mywyd tragwyddol mewn cyfammod, yr hwn, o'm rhan i fy hun, na allai lai na'm damnio byth! ie, ai trugaredd yn ddiau oedd ymddwyn fel hyn tuag ataf, pan oeddwn heb agoryd fy llygaid yn fy mabandod, ac mewn diniweidrwydd hollol, heb ddrwg-dybio dim?'

Ond, i adael Cain gyda hyn, *pa beth*, mewn ffaith, *yw* yr hyn a eilw y Beibl yn *bechod?* Paham nad yw y lloerig a'r baban yn gallu ei gyflawni? Onid oherwydd y rheol uniawn hóno;—Lle nid oes deddf, nid oes gamwedd? Onid yw yn rhaid i ddyn fod yn rhydd i wneyd y weithred neu beidio, *yn gyntaf;* ac yn gwybod, neu o leiaf, yn gyfleus i gael gwybod am ei rwymedigaeth i'w chyflawni, *yn ail;* ac yn esgeuluso ei chyflawni dan yr amgylchiadau hyn, *yn drydydd*, cyn y gall efe fod yn euog o bechod? Onid yw yr hwn a wado hyn yn gwadu safon moesoldeb cyffredinol? Ac yn awr, pa beth yw "llygredigaeth y natur" *(a)*, y "drygnaws planedig yn ein cenedliad" *(b)*, "yr had aflan," "haint pechod" *(c)*, "yr aflendid disgyniadol," "y llygredigaeth gwreiddiol" *(d)*, "y taflu natur i lawr" *(e)*, "y gwreiddyn pwdr" *(f)*, "y gwyrni etifeddiaethol" *(g)*, "yr haint distylliedig ynom" *(h)*, "damnedigaeth croth y fam" *(k)*, "diffyg cyfiawnder gwreiddiol" *(l.)*, "llygredigaeth naturiol" *(o)*, *(q)*, "tuedd i ddrwg," "anian lygredig" tarddiad pechod" *(q)*, "cyflwr o bechod" *(t)*, "ffynnonell pechod," "pechod gwreiddiol greddfol" *(u)*, "maddeuant croth y fam," "halogrwydd cenedledig," a lliaws o'r fath ymadroddion? Pa un ai am haeru fod dynolryw yn rhydd i wneyd y pechod dan sylw neu i'w beidio, ynte am haeru y gall dyn bechu drwy orfod, y maent? ie, pechu cyn ei fod, a phan nas gallasai wybod am ei rwymedigaeth!

Ond awn â'r pwnc at fainc un o'n llysoedd sirol am gyfiawnder arno. Wele y troseddwr wedi ei gael yn euog, fe allai, o lofruddiaeth; a

thyna y barnwr yn myned i gyhoeddi y ddedfryd arferol o ddienyddiad arno. Yna wele ei gymmydogion yn cyfodi i ddadlu dros ei fywyd. Tystia y naill fod rhywbeth yn y carcharor er pan aned ef o natur lladd dynion, a'i fod yn euog o geisio lladd ei hun yn gymmaint a neb arall. Arall a dwng fod y ddrygnaws ynddo o groth ei fam, a'i fod fel had llofruddiaeth ynddo oddiwrth ei rieni. Cyfyd y trydydd i fyny, gan ddywedyd ei fod ef yn adnabod y teulu er ys blynyddau, a bod y gwyrni a'r llygredigaeth a nodwyd yn y carcharor yn etifeddiaethol, a'i fod ef yn sicr nad oedd dim llofruddiaethol ynddo heblaw hyny. Y pedwerydd yntau yn eofnach etto, a dystia fod natur y teulu ynddo o'r dechreuad, fel pe wedi ei ddistyllio drwyddo, a bod raid mai drwy genedliad y daeth efe yn llofrudd, a'i fod ef yn gwybod iddo gael y duedd o groth ei fam.

Y barnwr a ofyn mewn syndod, Onid drwy esiampl ac arferiadau ei rieni, ynte, yr aeth efe yn llofrudd naturiol fel hyn? Hwythau a gydatebasant; "Nage, ar un cyfrif. Yr oedd ynddo yn llofruddiaeth greddfol, pe na buasai na dylanwad nac esiampl yn ei gyrhaedd byth. Yr oedd mor hollol lofrudd yn bum mlwydd oed ag yw efe heddyw, o ran greddf ac anian, a gallasai y gyfraith afael yn ei fywyd hyd yn nod cyn hyny."

Yna y barnwr, gan sefyll i fyny a ddywedodd, "Paham y dygasoch y fath wrthddrych ger fy mron i? Ewch ag ef i'r gwallgofdy. Mae efe islaw cyfraith a chyfrifoldeb."

Awn ag ef, ynte, at ddrws trugaredd Duw yn Nghrist. Gwrandawer arno yn cyffesu ei edifeirwch am ei holl bechodau:—"Myfi a bechais, ac a droseddais dy reolau uniawn di: mi a wnaethum yr hyn oedd yn naturiol i'w ddysgwyl oddiwrth ddeiliad y cyfammod gweithredoedd toredig; hadau celwydd ac aflendid, pa rai a gefais yn fagur cryfion yn fy nwydau, a dyfasant fel yr oedd naturiol, yn fy mucnedd. Lladdwyd fi gan haint pechod, yr hwn a gefais o groth fy mam; ac yr wyf drwy y llygredigaeth hwn yn teilyngu dy ddigofaint di; ac y mae dy gospedigaeth yn teilwng aros ar yr halogrwydd naturiol hwn, &c." Ond digon bellach o'r hyn nad yw namyn gwawdio gwir gyffes pechadur edifeiriol: ac etto, gwel y darllenydd nad oes ynddi mo hanner yr hyn a allesid ei grynhoi allan o'r dyfyniadau blaenorol. Yn awr, a allai Duw ganiatau maddeuant i'r fath edifeirwch â hwn? Os gallai efe, yna dylai ei ganiatau i bob dyn, canys dichon pob dyn ei gyffesu, os gwir y pwnc. Nid oes raid i neb syrthio arno ei hun mewn dim: ac am hyny, dylai pob un a gondemnio ddigon ar Adda, a'r afon o lygredd sy'n dylifo o hono, gael y maddeuant yn y fan. Eithr, onid oes anghen am benderfynu diwygio yn edifeirwch y beibl? ac os cwympo ar y bai personol yw y cam cyntaf o hwnw, nid edifeirwch ydoedd hwn. Gwelwn nad oes neb o'r sawl a gredant yr athrawiaeth hon o bechod gwreiddiol, yn meiddio ei phledio gerbron Duw, fel y plediant gerbron dynion. Mae hi ynddi ei hunan yn ddigon i ddyrysu egwyddorion gorsedd barn a gorsedd gras, fel eu gilydd. Mewn gair, nid oes bechadur ond Adda, canys pechodd efe ddigon i ddamnio y byd i gyd! Gwelwn, o'r ochr arall, mor annhebyg i'r un

uchod yw cyffes y gwir edifeiriol:—"Myfi a bechais, ac a dr seddais dy reolau uniawn di: mi a wnaethum o'm bodd yr hyn oedd annaturiol i'w ddysgwyl oddiwrthyf. Yn mhwy bynag yr oedd hadau pechod, pechu heb y fath annogiad cryf arnaf a wnaethum i. Dewis pechu pan yr oedd mor hawdd, a llawer mwy hawdd ond ystyried, i mi beidio a wnaethum. Genyf fi nid oes un esgus i'w fwrw ar fy nghenedliad, na'm naws, na'm gwreiddyn, na'm ffynnonell. Cefais i fodolaeth ag a'm gadawodd yn hollol rydd a hawdd i beidio pechu, pe mynaswn. Am fy ngwaith a'm dewisiad ynfyd, drygionus, a gwarthus fy hun, yr wyf yn cywilyddio, yn edifarhau, yn addunedu ymddiwygio, ac yn erfyn maddeuant." Dyma bechadur ar lawr yn deg, yn y llwch a'r lludw yn hollol; ac aiff hwn i wared i'w dy wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall.

Mewn perthynas i olygiad Edwards, ein bod yn un ag Adda mewn ystyr anianyddol neu ysbrydyddol, gellir yn rhwydd ofyn: pa fodd, gan hyny, y gallwn fod yn wahaniaethol oddiwrth ein gilydd? A ydym ni yn sefyll yn fwy ar wahan oddiwrth ein gilydd nag oddiwrth Adda? Ond beth hefyd am ffigiwr y pren a'r canghenau? *(aa)*. Oni raid fod y brigyn uchaf mewn nes cyssylltiad â'r brigyn agosaf ato nag â'r gwreiddyn? ac a yw efe yn derbyn deddfau ei natur yn fwy oddiwrth y gwreiddyn, nag oddiwrth y ganghen gyssylltiedig odditano? Gellid gofyn hefyd, A oes deddf wahanol a chroes rhwng y canghenau a'u gilydd, i'r hon sydd rhwng y canghenau a'r gwreiddyn? A all y gwreiddyn gyfranu ei nodd neu naws i'r ganghen uchaf, heblaw drwy gyfrwng y ganghen sydd yn îs na hi?

Dywed Edwards ddarfod i ni gael treial mwy ffafriol yn mherson Adda nag a gawsem yn ein personau ein hunain. Mae hyn yn cynnwys fod *sicrwydd* mai i lawr y cwympasem oll, ac i lawr i rywle yn ddyfnach nag yr ydym—yn ddyfnach na "damnedigaeth," mae'n debyg! Efe a ddywed fod y ffaith o fod pawb yn pechu, yn *profi* llygriad gwreiddiol; ac ar yr un pryd, dywed mai pechu a wnaethai pawb, pe gadawsid yn Eden drostynt eu hunain, oddiallan i Adda. Gan hyny, os profa ein pechodau gweithredol ni yn awr, fod llygriad o Adda yn eu hachosi, profasai y pechodau hyny nad oedd eisieu llygriad o unman i'w hachosi hwynt; a thyna Edwards ei hun wedi caniatau yr hyn sy'n dileu sail y llygredd gwreiddiol. Ie, buasem oll yn fwy anffodus ein sefyllfa nag yr ydym yn awr, medd efe. Eithr, yr ydym *yn awr*, medd efe, dan ddigofaint Duw, ac yn sicr o gyrhaedd y trueni, onis achubir ni drwy waith Ysbryd Duw. O ganlyniad, rhaid y buasem yn pechu yn fwy ysgeler nag y pechodd Adda; sef yn pechu yn fwy ysgeler pan heb anian lygredig, nag yr ydym yn awr gyda hi! A chan y gellir credu fod Adda wedi pechu mor fawr, heb ynddo anian lygredig cyn hyny; a chan y gellir haeru mai pechu yn fwy a wnaethem ninnau, pe gadewsid bob un fel yr oedd efe, heb anian lygredig ynom; pa eisieu sydd, yn enw pob rheswm, i son fod ein pechodau ni oll yn awr yn profi y *rhaid* fod anian wreiddiol ddrwg ynom? Os cyflawnwyd y pechod cyntaf *heb* un gronyn o lygredd gwreiddiol, heb un rhithyn o "ddrygnaws croth y fam," heb gymmaint â'r mwstard

bach o "had aflan," heb y naws lleiaf o "haint etifeddiaethol" mewn un defnyn o'r gwaed, nac un gynneddf o'r enaid, heb un "tuedd gwreiddiol ddrwg," na "phechod gwreiddiol greddfol," na "gwyrni tynghedfenol," na dim ond—*ond pa beth?* Nis gwn a allaf feiddio ateb yn ngeiriau y gredo hon ei hun :—dim ond gwybodaeth, a chyfiawnder, a gwir santeiddrwydd! Yn awr, os cyflawnwyd y pechod cyntaf—os oedd mor hawdd i bechod dyfu heb had iddo y pryd *hyny*, paham nad yn *awr* yn ogystal? Rhaid i bawb gyfaddef na wyddis yn y byd pa bryd y dechreuodd un o honom bechu, ond yr Adda hwn; nas meddwn y fantais o dystiolaeth gredadwy am y modd a'r sut y dechreuodd pechod ennill tir yn nwydau a serchiadau cymmaint ag un dyn, ond efe. Am dano *ef* yn pechu, gwyddom ei gyflwr a'i amgylchiadau cyn hyny, ac yn ngwyneb hyny, ac ar ol hyny. Os ar ffaith adnabyddus y mae athronwyr yn adeiladu eu deddfau am weithrediadau y peth, paham nad ymddygwn yr un modd at ddeddfau dechreuad *pechod* mewn creadur? A awn ni i ymofyn ag Awstin a'i ddysgyblion am eu *tyb* hwy, a gwrthod edrych ac olrhain *ffaith* am y peth—ffaith *hawdd* ei holrhain—ffaith sydd a'i holl hanesiad gan hin *ysbrydoliaeth ddwyfol?* Ond pa dystiolaeth a geir gan y ffaith hon—ffaith fawr Eden? Onid dyma hi, o leiaf yn ol credo y dosparth hwn o dduwinyddion: Gweithredydd o'r enw Adda, pan un dydd ar ddelw foesol Duw, yn gyflawn o wybodaeth, cyfiawnder, a gwir santeiddrwydd, a demtiwyd gan greadur dyeithr a chyfrwys o'r enw Satan, mewn ffurf sarff, i anufyddhau i orchymyn pendant ond esmwyth Duw; ac yna efe a bechodd eilwaith, a thrachefn, ac yn y blaen, ar ol unwaith ddechreu o hono. Dyna yr unig greadur ag y gwyddom ei hanes yn *dechreu* pechu. Pe gwyddem raddau manteision, anfanteision, a chyfrifoldeb plentyn, gallem wybod, ond odid, pa bryd a pha fodd y dechreua yntau bechu. Eithr hyd nes y gallom ddod yn hysbys o'r ffaith am ryw un o'r newydd, gwell yw i ni ymgadw yn agos at dystiolaeth y ffaith sydd genym eisioes. Eithr cymhwys yw hysbysu nad wyf fi yn tybied mai delw *foesol* Duw oedd ar Adda, canys eglura diwedd yr ymadrodd sy'n gorchymyn iddo y ddelw, mai cymhwysder i arglwyddiaethu ydoedd. Dealler hefyd mai ymhel yr ydwyf yn awr â thyb y dosparth hwn o Galfiniaid: dywedaf fy marn ar yr holl bwnc mewn Traethawd yn mlaen.

Dull arall o osod i lawr yr hen ymresymiad yn nghylch rhesymoldeb hadau pechod, yw hwn; "Ni all planigyn dyfu heb had iddo yn gyntaf, ac ni all pechod gweithredol dyfu yn y fuchedd heb hadau iddo yn flaenorol yn y galon, a'r hadau hyny yw y pechod gwreiddiol." Ond pwy, atolwg, a hauodd yr hadau hyn ynof fi? Atebir mai Adda a'u hauodd yn y natur, ac mai grym y cyfammod toredig sydd yn cadw yr had yn fyw. Gofynaf yn ail, Pwy a osododd Adda yn hauwr hadau moesol, bid ddrwg bid dda, yn ngardd fawr ein naturiaeth hon? Rhaid ateb, mai y Duw daionus o'i drugaredd anfeidrol, a'i gyfiawnder pur, tuag atom. Dyna y gredo yna ar ddim ond dau gwestiwn, wedi taflu damnedigaeth y byd o ddynion wrth ddrws trugaredd rad Duw yn unig; canys mae yr hwn a ymddiriedodd ein tynghedfen, *heb ein cenad*, i ofal creadur ag a wyddai efe ar y pryd, a'n dystrywiai,

yn euog o'n dinystr yn gystal ag Adda ei hun. Dyna y pwnc ar hyd y llwybr yna wedi gosod Duw yn anghyfiawn!

Eithr nid ydym wedi gorphen gyda'r cwestiwn: mae y gosodiad dan sylw yn arwain yn anocheladwy, nid yn unig i osod damnedigaeth dyn wrth ddrws trugaredd Duw—y drugaredd a'n hymddiriedodd ar law fwyaf gofalus ein tad Adda,—ond hefyd yn arwain i hunan-groesineb. Os rhaid felly fod hadau drwg cyn y gall gweithred ddrwg darddu allan, pwy a hauodd yr had o'r weithred ddrwg gyntaf yn nghalon Adda? Yr ateb yw *Neb!* Gan hyny, mae gweithred ddrwg yn gallu—ïe, wedi gallu, tarddu a thyfu lle nad oedd hadau drwg i'w hachosi, na'i hachlysuro, na'i chychwyn. Felly, o'i olrhain, y croesa y gosodiad defodol a chyffredin hwn ei hun.

Ond, er mwyn caniatau mantais etto i ddysgybl y credo hwn i ddianc, ail ofyner y cwestiwn: Pwy a hauodd had fy mhechod gweithredol i yn fy nghalon ar y dechreu? Fe allai yr atebir y tro hwn, mai *myfi fy hunan*, drwy gael fy amddifadu o gyfiawnder gwreiddiol dan gondemniad y cyfammod toredig, a fagodd yn fy nghalon yr had melldigedig hyn. Eithr, aroser mynydyn uwchben yr atebiad. Os magu neu beri cychwyniad yr hadau hyn a wnaethum i, *gweithred* oedd hyny, a gweithred *ddrwg* yn ddiau; a'r ail gwestiwn sy'n ymgyfodi yw:—O ba le y daeth i'm calon yr hadau drwg i beri y weithred ddrwg hon etto? Atebir, mai myfi fy hun a'u hauodd ynddi. Ond, dyma *weithred* ddrwg etto, fel y llall; ac attolwg, pwy a hauodd ynof yr hadau drwg i'w pheri? Os yr un fath fydd yr atebiad diweddaf, yna rhaid i minnau ofyn yr un fath ofyniad â'r gofyniad diweddaf ar ei ol; a gofyn felly yn barhaus. Ac felly aeth yr atebiad hwn etto i'r un ffos o hunan-groesineb a'r llall. Ac, os dywedaf y cwbl mewn gair,—gosoded yr Awstiniaid y bai o hau yr hadau pechod hyn yn erbyn y creadur a fyno, mae y gofyniad yn barod o hyd:—Pwy a roes yn nghalon y creadur hwnw yr hadau i beri iddo wneyd y fath weithred a hau hadau pechod felly yn y llall? a'r diwedd fydd iddo, er mwyn dianc, fy ateb mai Duw ei hun a'u hauodd; a thyna efe yn cablu uniondeb Duw, ac yn naill ai gwadu ei fodolaeth ef, ai ei ystyried yn Fôd anghyfiawn, a hoff o weled drwg moesol yn ffynu; ïe, mor greulon a gorfodi pob baban, heb ei genad, i dyfu yn gymmaint o bechadur, ag nad yw gymhwys i ddim ond iddo ef ei hun ei gospi byth! Felly, rhaid gwadu yr holl lygredd gwreiddiol, o ba natur, ac o ba enw, bynag y bo, oddieithr fod tystiolaeth eglur gair Duw drosto. A chofier tystiolaeth o ba beth afresymol ac anhawdd ei ddysgwyl, fyddai gwrthddrych ein hymchwyl, ped elem uwch ben y bibl, i chwilio am le i gredu yn yr hadau pechod a'r llygredd gwreiddiol hwn. Etto, yr olrheiniad a wneir mewn Traethawd arall.

Cymhariaeth arall etto, rhag fod neb heb ddeall yr ymresymiadau hyn: Yr oedd dau lysieuyn Cegid mawr, hollol wenwynllyd, fel y gwyddis fod y rhywogaeth bob amser. Ar ol iddynt dyfu i gyflawn faintioli gerllaw eu gilydd, daeth perchenog y maes heibio a'i grymman yn ei law. Pa beth wyt ti, atolwg? ebe efe wrth Gegiden y llaw ddeau iddo. "Cegiden!" Pwy a'th hauodd di yma? "Y goruchwyliwr, tua diwedd Mawrth." Dacw breu afalau gerllaw. a phrenau

eiryn yn ei ymyl: oni chefaist ti yr un gwres, ac awelon, a gwlith, a gwlaw, a daear, â hwythau? "Do!" Paham, ynte, na thyfasit fel hwynthwy, neu yn rhyw lysieuyn iachus a defnyddiol?" "Am mai had Cegid gwenwynllyd oedd fy had dechreuol: ni thyfais ond fel yr had a ddaeth o law y goruchwyliwr: ped edrychasid arnaf drwy chwyddwydr, gwelsid yn eglur fod ffurf yr hyn ydwyf heddyw, yn reddfol ynof tra yn hedyn, Tra gwelodd yr hauwr yn dda i'r lleill fod yn goed a llysiau daionus ae anrhydeddus, yn llysieuyn drwg a gwarthus y gwelodd efe yn dda i mi fod: cefais golled fawr oherwydd i'r peth gael ei ymddiried iddo *ef*. a cham nid bychan oddiar ei law ef. Diau mai Cegiden aflan wyf fi, ond y mae mor ddiau â hyny mai bai un arall, ac nid myfi, yw hyny. Ni chroesais fy natur; nid oes un ddeilen o honof yn amgen i'r hyn oedd i'w ddysgwyl, ac i'r hyn ddylasai fod." Yna â gwedd dosturiol, ac â gwedd o diriondeb, y perchennog a droes ati, ac a ddywedodd—*Druan wyt!* Yna efe a droes at y llysieuyn arall, ac a ofynodd iddo, Pa beth wyt tithau? Hithau gan ymsythu a atebodd, gan ddywedyd, "Cegiden." Pwy a'th hauodd di? "Neb." Ti a ddefnyddiaist yr un manteision ac amser â'r llysiau a choed daionus o'th amgylch, mi dybiaf? "Do." Paham, ynte, na buasit o ryw ddefnydd fel hwythau? "Am nad oeddwn yn dewis hyny: yr wyf yn hoffi bod yr hyn ydwyf. Hawdd y gallaswn fod yn wenithen; ond yn gegiden y mynais fod. Gwyddwn mai defnyddiolach, anrhydeddusach, a mwy boddus i'm perchenog, fuaswn pe yn llysieuyn daionus; ond nid oedd ynof bleser yn y fath gymmeriad. Fy ewyllys bendant fy hunan yn unig a'm gwnaeth i yr hyn ydwyf." Yna y perchenog mewn llidiowgrwydd a'i hatebodd ef gan ddywedyd:—Ysgeler, difudd, a melldigedig wyt ti; ar fy nychweliad mi a'th doraf i lawr! Dranoeth, ar ganol y dydd, y perchenog a ddychwelodd tuag adref, heibio i'r ddau lysieuyn; a phan yr oedd efe gerllaw iddynt, wele y llysieuyn diweddaf a nodwyd yn llefain yn ei wyneb, gan ddywedyd:—"Arbed fi, atolwg; nid am fy mod yn teilyngu hyny, nid am fod genyf yr esgus leiaf dros fy mai, ac nid am fod na hauwr nac achleswr wedi peri i mi dyfu yn wenwynllyd fel y gwnes; ond oherwydd dy drugaredd dy hun yn unig. Yr wyf yn cyfaddef fy hun yn euog o ddrygioni tebyg i eiddo yr hwn a hauodd y Gegiden arall hon, ac yn yn euog, ynghyd â hyny, o feiau y tyfiad a'r addfediad. ac o ba golled bynag, a gwarth bynag, arall a dardd oddiwrthyf. Maddeu, atolwg, i lysieuyn difudd, a gwenwynllyd, a diesgus hollol; ac onide, wele fi yn plygu fy mhen i gyfarfod y cryman dienyddol, canys haeddol ydwyf!" Y perchenog a dosturiodd wrtho, ac a'i hatebodd ef gan ddywedyd: Oherwydd cwympo o honot ar dy fai, gan gyfaddef dy euogrwydd, ac uniondeb dy gosp, a phledio o honot hefyd fy nhrugaredd, gan ganiatau, mi a ganiataf dy ddymuniad. Pan ganfu y llysieuyn cyntaf ddarfod i'r perchennog drugarhau wrth ei frawd euog, oddiar ei edifeirwch, yntau hefyd a ddyrchafodd ei lef, ac a erfyniodd drugaredd. Eithr y perchenog gan ei ateb ef a ddywedodd, Pa *drugaredd* a ofyni di? *gwobr* sydd deilwng yn hytrach i ti, am na chefaist ddewis dy naturiaeth, ond tyfu yn felldith, dewisit neu beidio. *Cyn dy hau* yn llysieuyn gwenwynllyd y dylasai erfyniau fy nghyrhaedd o'th blegid di. Yn

awr, rhy ddiweddar ydyw. Nid *trugaredd*, ond *iawn*, yw dy haeddiant di, canys ti a gospwyd â nodweddiad melldigedig, yr hyn sydd drymach anffawd na chosp o dân i'th ysu yn lludw. Ni all neb *cyfiawn* dy gospi di; ïe, ni all neb cyfiawn lai na'th *wobrwyo* di; a chan mai fy eiddo i ydwyt ti a'r hauwr, arnaf fi y mae yn disgyn i'th wobrwyo am dy oddefgarwch a'th golledion. Paraswn iddo ef dy hau yn llysieuyn da; ac er mai *cosp* sydd oddiwrthyf fi iddo ef, *iawn* sydd oddiwrthyf i ti; canys yn fy enw a'm hymddiriedaeth i y parodd efe dy gam-fodolaeth. Myfi nis *mynaf* dori i lawr dy frawd; ac nis *gallaf* dy dori dithau i lawr. Dangosaf fy *ngras* ato ef; ond nis gallaf ddangos dim ond *cyfiawnder* atat ti. Mae efe yn *feius*, ond *truan* ydwyt ti. Beio arno ei hun y mae efe, ond cwyno rhag yr hauwr, a'r perchennog a'i hymddiriedodd, yr wyt tithau. Mae *efe* yn cywilyddio o'm blaen i, ac yr wyf *finnau* yn cywilyddio o'th flaen dithau. Ffurfiodd efe ei gymmeriad, er yn ddrwg; ond ni chefaist ti y fantais i'th brofi dy hunan ger fy mron. Cyn y gallaf dy adnabod di o ran dy ddewisiad, rhaid i mi dy ddileu, a'th adael i ail-gychwyn fel yntau. Cefais i y fantais yn awr o arddangos fy nghymmeriad innau, ganddo ef; ond oddiwrthyt tithau, hyny nis cefais; oddieithr mai y cymmeriad o ofynwr bendith lle yr hauasai ei ymddiried-was ei hunan felldith, yw fy nghymmeriad. Gwnaeth efe â thi yn fy enw i yr hyn ni fuasai genyf fi fy hunan hawl i'w wneyd. Trugaredd a ofynaist; ond nid oes yn dy deimladau le i garedigrwydd am dani; i'r edifeiriol y mae trugaredd yn wledd; dyrysweh fyddai i ti. Genyf fi nid oes fodd i'th osod di yn ddedwydd byth, canys drwg yw dy nodwedd, tra mae'th gydwybod yn lân a dihalog. Gallasit fod yn ddedwydd drwy gael dewi dy dynghedfen; ond truenus fyddi o anghenrheidrwydd natur pethau, drwy ddewis o arall hi drosot heb dy genad. Pe buasai fodd dy ennill i gredu dy fod dan ddyled o garedigrwydd i'th berchenog, gallasit fod yn ddedwydd; ond seilio dy ddedwyddwch ar dwyll fuasai hyny; a phan y daethid i adnabod y twyll, buasit yn ddwbl dy drueni mewn canlyniad. Mewn gair, y llwybr rhwyddaf i mi adennill fy nghymmeriad, fyddai drwy wadu y perchennogaeth o honot; ond hyny nis gallaf mwy.

Nid oes raid hysbysu i'r darllenydd crafl, mai y Creawdwr doeth a da a feddylir wrth y Perchenog; mai Pechadur gwreiddiol Awstin yw y Gegiden a hauwyd; ac mai yr hwn a becha heb ynddo lygredd gwreiddiol yn y cychwyn, yw y llall. Mae dammeg y Ddwy Gegiden, gobeithiaf, yn ddigon amlwg i bawb, nes y gallaf arbed y drafferth o ddywedyd ychwaneg yn eglurhaol.

Er mwyn dangos yn eglurach, pe fodd, y cam o osod poen haeddol pechod creadur arall, ar greadur cyfrifol heb ei genad;—*poen* a ddywedais? mae yma fwy o gam na throsglwyddiad poen: mae yma y naill yn halogedig, ac anghyfiawn, a gwarthus, ond arall yn gorfo dwyn ei gymmeriad ef, cyn gadael iddo ddewis hyny:—dwyn *cymmeriad* drwg un arall a ddywedais? mae yma fwy o gam etto na hyny hefyd; mae yma gyfansoddi un glân a diniwed, yn aflan ac ysgeler, heb ei genad ef ei hun, na chennad ei lesad:—ei *gyfansoddi* yn greadur drwg a ddywedais? dylaswn ddywedyd rhagor; mae yma gyfan-

soddi un—mil—myrdd—myrddiynau oesoedd byd cyfan—yn druenus a gwaeth, sef yn druenus a drwg; ïe, a gwaeth; yn ddrwg cyn eu bod! mae yma lygru gwenith cynhauaf olaf y byd yn hadau gwenithawl y flwyddyn gyntaf. Mae yma dori cymmeriad byd o fodau anfarwol cyn gweled pa fodd y dewisent eu cymmeriadau ar dir rhyddid. Mae yma ddistyllio drwy gyfansoddiad pob cnawd rywbeth casaf creadigaeth Duw, a chasaf o fewn cylch eang Hollwybodaeth tragwyddol; canys o un bai rhedodd allan, ïe, yr oedd mor gryf ei naws, mor felldigedig ei swyn a'i ansawdd, fel na bu eilunaddoliaeth y byd, na rhyfeloedd y byd; ïe, na beiau uffern ddu a mall erioed mor effeithiol eu melldith, a bod yn ddigon i redeg yn y gwaed, a chwalu drwy holl gynneddfau y miliynau ysbrydoedd glân, a ddeuant drwy yr oesoedd o law Duw, nes y ceir ef yn ddigon o had i gynnyrchu holl bechodau daear, er gwaethaf rhinwedd Duw a dynion i'r gwrthwyneb, ac i lenwi uffern yn dragwyddol â had, a naws, a rhywbeth annysgrifiadwy, nas llosgir byth yno—na welir un gronyn o'i ludw ar y palmant eiriasol, ar ol llosgi o hono dan wres holl berffeithiau anfeidrol Duw yn oesoesoedd! Ddarllenydd, pa beth all y llygredd gwreiddiol hwn fod! A allodd Duw cyfiawn osod cymmaint pris â hyn ar afal!

Yn awr, cymhwyswn y sylwadau diweddaf, er enghraifft, at gyflwr a pherson y Gwaredwr. Tybiwn, gan gofio am y gwylder priodol wrth siarad am y fath Berson goruchel—tybiwn, meddaf, fod rhyw un o'r archangylion penaf yn dynesu at ein Harglwydd ar ganol ei weddi yn llochesau un o fynyddoedd Galilea, gan ddywedyd: "Arglwydd; mi a ddaethum ar y neges o'th hysbysu fod yn rhaid i ti *ddyoddef* cosp arall," a'i fod yntau yn ateb, "Caled yw dy orchymyn, ond mi a allaf ei gwblhau!" "Ond, Arglwydd bendigedig," medd efe eilwaith, "y mae y gorchymyn yn peri i ti *farw* am bechod dyn arall." "Caled iawn," medd yntau, "yw y gorchymyn; ond dywed di mai fy atebiad yw, y gallaf wneyd hyny hefyd." "O Arglwydd!" medd efe drachefn, "y mae y gorchymyn yn drymach etto—mor drwm fel nas gwn pa fodd i'w hysbysu i ti: yr ydwyt i fyned dan gondemniad yn gyntaf, a'r condemniad hwn yw, dy fod i bechu unwaith [yr Iesu diniwed yn wylo yn hidl!], ddwywaith, ddengwaith; neu, mewn gair, mae dy holl gynneddfau i gael eu gwneyd yn ewyllysgar i ddim ond pechu yn erbyn Duw; ïe, nes y caffot bleser mewn casau Duw, a rhyfela yn ei erbyn nes y bo dy natur yn bechadurus drwyddi oll!" Yr Iesu yn ngwyneb hyn yn ocheneidio, ac yn gwasgu allan o eigion ei fynwes bur—"O, ni allaf hyn! Gallaf *farw* yn hawdd—ie, fil o weithiau drosodd; ond O, na ofyner i mi *bechu* unwaith. Na ddeled rhith pechod i'm calon. Gwaeder hi, a awaner hi drwodd; ond gadewch iddi waedu yn bur. Na wnewch fi yn elyn i'r Bod perffeithiaf yn groes i'm dymuniad a'm caniatad!" Cymhwyser yr iaith hon yn unig at ddynoliaeth ein Harglwydd. A phwy a wâd, pe buasai yn bosibl iddi hi lefaru ar wahan oddiwrth y person dwyfol yn yr undeb, mai yn debyg i hyn yr atebasai efe? Ac, yn awr, os yw y fath ymddygiad ato *ef* yn ymddangos yn gamwri, oherwydd ei fod *ef* yn greadur glân a diniwed; onid yw yr unrhyw ymddygiad at y *baban* diniwed yn gymmaint camwri ag yntau? Ac, er nad yw y baban yn *awr* yn gallu dirnad natur ei golled hon,

oni fydd efe yn y byd a ddaw, a chaniatau mai yn y trueni y cartrefa—yn gallu gweled ei golled, ac yn ei mesur, ei phwyso, ei phrisio, a'i chwilio, yn oesoesoedd. Os yw y llygredd gwreiddiol yn golled iddo ef—os yw efe yn cyflawni dim ond *un* bai bychan yn unig, yr hwn a beidiasai efe ei wneyd, pe buasai efe heb y cyfryw lygredd, onid ymresyma efe fel y nodwyd o enau Crist, yn ngwyneb y fath anghyfiawnder! Yr hyn sydd yn gam i'w wneuthur ag un creadur diniwed heb ei genad, sydd hefyd yn gam i'w wneuthur ag un arall o'r cyfryw heb ei genad yntau. Gan hyny, yr hyn a fuasai yn gamwri â baban gwirion Mair y Forwyn, fel dyn, fuasai yn gamwri a'm baban gwirion innau! A chan hyny, nid oes o Dduw, na thrwy Dduw, na thrwy drefniad Duw, na thrwy Dduw fel penydiwr mawr cyfammod Eden, un llygredd gwreiddiol yn dyfod i mewn i faban dynol.

---

## TRAETHAWD X.

### Y LLYGREDD GWREIDDIOL.

*Pechod Gwreiddiol Awstin, Calvin, Edwards, &c. Golygfa gyffredinol ar y pwnc—Naturiaeth a Rheswm yn ei wadu.* RHAN II.

DIFUDD fyddai dyfynu allan o'r hen dduwinyddion Protestanaidd eu barnau a'u tybiau, bob yn un, mewn olrheiniad mor fyr a hwn. Dosranaf eu hanhawsderau, gan gymmeryd sylw yn unig o'r credoau sectawl mwyaf cyffredinol.

1. Peth cyffredin yn mysg o'r bron yr holl ysgrifenwyr a bleidiant y dyb o ledaeniad naturiol pechod Adda a'i gondemniad, yw ei gydmharu â lledaeniad mathau neillduol o chwaeth, gwallau, neillduolrwydd tymherawg, tueddiad at feiau neillduol, &c., pa rai sydd yn aml ac yn cyffredinol ymddangos yn mhlith dynolryw.

Ond *(a)*, Pa beth a ddaw o'r gymhariaeth hon, pan nad yw y lledaeniad hwn mor *unffurfiawg* ag y dywedant hwy fod y pechod gwreiddiol. Nid yw mab y tad unllygeidiog neu anafus yn cael ei eni felly. Mae gan blant mudanod synwyrau perffaith. Nid all dim fod yn fwy amrywiol a gwahaniaethol nag yw pob peth o'r natur yma.

*b)*, Os gwaith rhieni yn cenedlu eu hanian eu hunain yw y pechod gwreiddiol, paham na byddai holl blant y duwiolion yn dduwiol hefyd? o leiaf, paham na oerai gwres y llygredd gwreiddiol ryw ychydig ar e drosglwyddiad i blant y cyfryw rieni? Gwasgai Morgan y cwestiwn hwn ar Awstin; i'r hyn ni feddai yntau un atebiad, ond fod plant y rhai enwaededig yn cael eu geni yn ddienwaededig. Gallasai Morgan eilwaith (fel y dywed Stuart) ei ateb yntau, gan ddywedyd, fod plant rhieni unllygeidiog yn cael eu geni â dau lygad; ac yna buasai clorian y ddadl wedi ei wastadhau.

Pan ddywedir mewn ffordd o eglurhad, mai ar Adda ac nid ar ein rhieni, y mae deddf lledaeniad y llygredd hwn yn dibynu; gellid ateb etto, os yw y lledaeniad yn ol deddfau anianol y natur ddynol, paham nad yw efe yn dibynu ar dad y plentyn, canys dyna yw deddf anianol cenedliad. Cymmerer cymhariaeth anwylaf Edwards mewn ystyr-

iaeth: sef gwreiddyn a changhen y pren; pa un ai oddiwrth y gainc nesaf ati, ynte yn ddigyfrwng o'r gwreiddyn, y derbynia y ganghen uchaf o'r pren ei nodd? Etto, os o Adda yn uniongyrchol y dylifa y naws llygredig, mae yr anhawsdra o hyd yr un, canys daeth Adda yn edifeiriol ar ol y cwymp, yn ol barn attegwyr y credo hwn. A chan i hyny ddygwydd cyn iddo genedlu plant, paham na throsglwyddodd efe iddynt ei *edifeirwch* yn gystal â'i bechod, ei wobr yn gystal â'i gosp? Dengys yr ystyriaethau hyn, os yw pechod Adda yn cael ei drosglwyddo i wared. nas gallwn droi at ddeddfau cyffredin trosglwyddiad anian dynoliaeth, am gymhorth i'r athrawiaeth.

2. Mae pechod gwreiddiol (meddant) yn unffurf a digyfnewid yn mhob amgylchiad, person, ac oes. Gan hyny, nid yw yn agored i na chynnyddu, lleihau, na chyfnewid. Nid yw y duwioldeb gwresocaf yn lleihau ei fesur a'i ddogn personol; yr afradlonedd gwaethaf nid yw yn ei fwyhau. Ymddengys fod plant y saint enwocaf, a'r drygiaid penaf ar yr un tir yn hollol yn hyn.

Pa fodd y gall dyn beidio gofyn bellach, pa un a oes, yn ddiau, bechod yn bod yn mysg meibion dynion, yn eu cyflwr presennol, yr hwn nis gellir ei leihau, ei gynnyddu, neu ei gyfnewid, drwy ryw weithred neu y llall o eiddo yr hwn sydd dan ei lywodraeth? A yw y Beibl yn son wrthym am ryw bechod anmhosibl ei leihau na'i wanhau gan santeiddiol ras Duw, gan edifeirwch, hunanymwadiad, na bywyd santaidd; neu unrhyw bechod nas gellir ei gynnyddu drwy ysgeler ddrygioni? Etto, os yw golygiadau President Edwards yn gywir,—mae y peth a eilw efe yn bechod gwreiddiol felly. Nid yw gras a santeiddrwydd y rhieni duwiolaf yn attal ei drosglwyddiad yn ei holl rym a'i unffurfdeb.

Dywed Tholuck nad yw cefnogwyr y dyb hon am drosglwyddiad y pechod gwreiddiol, yn eglur gyffesu ei fod yn unffurf o ran ei *faintioli.* Fe allai nad yw amryw o honynt felly yn uniongyrchol; am y taflai dywedyd y peth yn rhy eglur rwystrau anorfod ar ffordd eu golygiadau. Eithr cyfaddefa Tholuck Baumgarten, ac ereill o'r un farn ar hyn, fod yr achos paham y mae mewn rhai fwy a rhai lai o anian lygredig *(vitiositas)* yn mhell tuhwnt i'n cyrhaedd i'w ddirnad. A thyma yr hyn a geisir ei ddangos yma, sef fod y ffordd o roi cyfrif am drosglwyddiad llygredd drwy naturiol genedliad, yn annigonol ac afresymol.

3. Dywedir nad yw pechod gwreiddiol yn gydgreuedig *(concreated)* â dynoliaeth: dygwyddiad, ac nid sylwedd ydyw; ac etto, dywedant ei fod yn unffurf a digyfnewid yn mhawb. O ganlyniad, rhaid fod pawb ar y dechreu yr un mor lygredig â'u gilydd; ac yn ngwyneb yr un temtasiynau, rhaid iddynt oll ddangos yr un graddau o ddrygioni. Rhaid i'r un achos yn yr un graddau gynnyrchu yr un effeithiau, cyd na byddo achos neillduol yn gwrthweithredu. Ond y mae hyn yn groes i *ffaith* am bechaduriaid byd. Mae dynion yn eu cyflwr naturiol, ag fo yn perthyn, nid yn unig i'r un gymmydogaeth, ond i'r un teulu, yn dra gwahanol i'w gilydd o ran graddau eu drygioni. Pa fodd, gan hyny, y gall achos fodoli, yn unffurf o raddau yn gystal a natur, heb gynnyrchu unffurf effeithiau dan unffurf amgylchiadau?

4. Os cenedliad yw llwybr trosglwyddiad pechod, paham nad yw holl bechodau ein holl hynafiaid, i wared o Adda hyd atom ein hunain, yn cael eu trosglwyddo i ni. Yn y dull hwn, paham nad yw pechodau hil Adda yn crynhoi fwy-fwy wrth fyned yn mlaen o dad i fab, fel y dywedant fod y pechod cyntaf? Ni wiw iddynt ateb fod Duw yn gofalu am wneyd gwahaniaeth rhyngddynt, canys gosod Duw yn awdwr cyfryngol pechod fyddai hyny.

Mae y dyb o drosglwyddo pechod, gan hyny, ar hyd llwybr naturiol genedliad, yn agored i rai gwrthwynebiadau cryfion; oddieithr cael o'i chefnogwyr ryw ymadroddion i'w gosod allan yn amgenach nag a weiwyd hyd yma.

Eithr nid wyf wedi dywedyd yr hyn oll oedd genyf i'w ddywedyd ar y pwnc hwn. Nid oedd un gronyn o bechod gwreiddiol yn Adda. Efe a grewyd nes yr oedd yn ddiniwed, ie (meddant), yn santaidd. Pa fodd y gallai efe genedlawg drosglwyddo priodoledd neu dymher ag nad oedd yn un gyfran o'i briodol natur; hyny yw, pa fodd y gallai efe gyfranu i neb yr hyn nid oedd efe yn wreiddiol feddu? Gan na allai efe cyn pechu genedlu yn neb ronyn o'r llygredd hwn, ni allai efe ar ol pechu ychwaith, oddieithr naill ai yn ol trefn naturiol ai goruwchnaturiol. Cynnwysai y "Ffrwythwch ac amlhewch" holl rym ei ddeddf ef o *naturiol* genedlu. Yn hòno nid oedd dim grym i genedlu llygredd, na dim arall ond had naturiol yn unig, sef had i'r Adda fel y gwnaethasid gan Dduw. Rhaid, gan hyny, mai cenedlu rhywbeth na feddai ei natur un ddeddf i'w genedlu wrthi, sydd mewn golwg gan y duwinyddion hyn. Ni thal dywedyd fod y Creawdwr yn tynu ei law drosto eilwaith ar ol ei gwymp, er mwyn creu ynddo ddeddf cenedlu newydd—i genedlu y pechod *cyntaf* yn unig; canys mae dau ganlyniad o hyn, sef, fod Duw yn ail-greu y dyn yn bechadurus, ie yn bechod-genedlwr, ac yn ail, ei fod yn ein creu *ni* oll ar ein dechreuad, yn bechadurus; canys cofier, fod hyn yn dangos mai ar ol y crëu cyntaf y cafwyd cread ein hadau cenedlawg ni, bechaduriaid, yn ei lwynau ef. Hefyd, nid oedd fodd, felly, i ni fyned i lawr yn Adda, canys cosp am y codwm oedd raid i ddeddf cenedliad ein llygredd fod; ac nid oeddym, diau, yn ein tad Adda pan nad oedd grym i'n cenedlu fel yr ydym ganddo. Ar *ol* y codwm yr oedd yn rhesymol cyfansoddi y ddeddf drosglwyddiadol, sef ei gosp. Nid pechod oedd deddf naturiol cenedliad. Yr oedd hòno yn Adda cyn y cwymp, etto nid oedd bechod ynddo. Grym cenedlu pechod neu lygredd, *yn ei waith*, fuasai yn bechod. Am hyny, nid oedd deddf yn Adda i'n llygru ni. Nid oedd fodd i ni fod ynddo cyn fod ynddo ddeddf rymus i beri ein bodolaeth. Os oeddym ynddo un amser, ar ol ei gwymp oedd hyny, oddieithr i ni dybied fod Duw yn cospi y ddynoliaeth a'r llygredd hwn cyn iddi bechu. Ond, pan bechodd Adda, torwyd y cyfammod, a chan mai pan lygrwyd ef y cospwyd ef, a chan mai cyfran o'i gosp oedd ei gynnysgaethu â deddf cenedlu llygredd, rhaid na buom ni erioed o fewn y cyfammod. Ar ol ei dori y ffurfiwyd deddf ein bodolaeth lygredig ni. Ni allai fod yn Adda un ddeddf cenedlu ond sydd yn awr yn ein tadau ni. Deddf cenedlu llygredd *gyda'r* natur sydd yn awr. Daeth o naill ai y "Ffrwythwch ac amlhewch," neu o ryw ail-ddeddf a roddwyd yn Adda ar ol ei gwymp. Eithr ni roddwyd un

ddeddf newydd o genedlu ar ol y cwymp; am hyny, ni ellir cenedlu ond yn ngrym y ddeddf gyntaf. "Ffrwythwch ac amlhewch" yn *naturiol* oedd hòno, a chan fod pechod yn beth newydd ac annaturiol, nid oes o fewn deddf cenedliad rym i'w drosglwyddo ef.

Ac nid hyn yw y cwbl. Oddiwrth bwy y mae *enaid* dyn yn dyfod? Oddiwrth ein rhieni daearol ynte yr Un nefol? Dywed Turretin mai heresi yw dywedyd fod eneidiau yn cael eu cenedlu; a chydag ef cytuna Edwards, yn nghyda'r Diwygwyr bron i gyd. Ond, pan ffurfio y Creawdwr eneidiau dynol, a yw efe yn eu trwytho yn y fan mewn aflendid a phechod, ai peidio? I hyn atebant yn unllais nad yw. "Rhaid fod yr hyn a wna Duw yn *dda* (meddant). Ni all efe fod yn awdwr pechod." O ba le gan hyny y mae y llygredd hwn? A oes gan y corff ei hun, yr hwn a genedlir gan y rhieni, ryw *foesol* gymmeriad? Yma etto atebant yn nacaol. O ba le, gan hyny, y ceir y gwreiddiol, deilliadol, drwg, a damniol lygredd hwn? Yma dechreua Edwards a Turretin philosophyddu mewn gwahanol ddulliau; ond y diwedd o hono yw—fod y corff, drwy ei nwydau a'i ddymuniadau, yn llithio, ac ennill cymmaint ar, yr enaid pur a glân a roddir ynddo, nes o'r diwedd y cyfnewidia holl nodweddiad yr enaid yn aflan a drygionus. Ond, yma etto yr ydym mewn dyryswch nid bychan. Pa fodd y gall y rhan wanaf a distadlaf o'r dyn ennill cymmaint â hyny ar yr enaid, yr hwn a ffurfiwyd ar y dechreu (meddant eu hunain) ar ddelw Duw, ac sydd ar y pryd y disgyno iddo ef yn hollol rydd oddiwrth bob ystaen llygredigaeth? Pa fodd y gall anian, anifail, pridd, fel hyn goncro ysbryd? Mae yn debyg nad oedd y corff cyntaf ar y dechreu fel hyn, onide llygrasai yr enaid hwnw yn y fan. Gan hyny, ail-greu deddfau fu yma etto—deddfau nwydau cyrfforol. Ac, y mae rhyw rym angherddol yn nwydau *corff* dyn, a gwendid hynod iawn, eilwaith, yn nghynneddfau ei *enaid*, cyn y dichon i'r corff, ac yntau yn ddim ond anifail daearol, ac isel yn mhob modd; ennill y dydd yn y fynyd ar ysbryd pur, anfarwol, a newydd o law ei Greawdwr, a chyflawn o'i ddelw. Os cyfiawnder, gwybodaeth, a santeiddrwydd, yw y ddelw hon--a mynant hwy maiê--wele *wybodaeth* mewn baban, ie, gwybodaeth y gyfran anifeilaidd o hono, yn mhell cyn ei eni i'r byd, yn fyrdd cryfach na'r holl wybodaeth a elwir yn *ddelw Duw!* Mae yn resyn edrych ar y rhai a ddaliant y pwnc o *greu* eneidinu, a'r pwnc o lygredd gwreiddiol ynghyd, yn ceisio ymddadrys o lyffetheiriau rheswm; ac nid yw proffeswyr y cenedlu eneidiau ar nemawr gwell tir gyda'r llygredd gwreiddiol. Ymddengys, gan hyny, nad yw Turretin, Edwards, ac ereill sydd yn cytuno â hwynt, yn cyfaddef, wedi'r cwbl, un math o lygredd *cenedledig* na *gwreiddiol;* ond math o lygredd moesol heintus, condemniol, yr hyn sy'n graddol ddyfod i mewn drwy gydweithrediad ac undeb corff ac enaid, a'r dylanwad aflanhaol sydd gan y blaenaf ar yr olaf.

Ond, yn mha le yr ydym erbyn hyn? Ai dyma y cwbl a allai y fath feddyliau grymus ei wneuthur? Ai dyma yr holl oleuni a allasant ei chwalu drwy holl dalaeth nosawg llygredd gwreiddiol? Ac a raid i ni ddywedyd fod yr haul yn ei ddysgleirder yn tywynu yma? Ynte, a raid ni aros yn hwy, i ddysgwyl am doriad y wawr?

Pa un ai *gweithred* ai *ystad* yw pechod? *Gweithred* fyddai atebiad

pob dyn yn ddiaros. Felly y dywed yr ysgrythyr: "Anghyfraith—troseddiad o'r gyfraith, yw pechod." Er hyny, dichon dyn drwy ei weithredoedd drygionus ei hun ddwyn ei hun i'r fath *gyflwr*, yr hwn fel canlyniad o'i bechodau o'r blaen sydd yn bechadurus. Yr anlladwr, yr hwn a annogir yn mlaen yn ei bechod mynwesol, nes byddo ei holl enaid yn cael ei barhaus syfrdanu gan feddyliau halogedig, sydd yn euog o bechod am fod yn y fath gyflwr. Dylem ganiatau fod dyn yn gyfrifol am ba gyflwr bynag sydd yn ganlyniad naturiol o'i rydd weithredoedd ei hun. Ond pa beth yw sefyllfa y baban a'r gwallgof? A oes un weithred wirfoddol o'r eiddynt hwy yn fath o achos i'r hyn a elwid yn bechod gwreiddiol mewnol iddynt? Diau nad oes. Mae Edwards a Turretin wedi mawr lafurio, i brofi fod tuedd bechadurus yn rhagflaenu pob rhyddfeddwl, serchogiad, a gweithred. Pa ddeddf, gan hyny, a *droseddodd* babanod? Dim un; canys ni wyddent, ac ni allent wybod, am un ddeddf; a'r "lle nid oes deddf, nid oes gamwedd." Pa beth, gan hyny, yw eu pechod hwynt? A oes un ddeddf gan Awdwr eu bodolaeth, nad oeddynt i gael eu geni yn y cyflwr yn mha un eu ganwyd; ac a droseddasant hwy drwy eu genedigaeth, y ddeddf hono? Myfi nis gwn am y fath ddeddf; ac yr oedd genedigaeth iddynt hwy, o reswm, yn hollol heb yn wybod iddynt. Pa ddeddf a droseddir, gan hyny, drwy gael o honynt eu geni yn feddiannol ar alluadwyaeth *(susceptibility)* i deimlo grym temtasiwn. Mae y rhai a wnant ystad y baban yn bechod ynddo ei hun, yn rhwym o ateb y cwestiwn hwn. [Stuart.]

Nid yw yr *ysgrythyrau* yn trin y pwnc mewn un modd yn gydweddol â'r fath dynghedfen anffodus i fabanod. Ond rhaid i mi ganiatau Traethawd arbenig i'r tystiolaethau *ysgrythyrol.*

Mae dull ymresymiadau cefnogwyr y llygredd gwreiddiol hwn yn hynod iawn. Dechreuant gyda *thybied* fod y ddelw ddwyfol ar Adda yn un foesol, ac adeiladant ar ffaith ein bod ni yn awr yn amddifaid o'r cyfryw ddelw. Yna *dyfeisiant*, gan fod *pawb* yn pechu o'r camwedd cyntaf yn mlaen, y *rhaid* fod had y drwg i gyd o fewn hwnw; a'r diwedd yw y dernyn mwyaf gwargaled o'r cwbl; mai dyma yr unig ffordd i roi cyfrif am lygredd cyffredinol dynolryw. Nid yw adeiladu casgliad ar gasgliad yn ganiataol mewn olrheiniadau am y gwirionedd. Mae y gosodiad ysgubawl *na ellir* cyfrif am y ffaith o fod pawb yn pechu, heblaw drwy y llygredd gwreiddiol, yr un peth a dywedyd, gan nad allant hwy gael allan y peth, na all neb arall byth. Mae dull fel hyn yn anghydweddol â theimladau hunanymwadol y Cristion.

Pan wasgo yr ochr arall arnynt, fod eu hathrawiaeth yn milwrio yn erbyn uniondeb Duw, a'i gyfiawnder difrycheulyd ef, atebant—"Ni chaniateir i'r llygredd gwreiddiol hwn gael ei ddefnyddio yn esgus dros bechodau gweithredol.' Ac, ai fel hyn y ceir taw ar yr anffyddiwr! I dawelu llais ammheuon y Cristion, dywedir:—"Os yw ein cyflwr wrth natur yn wan a llygredig, ein temtasiynau yn aml a chryfion, a'n Barnwr Goruchaf yn anfeidrol gyfiawn; etto mae cynnygion maddeuant i'r edifeiriol yn gyffredinol a diderfyn." Mae hyn yn ddigon gwir, ond gwir trwm iawn, er hyny, i'r holl ddosparth a enir, ac a adewir gan ras yr etholedigaeth, yn anewyllysgar i dderbyn y maddeuant. Anghyfiawn yr ymddengys y llygredd *hwn* yn barhaus; oddi-

eithr i'r sawl a dybio nas ymddwyn yn anghyfiawn at yr anetholedig, megys y proffesa y pabydd rhagfarnllyd, nad oes ffydd i gael ei chadw â heretic. Gadawer i'r anedifeiriol gael treial teg am ei fywyd, a syrth ei golledigaeth felly ar ei ben ei hun, ac erys ei waed ar ei law ei hunan.

Dull arall o roi taw ar y gwrthresymau, yw dywedyd:—"Mae anhawsderau yn perthyn i'r pwnc ag ydynt uwchlaw ein dirnadaeth ni. Nid oes odid wrthddrych o'n cylch heb ein cynnysgaethu â thestynau ammheuaeth a rhesymau." Ac yna, ar ol cyfaddef fel hyn na allant ateb y cwestiynau sy'n ymgyfodi yn naturiol oddiar eu cyfundrefn, gosodant farn condemniad ar ein geneuau, drwy ychwanegu ei bod "yn olygfa ofnadwy a galarus i weled dynion yn prysuro eu hunain fel yma gyda dyfeisiau ofer, ac yn dyfetha amser, ïe, cymmeryd yn ysgafn gyda phynciau pwysig eu hiachawdwriaeth." Mae yn syn clywed neb yn siarad fel hyn, ar ol gosod athrawiaeth llygredd gwreiddiol wrth sylfaen gwir grefydd ei hun. Gan i'r Creawdwr ein cynnysgaethu â galluoedd i ddirnad ac olrhain, gwae ni onis arferwn hwynt; ïe, yn fwy na dim, gyda phynciau trymion crefydd! Mae y pwnc hwn yn magu ammheuaeth yn y meddwl, pa un ai Bod daionus ynte drygionus, sydd yn llywodraethu ein tynghedfen. Diau y dichon llywodraethwr doeth beri i ddrwg naturiol neu *boen*, fod yn ddaioni i'r goddefydd; ïe, dichon goddef drwg *moesol* droi allan dan ei law yn ddaioni cyffredinol, llawer mwy nag hebddo. Ni all y poenau mwyaf fod yn anghyfiawn, os na byddant uwchlaw haeddiant y dyoddefydd; neu ynte, os bydd gofal am ad-daliad mewn daioni ar eu gorpheniad. Ond yma, dangosir ymddygiad Duw, mewn perthynas i ddrwg moesol, yn fympwyol a diderfynau. Gesyd holl ddynolryw mewn lle a elwid "Adda gynnrychiolwr," allan o'r hwn ni ddeuent byth, hyd nes y gwelai efe yn dda â'i allwedd o argyhoeddiad, agoryd y drws. Yna, heb eu dewisiad, gwnaed hwynt yn ysgeler a thruenus. Yr agoriad cyntaf ar ddrws eu cyflwr fydd gan allwedd cospedigaeth, i'w llusgo allan i'r dienyddle tragwyddol, am eu harosiad yn y carchar—am eu bod o'r cymmeriad, yn mha un eu ganed heb eu cenad, eu magwyd heb nerth i'w adael, eu gadawwyd hyd y fynyd dan sylw, heb agoryd y drws o'u blaen! Na, dylaswn ddywedyd, ddarfod i genadau gael eu danfon i lefain wrth ddrws y carchar—"Garcharorion, de'wch allan" —"Trowch allan, chwi garcharorion gobeithiol!" Ond, gofalwyd dan yr holl alwadau, am adael clo eu hanallu moesol heb ei agoryd. Gwyddid o hyd na ddeuai un o honynt allan heb i'r drws gael ei agor gan allwedd gras, yr hwn ras nid oedd o hono ronyn yn y carchar ei hun, nac yn llogell y gwahoddwr ychwaith. Dylid, naill ai gwadu llygredd gwreiddiol, neu ynte, beidio gwahodd ei ddeiliaid fel hyn. Dylai athrawiaeth Adferiad fod yn yr un gredo a hwn, i ganiatau iddynt gais âm esgynlawr teg i ddewis eu bywyd rywbryd.

Er nad yw yn anghydweddol â chymmeriad tad doeth a da, i osod graddau neillduol o boenau ar ei blentyn; etto nid oes un tad doeth a da a'i *gwna* ef yn hollol druenus. Gall weinyddu iddo ddiod feddygol chwerw, a chadw ei gymmeriad; ond ni all efe weinyddu gwenwyn iddo, a galw ei hun yn dad da ar ol darfod. Nid yw ei hawl i geryddu

beiau o nodwedd neu fuchedd a welo efe yn ei blentyn. ie, ei geryddu, fe allai, yn drwm, yn trosglwyddo un teitl iddo i droi holl oes y plentyn yn drueni a melldith iddo, oherwydd gwendidau nas gallesid eu hebgor.

Mae y meddwl dynol yn dysgwyl i dystiolaethau cryfion *gwirionedd* Cristionogaeth, gael eu dilyn gan rai yr un mor gryfion o'i *rhagoroldeb*, a'i haddasrwydd i'r cyflwr dynol fel y mae; a phan ateber ei wrthddadleuon â dim ond "dirgelwch—dirgelwch!" am bynciau nad oes beibl yn eu traethu. pwy a all ddysgwyl iddo eu cofleidio?

Mae yn wir, fel y dywedir; "nad oes wrthddrych o'n cylch heb ein cynnysgaethu â thestynau ammheuaeth. Mae yr ymlusgiad gwaelaf o dan ein traed, ie, pob llysieuyn a ganfyddwn o'n cylch, yn ddigon i ddyrysu ein deall cyfyng ni." Ond, dylid gofalu rhag cymmysgu pethau anhawdd eu deall a phethau croes i'w gilydd, fel y gwneir yn yr atebiad a nodwyd. Diau na wyddom pa beth sydd yn cyfansoddi bywyd anifeilaidd na llysieuol, o ba le y tardd galluoedd a phriodoleddau pob dosbarth, na pha beth sy'n peri y gwahaniaeth rhyngddynt. Er hyny, gwyddom fod y bywyd hwn, ei ddeddfau, a'i wahaniaethau, yn nghyda'i brif amcan—lledaeniad dedwyddwch nwyfhaol—yn dangos allan allu, doethineb, a daioni Awdwr bywyd. Pan ellir profi i Dduw greu yr ymlusgiad gwaelaf mewn cyflwr a ragwelai efe, yn sicr o'i wneyd yn druenus; pan ellir profi fod yr hiliogaeth bresennol o ymlusgiaid wedi eu gwneuthur er pan aned, yn etifeddion trueni bythol, oherwydd rhyw gamymddygiad o eiddo eu rhiaint ymlusgawl gynt, bydd y ddwy enghraifft yn gyffelyb i'w gilydd. Yna hefyd y diflana doethineb, uniondeb, a daioni, o wydd ein llygaid: ac y gadewir *gallu*—gallu mympwyol a gormesol, yn wrthddrych ein myfyrdod!

Pe mynwesai y *materialist* y dyb hon, yr hwn sy'n dal dros gydgenedliad yr enaid â'r corff, a bod yr olaf yn fath o sylwedd anianol nid annhebyg i'r llall, gallai loffa rhyw reswm drosti oddiwrth y tebygolrwydd sydd rhwng sylweddau y corff a'r enaid. Gallai efe gael caniatad i osod ystyr mwy llythyrenol ar y geiriau llygredigaeth gwreiddiol, haint pechod, &c. Gallasai gyfodi egluriadau oddiwrth ymweithiad ac ymchwyddiad surdoes, yr hwn o swm bychan a chwâl ei holl ddylanwad drwy yr holl does. Gallasai efe godi cymhariaeth ar unwaith o ganol y llaethdy, lle gwel efe can lleied o'r caul sur sydd yn abl ar unwaith i gyfnewid corff ehelaeth o'r llaeth croyw yn sylwedd caled a gludiog. Unig dasg y fath dduwinydd â hwn, fyddai profi fod yr amgylchiadau yn hollol gyffelyb i'w gilydd, a bod tueddiadau a gweithrediadau yn anhebgorol heintus ar y meddwl, yn annibynol ar yr ewyllys. Ond am dduwinydd sydd yn dal dros ysbrydolrwydd yr enaid. gan gofio am y priodoleddau uchel a gyfrifa efe yn eiddo iddo; dylai hwn fod yn neillduol ofalus cyn yr haera y gall un ewyllysiad fod o natur mor hynod, gwedi ei annog gan demtasiwn gyffredin, nes bod o hono yn heintus i feddyliau ereill o'r un rhywogaeth, tra yr oeddynt mewn ystad o anwybyddiaeth hollol; a bod naws yr ewyllysiad hwnw mor anfeidrol ranadwy ei sylwedd, nes y mae wedi e chwalu a'i ddistyllio drwy anfeidrolwch o feddyliau, dros oesoedd meithion y byd.

Mae dau ddosbarth o goleddwyr athrawiaeth ysbrydolrwydd yr enaid; eithr nid ydynt yn cydweled yn nghylch y pryd y dechreua'r ysbryd anfarwol ei undeb agos â'r corff o bridd. Tybia rhai, fel y nodwyd, mai y corff yn unig a genedlir gan y rhieni; a phan y del tymhor neillduol oddiamgylch, fod yr ysbryd dynol yn cael ei osod i mewn ynddo, mewn modd anadnabyddus i ni, ond yn ol rhyw ddeddf anghyfnewidiol o osodiad y Creawdwr. Ereill a dybiant fod natur ysbrydol dyn yn gyfamserol yn y groth â'r un gorfforol, a bod hedyn bodolaeth, yn ei ystad foreuaf, yn cynnwys y ddwy egwyddor o fywyd anifeilaidd ac ysbrydol.

Mae yr athrawiaeth flaenaf yn amlwg osod athrawiaeth llygredd gwreiddiol yn anmhosiblrwydd, canys ni allasai *meddwl* dyn, sef y rhan feius o hono, fod yn lwynau ein rhieni cyntaf pan bechasant, ac o ganlyniad, ni allasai gael ei lygru gan y pechod hwnw. Rhaid fod ysbryd pob dyn, wrth ddeilliaw yn uniongyrchol o ddwylaw ei Wneuthurwr, mor bur, mor goeth, ac mor lân oddiwrth bechod ag oedd enaid Adda ar ddydd ei greadigaeth: canys mae y dyb am berffeithrwydd Adda, o ran natur a chymmeriad, cyn ei gwymp i bechod, wedi ei seilio yn unig ar y ffaith o'i fod wedi dyfod o law Duw; ac nid yw athrawiaeth y llygredd gwreiddiol ddim yn y byd ond peth a ddyfeisiwyd i gau y bwlch rhwng tad santaidd a hiliogaeth aflan; ac nid yw y rhai sydd yn y dyryswch yn cofio dim, mai *dyfeisio* y cyflwr santaidd dechreuol a wnaethant, a mai y ddyfais hòno sydd yn eu gorfodi i *gyflunio* y llygredd gwreiddiol, a mai anghyfiawnder y llygredd hwn a'u gorfododd i *ddyfeisio* y cynnrychioli, a mai y cynnrychioli a'u gorfododd i *ddyfeisio* y cyfammod—pedair dyfais mewn un pwnc!

Ond, yn ol y dyb o fod yr eneidiau yn disgyn i'r corff o law Duw, rhaid gwrthod hen athrawiaeth y pechod gwreiddiol; canys pa halogrwydd bynag a ddichon yr enaid dderbyn pan orfodir i breswylio y corff dynol, rhaid ei fod yn rhywbeth a ymdreiddiodd i'r enaid yn heintus oddiwrth y corff; nid euogrwydd etifeddiaethol a gwreiddiol. Gan nad yw rhan ysbrydol dyn wedi ei disgyn oddiwrth Adda, nid oedd iddi un fath o berthynas ag ef, yn mhellach na'i bod yn trigiannu mewn pabell, yr hon a adeiladwyd ganddo Ef drwy ddeddf barhaol cenedliad; ac er caniatau o honom, er enghraifft, fod y babell hon mor anoddefadwy front, fel yr aflanhaodd ac yr afiachaodd bob cnawd sydd yn dyfod i mewn i'w bath, ni ellir rhoi euogrwydd gwreiddiol yn erbyn yr enaid hwnw, er y gellir tosturio wrtho am orfod o hono breswylio cartrefle mor halogedig. Beth pe gwthiai llywodraethwr galluog *un dyn* diniwed drwy orfodaeth i mewn i garchar, allan o furiau, lloriau, a dodrefn, yr hwn y llanwyd ef o aflendid, afiechyd, gofid, a phoen, pa rai nid oedd feddyginiaeth rhagddynt iddo byth; oni fyddai gan y dyn hwnw gyhuddiad cyfiawn yn erbyn y cyfryw lywodraethwr? A wnelai fod y llywodraethwr wedi parotoi meddyginiaeth effeithiol yn rhad i *rai o'i fath*, gan ei adael *ef* yn ei afiechyd a'i wae, ryddhau y llywodraethwr odditan y cyhuddiad? A wnelai cynnyg y feddyginiaeth iddo yntau am ddringo grisiau anorfod i'w derbyn, yn gwella y pwnc?

Nid yw y llygredd gwreiddiol mewn cyssylltiad â'r dyb o gydgen-

edliad y corff a'r enaid, ddim heb ei anhawsderau ychwaith. Gan "fod holl blant Adda, drwy y cwymp, dan ddigofaint a melldith Duw, ac yn agored felly i boenau uffern am byth," annogir ni gan ddyngarwch i ymofyn pa bryd y mae'r mabdawd anffodus hwn yn dechreu. Rhaid i gefnogwyr cenedliad ein dwy natur gyda'u gilydd, ganiatau fod eangder pechod a chosp, os goddefir yr ymadrodd, yn anfeidrolaidd anfeidrol. Mae yr amgylchiad o'n bod yn cael ein geni i'r byd yn hollol ddamweiniol. Gan fod yr enaid yn bodoli er pan fodolodd yr hedyn corfforol, yr oedd efe yn bechadur cyfrifol ar yr un pryd, ac yn etifedd oesol drueni, a hyny yn hir cyn i'r anelwig ddefnydd gael ei ffurfio; a rhaid iddo aros byth yn y sefyllfa anffodus hon, os na ddygwydda iddo gyrhaedd stad fywiol yn y groth, neu pe na chyrhaeddai byth yn blentyn perffaith. Fel hyn mae miliynau ar filiynau o filrhithiau truenus, ag na welsant erioed oleuni dydd, pa rai a deflir i fflamau uffern mor sicr â'r gwaethaf o bechaduriaid! A phob hedyn neu filrith dynol ag a feddiannodd y posiblrwydd anianol o fodoli yn y byd hwn, a gaiff, yn ddiammau, ei gospi mewn trueni yn y nesaf! O ran dim a geir yn yr hyn a elwir cyfammod gweithredoedd, rhaid i'r dosparth hwn o dduwinyddion lyncu y dyb ofnadwy hon.

Yn mhellach, dylai cefnogwyr y gyfundrefn hon ffurfio tybiau priodol am natur pechod, ac am halogrwydd meddwl, cyn priodoli y naill na'r llall i faban analluog o feddwl dim. Mae afiechyd meddwl yn gynnwysedig mewn synwyrau gwallgofus, dymuniadau llygredig, neu ewyllys gyndyn. Cytunir yn gyffredinol, fod y blaenaf yn anffawd, ac nid bai, am fod y meddwl yn hollol anwybyddus oddefol: ac onid fel hyn yn hollol y mae y ffaith gyda'r dymher a'r tuedd cyntefig yn mha un ein cenedlir? A chaniatau y dysgrifiad o bechod yn—"unrhyw ball mewn cydffurfiad â, neu droseddiad o, gyfraith Duw," dylem fod yn dra sicr yn y gosodiad, y gellir cyflawni y trosedd neu ddiffyg cydffurfiad hwn, gan y meddwl, cyn mwynhau o hono unrhyw wybodaeth o rwymedigaeth foesol. Os ystyriwn mai ynfydrwydd yw cyhuddo dynolryw o gyfeiliornadau mewn barn, cyn bod o honynt yn alluog i resymu, pa fodd y gallwn dybied fod eu hewyllys yn llygredig cyn bod ewyllys ganddynt; na'u cyhuddo o fod yn euog o bechod Adda, mewn na gweithred na chydsyniad, cyn bod ganddynt allu i weithredu na chydsynio ychwaith?

Yr eithaf ag a ellir ei osod yn erbyn y meddwl dynol, yw ei fod wedi ei ffurfio, fel ag mewn amgylchiadau neillduol, yr arddengys ei fod yn dueddadwy i wneuthur drwg. Ond, nid oes yn y cyfryw gyfansoddiad, ynddo ei hun, ddim mwy o bechadurusrwydd nag sydd yn anffawd synwyrau gwaethedig. Bydded y duedd naturiol mor rymus ag y bo, rhaid fod y gwrthddrych mor ddiniwed oddiwrth euogrwydd ag yw cenaw dywalgi yn amddifad o greulonder, cyn anadlu o hono yn awyrgylch ei ysglyfaeth, a chyn derbyn o hono reddfol ffyrnigder ei fam. Mae haint neu wenwyn ei hun, tra yn yr ŵy neu gronell (os caniateir yr ymadrodd) yn sicr o fod yn ddiniwed, yn enwedig os cedwir mewn cyflwr o berffaith lonyddwch. Ac ni allai had llonydd pechod, a chaniatau fod y fath beth yn bodoli, gael ei gyhuddo o

ddrwg haeddiant. Rhaid i'r titl hwn gael ei gadw yn ol hyd nes ymwthio efe allan hyd yn bechod gweithredol.

Ond, y mae yn rhaid i'r hwn sy'n manwlsylwi ar ymddadleniad y cymmeriad dynol, gyfaddef er gwaethaf yr holl gredoau, y Platoniaeth, a'r Awstiniaeth, o fewn y wlad—fod y meddwl wedi ei ffurfio, fel ag, mewn amgylchiadau neilltuol, y mae yn ymddangos yn dueddol i *dda* hefyd; a phaham na ellir caniatau i'r ffaith hon, gyda'r unrhyw briodoldeb, sefyll yn dystiolaeth o *ragoroldeb* cyffredinol ein natur? Nid wyf yn dywedyd fod dyn i'w gael yr hwn ni phechodd; ond fod rhai o'r cyfryw i'w gweled yn gwneyd *da* dan rai amgylchiadau. Paham na ellid ymhelaethu ar yr holl ddaioni a ganfyddir mewn dyn, a'i gyhoeddi yn bertfaith, mewn canlyniad i'w deimladau da, mor gyfreithlon ag y gall y lleill ei nodi â'r cymmeriad o gyffredinol halogedig, mewn canlyniad i'w rai drwg? Pe byddai cyfansoddiad naturiol dyn yn gyfryw ag a haerir gan y duwinyddion hyn, byddai raid ei fod yn bechadurus. Eithr, dylai yr ystyriaethau hyn brofi ygwrthwyneb. Mae *cyfansoddiad* dyn mor wag o ddrwg ag yw efe o dda, onide, ni welid byth mohono yn gwneyd y ddeu beth. Nid yw dyn, o ran ei natur neu sylwedd, yn haeddu na chosp na gwobr. Ei weithredoedd, a'i fywiol deimladau yn eu gwaith, sy'n unig yn haeddu hyny. Duw yw Awdwr ein cyfansoddiad: nyni ein hunain yw awdwyr ein cymmeriad Duw a'n gosododd mewn hollol uniondeb i gael gwneyd da neu ddrwg, fel y mynem: nyni a osodasom ein hunain yn ngwaith y drygioni yn lle y daioni. Am wneyd y drwg a allasem ei ochelyd, ac am ochelyd y da a allasem ei gyrhaedd, ein cospir gan y Barnwr cyfiawn yn y diwedd. Ceir yno fod pob rhwystr, anhawsdra, anian, naws, greddf, neu ba beth bynag arall, a fo wedi ein hattal i wneyd rhyw weithred dda, yn ddigon o esgus drosom, os nad ein gwaith gwirfoddol ein hunain ydoedd y rhwystr hwnw.

---

## TRAETHAWD XI.

### PECHOD GWREIDDIOL DR. MOSES STUART.

*Naturiaeth a Rheswm yn ei wadu.*

"MAE holl hil Adda yn dyoddef mwy neu lai mewn canlyniad i, neu o achos, y cwymp; collasant bob un, o leiaf, yr ystad wreiddiol o dueddiad at gyfiawnder ag a berthynai i'n rhieni cyntaf, ac y maent oll yn agored i ryw niwed neu gilydd, hyd yn nod heb eu caniatad, a chyn un gweithrediad gwirfoddol o'r eiddynt. Deuant oll i'r byd yn y fath stad ag sy'n ei gwneyd *yn sicr* mai eu chwantau hyny ag sydd yn arwain i bechod a ennillant y dydd,—yn y fath stad ag na fydd ganddynt byth ddim gwir santeiddrwydd nes eu genir drachefn. Y mae, o leiaf, gan bechod Adda ddylanwad pwysig ar gymmeriad a thrueni yr hil ddynol i gyd."—Stuart, *Excurs.* iv.

"Yr wyf yn caniatau fod dynion yn cael eu geni gyda thueddfryd (*disposition*) ag a'u harwain yn sicr, a phob amser, i bechod, yn eu holl weithrediadau o natur foesol, hyd eu hadgenedliad."—Yr un.

"Mae yn sicr, mwy, am bob un ag a gaffo fyw yn ddigon hen i bechu, mai pechu a wna. Daeth y sicrwydd arnom drwy y cwymp. Gosodwyd ni oll mewn cyflwr, yn yr

hwn yr ydym yn sicr o ddod yn bechaduriaid, a dim arall. Mwy na h i ellir ei wneyd allan o'r Beibl."—Yr un.

"Genir ni gyda thuedd hollol groes i'r hon ydoedd yn Adda; canys at weithrediadau santaidd y tuedd-benai ei duueddfryd llywodraethol ef. *Excurs.* vi.

"Genir pob dyn i'r byd o ran anianawdd ac amgylchiadau ag sy'n ei wneyd yn sicr o bechu."—Yr un.

Mae Stuart yn dychrynu rhag yr anghyfiawnder sydd yn y dyb Awstinaidd: medd efe—"Mae y rhai a ddaliant fod tueddfryd genedigol dynion ei hunan yn bechod, yn methu cydsefyll â hwy eu hunain yn hollol, pan wesgir arnynt ganlyniadau eu tyb. Pwy a roddes i ni ein bodolaeth? Pwy a benderfynodd y priodoleddau *(qualities)* â pha rai ein genid? Nid nyni ein hunain; nid ein rhieni; o leiaf, nid oedd un weithred wirfoddol yn bod o'r eiddynt, yr hon a allai benderfynu priodoleddau ein natur. A roddes ein Gwneuthurwr i ni, gan hyny, dueddfryd ag sydd ei hunan yn bechod? Rhaid sefyll yn ngwyneb y cwestiwn; ac ychydig sydd yn ddigon gwynebgaled i wneyd hyny. Methodd President Edwards. Ei wroldeb a fethodd yma. Er fod ei lyfr wedi ei adeiladu gan mwyaf ar y golygiad, o fod pechod yn rhagflaenol ynom i bob dewisiad a gweithrediad, mae efe, nid yn unig yn arwyddo fod golygiad arall yn rhesymol, pan wesgir arno y cwestiwn, Pwy a'n gwnaeth yr hyn ydym? ond y mae efe yn gwario pennod gyfan i gadarnhau hyny."—Stuart, *Excurs.* vi. Ond gadawn Stuart i brofi fod Edwards yn gwrth-ddweyd ei hun, ac awn i olrhain, pa un a yw yntau yn gwneyd yr un modd ag ef ei hunan, ai peidio?

Mae effaith pechod Adda, medd efe, yn ein ysbeilio o'r hyn a eilw efe yn santeiddrwydd gwreiddiol. Yn nesaf, ni bydd genym byth ddim "gwir santeiddrwydd hyd nes ein genir drachefn," sef ni wnawn ddim da cyn hyny; a'r drwg achos yw y cwymp. Y dull o drosglwyddiad y golled hon, yw peri "ein geni â thuedd hollol groes ynom i'r hon oedd yn Adda." A'r oll yn oll yw, fod *sicrwydd* yn y cwymp mai pechu yn unig a wnawn! Ni fyddai waeth genyf fi y dyn a heuai hadau llofruddiaeth yn fy nghyfansoddiad, na'r hwn a'i gwnelai yn *sicr* mai llofrudd fyddwn:—yr hwn a'm gwnelai yn reddfol lofrudd, na'r hwn a barai fy ngeni mewn ansawdd, ac yn nghanol amgylchiadau, ag a'm gwnelai yn *sicr* lofrudd. Man a man yw i mi. Man a man yw o ran camwri â mi. Dewis ni *chefais* gan felldith greddf enedigol Awstin: dewis oedd *ofer* i mi gan felldith sicrwydd ansawdd ac amgylchiadau Stuart. Ni waeth heb wasgu arnaf yr hen wrthddadl, fod Duw yn trefnu i blant *ddyoddef* am bechodau eu rhieni, yn mhob oes a gwlad. Gallaf ganiatau hyny, a gofyn yn ol:—Ai yr un peth yw trefnu i blant *ddyoddef* â threfnu iddynt *bechu?* Am y *pechu* mae y ddadl: gallwn gytuno am y *dyoddef* yn hawdd, ïe, a'r *marw* yn drwyadl hefyd. "Gosodwyd i ddynion farw unwaith," ond nid *pechu ganwaith*, nac unwaith ychwaith, er hyny.

Gosodwn y golygiad hwn, fel yr un Awstinaidd, gerbron y frawdle wladol. Wele y carcharor wedi ei gael yn euog o lofruddio ei gydgreadur! Wele y barnwr yn parotoi at gyhoeddi y ddedfryd ddienyddol uwch ei ben! Ond, yn y fan wele ei rieni a'i gymmydogion yn sefyll i fyny, ac yn cael cenad i draethu yn fanylach ansawdd ac

amgylchiadau y lladdiad. Egyr un ei enau, gan ddywedyd:—"Mae y carcharor, f'Arglwydd, yn debyg o gael dyoddef o achos codwm a gafodd efe pan yn faban, drwy yr hwn y collodd efe bob tuedd at beidio llofruddio o hyny allan. Nid drwy ei ganiatad na'i ddewisiad ei hun, y dechreuodd y duedd (*disposition, quality:* geiriau Stuart ei hun) waedlyd ynddo ef." Yna arall a gymmerth i fyny yr un dystiolaeth, gan ychwanegu:—"Fy Arglwydd Farnwr! Yr oedd rhywbeth yn y codwm a nodwyd yn ei gwneyd yn *sicr* mai llofruddio a wnelai y carcharor. Diau fod ynddo fath o dymherau gwahanol a chroes i hyny; etto, yr oedd yn y codwm rywbeth ag oedd yn sicrhau mai y duedd waedlyd a ennillai y dydd." Yn drydydd, wele feddyg medrus o gymmydog i'r carcharor yn sefyll i'r lan, ac yn dywedyd ar lw:—"Gwyddwn i yn ddiammheuol, er pan gafodd efe y cwymp a nodwyd, fy Arglwydd, nad oedd bosibl iddo beidio llofruddio cyn cymhwyso meddyginiaeth lwyddiannus at ffynnonell niwed y codwm." Yna, galwyd am ei dad, yr hwn gyda difrifwch a theimlad dwys a atebodd: "Yr oedd yn beth sicr am fy mab hwn, f'Arglwydd, er pan gafodd efe y codwm anffodus a nodwyd eisoes, 'os byw yn ddigon hen a gaffai i allu' llofruddio, 'mai llofruddio rhywun a wnelai.' Daeth y dynghed hon o sicrwydd ofnadwy arno gyda'r codwm. Gosododd y codwm ef mewn cyflwr, yn mha un yr oedd efe yn sicr o ddod yn llofrudd, a dim arall. Mwy na hyn nid oes genyf i'w dystio." Ac yn olaf, ebe rhyw ŵr ag a safasai gerllaw iddo pan gyflawnasai y llofruddiaeth:—"Gallaf fi dystio fod y carcharor ar y pryd, mewn ansawdd ac amgylchiadau ag oedd yn ei gwneyd yn sicr mai lladd y trancedig a wnelai efe." Gyda hyn, wele y barnwr yn rhoi terfyniad ar y dystiolaeth, ac yn cyhoeddi:—"Yr wyf yn gweled yma groes-dystiolaethu. Os rhyw effaith ar ei ben neu gyfansoddiad oddiwrth y codwm a nodwyd, oedd yr achos. *oddifewn* iddo ef ei hun yn unig yr ydoedd; ac y mae efe islaw cyfraith, ac yn wrthddrych priodol yn unig i'r gwallgofdy: eithr os ansawdd ac amgylchiadau, o'r ochr arall, oedd yn peri, ac yn gwneyd mai lladd y trancedig *yn sicr* a wnelai efe; pethau *oddiallan* yw hyny, a phethau oddiallan iddo yn *sicrhau* yr anffawd. Gwrthddrych carchariad, ac nid dienyddiad, yn unig fyddai efe gan hyny." Felly, mae yn amlwg fod golygiadau Stuart yn croes-ddweyd eu gilydd. *Yn y naill,* lle cyssyllta efe y condemniad neu felldith foesol, â'r geni, mae efe yn glynu yn y gors Awstinaidd, er maint ei lafur yn ei hulio â blodau, ac er ei holl ofal yn gosod astellau dan ei draed, er mwyn gallu ei chroesi yn ddiangol: ac os aeth Awstin at y gwddf iddi, mae yntau at y ceseiliau, ar bob ystyriaeth. *Yn y llall,* lle cyssyllta efe y condemniad ag anffawd amgylchiadau ac ansawdd, mae efe yn condemnio yr Awstiniaid, ac yn edliw iddynt eu trueni yn y gors lle glynant; tra mae efe ei hun hyd y gwddf yn nghors Adferiad o'r poenau, gyda'r Undodiaid; canys pa beth ellir osod ar ddyn a sicrheid i ladd dyn arall, gan ansawdd ac amgylchiadau, yn twy na *manslaughter,* lladd difwriad? *Wilful murder,* llofruddiad gwirfoddol, ni ellir osod yn ei erbyn ar un tir, ac ni wnaed erioed yn llysoedd gwledydd gwareiddiedig. A pha beth gwell na gorfodi y Barnwr olaf i gyhoeddi dedfryd o garchariad terfynol ar holl ddynolryw, a wna y golygiad

wn o eiddo Stuart; canys yn yr un goleu y rhaid i ni ystyried pob pechod gweithredol o eiddo plant dynion, âg yr ystyriai y barnwr gwladol a nodwyd y dynladdiad hwn, os cywir yw yr hyn a ddywed Stuart am y felldith wreiddiol ansoddawl ac amgylchiadol hon.

---

## TRAETHAWD XII.

### PECHOD GWREIDDIOL DR. DWIGHT.

Ymddengys y duwinydd dysgedig hwn yn dra chryno ac ymresymiadol gyda'r pwnc yma, fel gyda phob pwnc arall. Ei wall oedd cymmeryd yn ganiataol ryw gwpl o osodiadau, ac adeiladu ei resymiau ar y rhei'ny, yn lle eu holrhain yn gyntaf Gosodaf gerbron y darllenydd ganghenau ei ymresymiad ef, gan sylwi ychydig arnynt bob yn un, wrth fyned yn mlaen.

1. "Sylwais eisoes ar gyffredinolrwydd a graddau y llygredigaeth dynol; pwnc ein hymchwiliad nesaf fydd—Y ffynnonell o ba un y tarddodd y llygredigaeth hwn. Fy ngosodiad cyffredinol yw—Fod pawb yn pechu mewn canlyniad i wrthgiliad mawr Adda; a chaniateir, debygwyf, fod achos i'r llygredigaeth hwn. Mae efe, naill ai yn achosedig ai yn ddamweiniol. Os damweiniol yw, gall pob peth arall, o ran dim sy'n ymddangos, fod yr un mor ddamweiniol. Mae gwadu y gosodiad hwn yn gosod i fyny y dyb atheistaidd o fodolaeth ddamweiniol. Hefyd, ni all damwain gynnyrchu unffurfiaeth; ac y mae unffurfiaeth cymmeriad moesol gan holl hil Adda."

Wele gymmeryd yn ganiataol unffurfiaeth moesol dynion y byd, yr hyn a wadir gan y Doctor ei hun yn y geiriau canlynol:—"Nid yw y cymmeriad dynol wedi ei lygru hyd eithafion y galluoedd dynol. Y mae nodweddiadau neillduol yn y natur ddynol, pa rai, o'u hystyried ar eu penau eu hunain, a geir yn ddiniweid. Mae rhai o nodweddiadau naturiol y natur ddynol yn hawddgar *(amiable)*." Y rhai hyn ydynt osodiadau *Sermon* 31 o'i Dduwinyddiaeth ef. Yn awr, pan fo dyn yn dewis cyflawni unrhyw beth, pa ateb a geid ganddo pe gofynem iddo am yr achos o'r dewisiad? Onid mai yr achos oedd ei ewyllysiad ei hun, oddiar ystyriaeth o'r annogaethau o bob ochr i'r peth *Ymarferiad dyn o'i ryddid, yw yr achos* EFFEITHIOL *o'i holl dda a drw ef. Gorbwysiad yr annogaethau yn nghlorian ei farn ef, yw yr achos* ANNOGAETHOL *o'r ymarferiad hwnw.* Galluoedd i bwyso yr annogaethau, yw y cyfansoddiad creadigol sy'n ei wneyd yn *alluog* i gyflawn da a drwg. Duw yw Awdwr y peth yma. *Ymarferiad* o'r cyfryw alluoedd sydd yn ei wneyd ef yn *gyflawnydd* da a drwg. Efe ei hun yw awdwr y peth hwn. Duw yw yr achos o'r *gallu*; y dyn yw yr achos o'r *arferiad* o hono, Os oes achos i *bob* peth, y mae achos i fodolaeth Duw ei hun. Onid gwell fyddai dywedyd fod ewyllysiad y gweithredydd yn achos o'r weithred? Eithr os ar hyd y ffordd hon y myn y Doctor ein harwain, yr ydym mewn perygl o dremio dros y berth, a chanfod Adda yn pechu heb un achos oddiwrth ei dad na'i bencyfammodwr ef, ac o golli ffordd y Doctor drwy holi am yr achos o'r pechod hwnw yn hytrach; ac os ceffid yr achos o'r pechod cyntaf, mewn ewyllysiad yn ngwyneb gorbwysiad cam ar yr annogaethau, onid

ni, greaduriaid rhesymol, yn deffyg iawn o ddilyn y ffordd ddiogel hono, yr hon oedd â'i safle ar *ffaith*, yn lle y llall? Ond gwrandawn ar *ail* osodiad y Doctor.

2. "Mae yr achos hwn [achos y llygredigaeth] pa beth bynag yw, yn gymmesurol â'r effeithiau."

Mae felly yn ol y golygiad a gefnogir yma; eithr nid yw gymmesur yn ol y golygiad mai pechod Adda yw yr achos.

3. "Un achos raid fod i'r holl lygredd hwn, canys mae yr effeithiau yr un."

Pa fodd y *rhaid* fod yr un achos yn Adda i'r "nodweddiadau diniweid" a ganiataodd y Doctor, ag i'r rhai niweidiol—i'r rhai "hawddgar" a welodd efe yn mysg y rhywogaeth lygredig hon, ag i'r rhai cas? Diau mai *un* achos sydd i'r holl lygredd i gyd, sef dewisiad penderfynol yr ewyllys ddynol; ond, yr un yw achos yr holl ddaioni i gyd hefyd. Dealler mai achos *effeithiol*, ac nid *annogaethol*, a feddylir yn awr.

4. "Nid oedd yr achos hwn yn bodoli erioed. Megys nad oedd yr effaith yn bod pan oedd ein rhieni cyntaf yn anllygredig, diau nad oedd yr achos ychwaith yn bod."

5. "Wrth ymofyn am ffynnonell llygredd dynol yr ydym yn ymofyn ar ol ffaith."

6. "Nid wyf yn ystyried fod hiliogaeth Adda yn euog o'i gamwedd ef. Ni ellir trosglwyddo moesolrwydd nac euogrwydd gweithred, oddiar y gweithredydd ar erelll."

7. "Nid wyf, ychwaith, yn tybied fod hil Adda yn cael eu cospi am ei gamwedd ef."

8. "Yr wyf yn cael yn Rhuf. 5, 18, 19. fod drwy gamwedd Adda, ddedfryd Duw wedi disgyn ar bob dyn hyd gondemniad; a hyny, yn unig, am fod pob dyn, yn yr ystad hono o bethau ag a gyfansoddwyd (*constituted*, a drefnwyd, osodwyd i sefyll) mewn canlyniad i gamwedd Adda, wedi dod yn bechaduriaid (*became sinners*). Yr wyf yn analluog i eglurhau y modd o hyn; ac ni welais un cynllun o wneyd hyny ar nad oedd yn gadael yr anhawsderau mor fawr ag wrth ei adael yn y man y mae."—*Sermon* 32.

Beth! onid oedd "yr effaith," neu y pechod, i'w ganfod pan oedd ein rhieni cyntaf heb gwympo? Purion: gadawn felly. Ond, os effaith yw pechod, effaith yw yr ewyllysiad *cyntaf oll* sy'n ymgymmeryd â'r demtasiwn. Yn awr, os effaith ydoedd yr ewyllysiad hwnw yn Adda, yr oedd iddo achos hefyd yn Adda. Eithr, yn mha fan yn ei gyfansoddiad, ei fynwes, ei galon, yr oedd efe? chwilier pob congl, ond ceir chwilio yn ofer, canys mae yr un Doctor (*Serm.* 22,) wedi chwilio o'n blaen, a thystio nad oedd ynddo un gronyn (mewn dull moesol o siarad) o lygredd, drygnaws, na phechod. Ond, y mae achos i'n pechodau ni yn mhechod Adda, meddai efe; ac y mae efe wedi seilio hyny ar y philosophi hon,—nad all fod pechod yn mhawb heb ei achos yn nhad pawb. Ac yna, os peth a raid fod ag achos iddo ydyw, awn i ymofyn am ei achos lle dechreuodd yr effaith. Effaith yw ein holl bechodau ni. Nid yw pechod, gan hyny, yn achos, ond yn effaith o ryw achos arall. Felly effaith ydoedd pechod cyntaf Adda; ond, effaith o ba beth, atolwg? Pa beth oedd yn cynhyrfu y pechod cyntaf hwn? a allwn ni alw hwnw yn achos iddo, nes caffom well? Yn Adda nis gallai dim achosi neu gynhyrfu i fodolaeth yr hyn a elwir *pechod*, oddieithr rhywbeth ag oedd o fewn Adda. Ond,

o'i fewn nid oedd dim ond gwir santeiddrwydd, medd yr un doctor mewn lle arall. Ac yn ol yr un doctor etto, "mae yr achos o bechod yn gymmesurol â'r effeithiau;" sef, y mae gwir santeiddrwydd, yr anian achosol, yn gymmesurol â'r anian bechadurus, sef yr un effeithiol! Dyma y canlyniadau chwythig o osod deddfau achos ac effaith pethau anianyddol, yn ddeddfau i fodau moesol. Canlyniad anhebgorol yw effaith y cyntaf o'i achos. Canlyniad gwirfoddol yw y llall. Canlyniadau *rhaid* yw y cyntaf: canlyniadau *dewisiad* yw y llall. Nid oes un achos ffynnonawg neu wreiddiol i weithred gyfrifol un bôd moesol, ond ei ddewisiad ei hun. Nid peiriant, neu blaned, neu unrhyw sylwedd anianol o'r fath, yw y meddwl dynol. Achos i benderfyniadau y fath greadur a hwn, yn wir! Nid yw y geiriau *achos* ac *effaith* yn Ngeiriadur ysbrydion rhydd-ewyllysiawg. Nid yw yn y Beibl—llyfr eu cyfundrefu hwynt.

Etto, os "na ellir trosglwyddo euogrwydd na chosp camwedd Adda arnom ni," dedfryd o ba beth oedd "y ddedfryd o gondemniad" a gyfaddefa efe? Hynod y fath egni a wnaeth y gwr da hwn i gadw a chuddio y llygredd gwreiddiol yn ei gôl, gan ddangos ei ben goreu i'w ddarllenwyr; a rhag i neb o honynt ddysgwyl am iddo ei olrhain yn noeth o'u blaen. "yr wyf yn analluog i eglurhau dim," ebe efe. Eithr, daliwn sylw ar y gyfran a ddug efe i'r golwg o'i blentyn ei hun yn yr ymadrodd a nodwyd. Wele "ystad pethau" *(state of things)* wedi ei chyfansoddi, oherwydd, neu mewn canlyniad i *(in consequence of)*, gamwedd Adda" "Yn yr *ystad pethau* yma y genir dynion, ac y deuant yn bechaduriaid." Am *(because)* eu bod yn dod yn bechaduriaid yn yr ystad pethau yma, mae barn Duw yn disgyn arnynt oll i gondemniad. Drwy y camwedd hwn, fel moddion *(by means of the offence)*, y daw arnynt y cyfryw gondemniad am ddod yn bechaduriaid yn y cyfryw ystad. Dyma-ni, etto, yn yr un gors; er mor gywrain fu efe i guddio yr anllawd. Dyma bedwar peth—yr ystad pethau—y dod yn bechaduriaid yn yr ystad pethau—condemniad am ddod felly pan yn yr ystad pethau—y camwedd cyntaf yn dwyn y condemniad ar y creaduriaid a wnaethant felly pan yn yr ystad pethau hyny.

Cyfansoddwyd yr ystad pethau oherwydd camwedd Adda: felly, mae holl rinwedd neu fai bodolaeth yr ystad pethau, yn sefyll wrth ddrws yr hwn a'i cyfansoddodd. Nid myfi oedd y cyfansoddwr, canys cyn fy ngeni i y cyfansoddwyd hi. Felly, yr wyf fi yn lân oddiwrth holl waliau *ystad pethau*; byddont a fo.

Y *dod yn bechaduriaid* a raid, mae'n debyg, ei osod wrth ein drws ein hunain, er fod "un achos" iddo i gyd; ac fel y mae pob achos yn bodoli o flaen yr effaith, a ninnau yn "dod yn bechaduriaid" o'n dechreuad, rhaid fod yr achos o hyn cyn ein bod. Darllener golygiad y doctor ar achosion ac effeithiau drygau moesol, ar ddechreuad y *Traethawd* hwn.

Y *condemniad* am ddod yn bechaduriaid pan yn yr ystad pethau a nodwyd, sydd weithred o eiddo Duw, yn yr hon yr ydym *oddefol* yn unig.

Y *camwedd cyntaf*, oedd eilwaith yn weithred o eiddo Adda.

Yr anghyfiawnder yn ol y golygiad hwn, yw cyfansoddi ystad-

pethau, a'n gosod ninnau ynddi, tra'n gwybod fod yn yr ystad hôno *achos* yn dirgel ond "cyffredinol" weithio, nes mai yn llygredig y tyfai pawb o fewn yr ystad: mai effaith yr achos hwnw fyddai hyny; tra yn gwybod mai dedfryd gondemniol a ddisgynai arnom, am fod lle ein *gosodwyd*, yn yr ystad pethau a *gyfansoddwyd*, ac am fod ynom effeithiau a *achoswyd* gan gamwedd ein tad Adda. Y camwedd heb ein cenad, a'r cyfansoddi heb ein cenad, a'r condemniad heb ein cenad; y dod yn bechaduriaid, yn ddiau, *drwy ein cenad*, ond cenad effaith i ddilyn ei achos yn unig ydoedd—cenad gorfodaeth moesol; y cenad a ddyry pob dafn o'r dwfr i'r afon redeg i'r môr; y cenad a ddyry y baban i'w waed redeg yn ei wythenau; neu y cenad a ddyry yr haul i'w belydrau chwalu. Cenad effaith anianol i'w achos anianol. Dyma y gors i ba un y suddodd dyn galluog, o ddiffyg gollwng allan y gwir yn gydwybodol, doed a ddelo o gredoau enwadawl, a chyssylltiadau colegawl.

Nid ymddengys fod yr "ystad pethau" yma, yn ddim amgen i'r "ansawdd a'r amgylchiadau," o eiddo Stuart, yr hyn a brofwyd yn y Traethawd diweddaf, yn rhwystr i Dduw farnu pechod dyn yn ddim gwaeth nag anffawd *(manslaughter)*.

---

## TRAETHAWD XIII.

### PECHOD GWREIDDIOL ALBERT BARNES.

"CYFEIRIA y gair *marwolaeth* yma (Rhuf. 5, 12) at yr osgordd o ddrygau a ddygwyd mewn gan bechod. Nid marwolaeth dymhorol yw ei unig arwyddocad; ond yr holl gydgasgliad o waeau sydd yn cynnwys marwolaeth dymhorol, condemniad, a gosodiad yn agored i farwolaeth dragwyddol."—*Ar pen.* 5, 12.

"Cyssylltwyd yr hil ddynol ag Adda drwy osodiad dwyfol, fel yr oedd yn sicr, os syrthiai efe, y deuai pawb i'r byd yn meddu natur lygredig (*depraved*, halogedig), ac yn agored i adfyd, a marwolaeth; nes yr ymddygid atynt megys rhai cwympedig, ac y taenai ei bechod ef fel hyn droseddau, a gwae, a marwolaeth yn mhob man.—*Ar adn.* 14.

"Yr oedd yn un o effeithiau pechod Adda, i amgau y rhywogaeth dan gondemniad dedfryd y ddeddf, ac i fod yn bechaduriaid."—*Ar adn.* 16.

"Cynnwysai y ddedfryd benydawl ar Adda, halogrwydd gwreiddiol, a melldith, a phoenau uffern byth. Gosodir ei hiliogaeth, mewn canlyniad i'w bechod ef, dan yr un stor o ddrygau â phe buasent eu hunain yn droseddwyr. Nid am eu bod yn cael eu hystyried megys yn bersonol haeddiannol nac euog am ei bechod ef. Cyfrifa Duw bethau fel y b'ont, ac nid yn anghywir, ac y mae ei holl gyfrifiadau ef yn ol gwirionedd. Efe a olygodd Adda megys yn sefyll ar ben rhenc ei hiliogaeth; a golyga hwynt, ac ymddyga atynt, oll megys yn dyfod i'r byd yn ddarostyngedig i boen, a marwolaeth, a halogrwydd, fel canlyniad o'i bechod ef. Mae *rhywbeth* yn rhagflaenol i weithrediad moesol ei hiliogaeth, ac yn tyfu allan o'r berthynas sydd rhyngddynt ag ef, yr hyn sydd yn ei gwneyd yn sicr y pechant can gynted ag y dechreuant weithredu fel creaduriaid moesol. Dichon i ni fethu gwybod pa beth yw hwn; ond gallwn fod yn sicr nad halogrwydd anianyddol (*physical depravity*) ydyw, nac un creadigol sylwedd o'r enaid, na dim ag a all attal y weithred gyntaf o bechod i fod yn wirfoddol."—*Ar adn.* 19.

Dyma ei gollwng hi allan yn dêg ac eglur! Dyma ein Creawdwr

daionus yn gosod yn mhob baban "rywbeth." "Allan o'r berthynas oedd rhwng y baban ag Adda y tyfodd" y rhywbeth ofnadwy, ond annesgrifiadwy hwn. Can sicred ag y tyfa y baban i faintioli, mae rhywbeth yn nghyfansoddiad y "rhywbeth" hwn, fel eryr am ei ysglyfaeth, ag a'i gwna yn *sicr* o bechu; a'r hyn sy'n waeth etto (er mai yr un peth mewn ffaith ydyw), heintir, gwallgofir, amgeuir, ei *wirfoddolrwydd*, nes y gwneir iddo bechu dan gânu. Ac ar ol gallu cyhoeddi hyn oll, cyfyd y duwinydd ei law i'r nefoedd, a thremia yn ngwyneb cyfiawnder y Creawdwr, a dywed: "Gwneir hyn oll i'r baban, er nad yw efe yn euog, ychwaith: ymddygir at y baban diniwed fel at ddyn cwympedig, ond nid yw efe yn euog o gwympo ychwaith: amgauir ef cyn yr agora ei lygaid yn nghol ei fam, dan gondemniad dedfryd y ddeddf, er na throseddodd efe sill o'r ddeddf ychwaith: gosodir ynddo halogrwydd pechadurus gan osodiad y Duw sy'n lanach ei lygaid nag y gall edrych ar bechod, fel na allo mwy edrych ar wyneb glân y baban hwn, er yn gwybod na wnaeth, ac na allodd, y baban ei ddigio ef erioed. "Cyfrifa Duw bethau fel y b'ont" o hyd wrth wneuthur fel hyn. Pentyra "adfyd" pechod Adda, a "gwae" pechod Adda, a "marwolaeth" pechod Adda, a "chondemniad" pechod Adda, a "darostyngiad pechod Adda i farwolaeth dragwyddol"—pentyrir, "drwy osodiad dwyfol," yr holl ddrygau ofnadwy a difesur yma yn phiol tynghedfen pob baban ganedig i'r byd; a gwaeth na hyn etto—gwaeth na phoenau: gall dyn gadw ei gymmeriad er maint ei boen a'i golledion; ond yma, ysbeilir o'i gysur, ei iechyd, ei fywyd, a'i ddedwyddwch bythol, drwy osodiad dwyfol cyn ei fod, heb ei genad,—ïe, ysbeilir ef o'i nodweddiad a'i gymmeriad; gwneir iddo fod yn bechadur! "Nid oedd efe yn bersonol haeddiannol ychwaith, nac yn euog o'r weithred a barodd y cwbl." Yn awr, un gair cyn gadael Mr. Barnes —Os camwedd Adda, yn ngrym y gosodiad dwyfol, oedd yr achos fod "gweithred gyntaf" pob dyn yn bechod, rhaid fod y gweithredydd, ys dywed yntau, yn wirfoddol, onide, nid *pechod* fuasai y weithred. Yn awr, pa beth yw yr achos fod yr ewyllys yn gwirfoddol ddewis y pechod y tro cyntaf fel hyn? Atebiad ein hawdwr yw, mai y "*rhywbeth* ag sy'n tyfu allan o berthynas y dyn ag Adda" ydyw. Felly, os nad yw y "rhywbeth" hwn yn gorfodi dyn i weithredu yn anwirfoddol yn y bai, mae efe yn naill ai gorfodi ai cyfansoddi y gwirfoddolrwydd, neu yn hytrach ei hewyllysiad. Mae y *rhywbeth* hwn o eiddo Barnes wedi gwneuthur yr ewyllys yn ewyllysydd dim ond un ochr yn unig; hyny yw, yn ddim ewyllys o fath yn y byd; ond yn hytrach yn rhywbeth sy'n offeryn gwasaidd yn llaw ei "rywbeth" ofnadwy, ac adfydol, ac angeuol, a llygriadol, a damniol, a rhagfynedol, ef. Rhywbeth rhyfedd yw y "Rhywbeth" hwn! Sicrha i ddyn gael dewis ei ddewisiad ef ei hun yn unig. Penderfynodd efe bechod yn beth cyntaf dewisiad yr ewyllys ddynol; a chan sefyll wrth ei phenelin o hyd, gan ei pheri yn anffaeledig i ddewis ei bethau ef ar redeg, ac o'i bodd, heb gamsynied unwaith, efe a ddyrchafa ei law i'r nef, ac a heria holl ddeiliaid uniondeb, gan ddywedyd:—"Dyma yw gwirfoddolrwydd: ni wnaethum ddim erioed i attal yr ewyllys i ewyllysio y naill ochr fel y llall; etto, gwyddwn, a sicrheais, mai fy ewyllys fy hun yn

unig a ewyllysiai yr ewyllys drwy y cwbl." Dyna "Rywbeth" Albert Barnes! Ond, Gwel ragor ar "Bechod Gwreiddiol Awstin, &c."

---

## TRAETHAWD XIV.

### PECHOD GWREIDDIOL "Y PREGETHWR A'R GWRANDAWR," &c.

Gan fod un Enwad lliosog o'n cydgenedl wedi rhoddi derbyniad helaeth i'r gwaith dan sylw, a rhai o'u gwyr enwocaf wedi cyhoeddi eu cymmeradwyad o hono, nid cymhwys fyddai gadael y pwnc, cyn talu sylw i'w ymresymiadau yntau drosto.

"Lladdodd Adda ei holl hiliogaeth, gyrff ac eneidiau, ar un ergyd,"—*Ail Argraff. tudal.* 34.

"Bod yn farw ysbrydol yw bod dan lywodraeth anian, nad oes dim yn tarddu o honi ond camweddau a phechodau; ac yr wyf yn meddwl mai y farwolaeth hon yw y rhan drymaf o'r gosp am dori cyfammod Eden,"—*dal.* 37.

"Mae i ddyn gael ei roddi i fyny i dueddiadau llygredig, yn gospedigaeth am dori cyfammod Eden, ac ar yr un pryd mae yn bechadurus yn y dyn fod y fath duedd ynddo."

Os felly, tybiwn fod dyn yn cael ei roddi i fyny i haint yn gosp am gamwedd ei hen-daid gynt; ac er nad arno ef yr oedd y bai am ollwng yr haint i mewn, "mae efe yn bechadurus am fod a'r haint hyny ynddo."

Cospwyd ef am ei fod yn ddieuog â haint yn ffynnonell ei iechyd, cospwyd ef eilwaith am fod yr unrhyw haint ynddo; a chospir ef yn oesol "am bob peth sydd yn tarddu oddiar yr haint" hon hefyd; ïe, gwneir hyn oll iddo gan dad anwyl a chanmoladwy!

Tybia yr awdwr yn mlaen ei fod yn dod yn rhydd o'r fagl, drwy brofi fod gollwng dyn i amryfusedd mwy yn gosp aml am yr amryfusedd cyntaf; eithr dylasai brofi yn mha le mae Duw yn cospi neb fel y dywed efe y cospir ni am ffrwyth camwedd Adda. Pechod y dyn ei *hun* oedd yr hwn a gospid ag amryfusedd i bechu mwy. Yr oedd hawl gan Fod cyfiawn i gospi felly. Pechod pwy o honom ni a alwodd am y gosp o gondemniad cyfammod Adda? Diau y gall yr un peth fod yn bechod a chosp ar yr un pryd, mewn gwahanol olygiadau; ond cofiwn mai cosp ar y person ag oedd yn cael ei ollwng i'w bechu ydoedd, am ei bechod blaenorol ei hun. Cymhariaeth anghymhwys oedd hon.

Eithr yn nhudal. 39, ymdrecha yr awdwr i ateb y gofyniad yn uniongyrchol. "Os darllenwch (medd efe) Gen. 2. 17, cewch weled mai y bygythiad am fwyta o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg oedd, "Gan farw ti a fyddi farw." Ac os darllenwch chwi gwed'yn Eph. 2. 1, cewch weled mai cyflwr dyn ar ol i Adda fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig yw, bod yn farw mewn camweddau a phechodau, sef yw hyny, bod dan lywodraeth anian bechadurus, heb ddim ond camweddau a phechodau yn tarddu o honi. * * * Y mae yn rhaid fod rhoddi dyn i fyny i'r anian hóno yn gosp arno am fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig."

Hynod iawn yw *logic* dallgredoaidd! Nid yw Paul yn Eph. 2, 1, yn

son dim am Adda, na'i gamwedd. *Camweddau, pechodau,* yn y rhif lluosog sydd yno: ac yn lle dywedyd mai yn ol anian camwedd Adda, "yn ol tywysog llywodraeth yr awyr," ebe efe; yn lle dywedyd mai llygredd trefnadawl o gwymp Adda, yr ysbryd sy'n llywodraethu yr awyr, ebe efe, sydd yn gweithio yn mhlant yr anufydd-dod. Ond rhagor yn y *Traethawd Ysgrythyrol.* Etto meddaf, dichon fod rhoddi i fyny y dyn a fwytaodd, i gyflawni pechodau ereill, yn gyfiawnder ag ef; ond cyfiawnder â phwy oedd ein rhoi ni i fyny am waith ei ddannedd ef, ïe, a'n llenwi â drygnaws halogedig i ddechreu?

"Anturiaf ddywedyd na ddatguddiodd Duw un ffordd i gadw dynion, hen nac ieuainc, ond drwy faddeuant, ac y mae maddeuant bob amser yn rhagdybio trosedd. Gan hyny, pan y mae babanod yn cael eu cadw, y maent yn cael hyny drwy faddeuant; ac os felly, rhaid fod y maddeuant hwnw yn eu cael yn droseddwyr; a'r unig drosedd y gallant fod yn euog o hono yw pechod Adda,"—*dal.* 56.

Yma, y gosodiad yw, fod babanod yn cael eu cadw; y prawf yw,—dim yn y byd! Y gosodiad nesaf yw, mai drwy faddeuant y cedwir hwynt: y prawf yw, na ddatguddiodd Duw un drefn arall o gadw dynion. Eithr, dylasai ein hawdwr gofio na ddangosodd efe ei drefn o gadw babanod, o achos da paham, ni ddangosodd Efe fod trefn i'w cadw ganddo. 'o achos da paham etto, ni ddangosodd efe erioed eu bod yn ddamnedig i ddechreu. Mae yn wir am drefn Duw i gadw, fod yn rhaid maddeu ynddi; ac y mae mor wir â hyny, fod yn rhaid credu yn Nghrist ynddi; ac y mae mor wir â hyny, na chredir yn yr hwn ni chlybuwyd am dano; ac y mae mor wir â hyn oll, nad i fabanod, ond i bobl mewn oed, y perthyna y cwbl; ac o ganlyniad, ebe ein hawdwr, gan fod y bibl yn ddystaw am drefn babanod, agoraf fi fy ngenau arni, a chymmeraf ei ddystawrwydd ef yn sail dywedyd, fod y maddeuant a ganiateir i rai oedranus yn sail i'r dyb fod babanod wedi pechu yn Adda. Hynod, mor brin oedd seiliau castell pechod gwreiddiol y gwr, pan elai i'w adeiladu ar faddeuant croth y fam. A wyddai efe ei fod yn rhwym fel yma o ddal edifeirwch a chrediniaeth croth y fam, a chan na allant gredu yn yr hwn ni chlywsant am dano, ei fod yn rhwym o ddal hefyd dros bregethu a gwrando yn yr un sefyllfa?

"Dyna roddi i fyny y prif gwestiwn ar unwaith, sef fod pechodau y naill ddyn, mewn rhyw amgylchiadau, yn cael eu cyfrif i ddyn arall, er ei rwymo i gosp."—60.

Nage; nage; nid dyna "y prif gwestiwn." "Er eu rhwymo i *gosp.*" yn wir! Er eu rhwymo i *bechu,* yn hytrach. Dyna "y prif gwestiwn;" er fod ein hawdwr, naill ai o gyfrwysder yn ei guddio, neu o ffwdan yn ei anghofio, yn barhaus. Mae yr un faint o gagendor rhwng ein dadleuwr a gwynebu anhawsdra ei gyfundrefn, ag sydd rhwng ystyrion y ddeubeth a elwir *pechod* a *chosp.*

"Y gwahaniaeth rhyngom, bellach, mi feddyliwn yw, eich bod chwi yn barnu mai pechodau y Sodomiaid eu hunain, oedd unig achos eu dinystr hwy a'u babanod, a minnau yn tybied fod pechod Adda yn achos o'r cwbl.—Eu pechodau eu hunain oedd yr achos uniongyrchol o farwolaeth y rhieni a'r babanod; ond ai nid pechod Adda yw yr achos o fod dynion yn cael eu goddef i syrthio i bechodau ag sydd yn tynu dinystr arnynt hwy a'u plant,"—*tudal.* 60.

Ond pa beth a ddywedai Duw ei hun am "yr unig achos o'u din-

ystr?" "Am fod gŵaedd Sodom a Gomorra yn ddirfawr, a'u pechod hwynt yn drwm iawn: disgynaf yn awr, ac edrychaf, ai yn ol eu gwaedd a ddaeth ataf fi, y *gwnaethant* yn hollol" (Gen. 18, 20, 21). Ac ebe yr angylion dranoeth: "Ni a ddinystriwn y lle hwn *am fod* eu gwaedd hwynt yn fawr yn erbyn yr Arglwydd" (19, 13). "Rhag dy ddyfetha di yn anwiredd y ddinas," ebe'r angylion eilwaith, yn adn. 16. Dyna yr unig achos, medd gair Duw. Ond, "am fod Adda wedi pechu yn ddirfawr, a'i bechod ef yn drwm iawn," medd Mr. Williams. Felly yn ol y gyfundrefn hon, barn Duw am bechod Adda yw gwaith Duw yn rhoi dynion i fyny i bechu yn awr. Ond, attolwg, os barn Duw am bechod ein pencyfammodwr yw yr achos o fod Duw yn ein gadael *ni* i bechu, barn Duw am bechod pa bencyfammodwr, oedd yr achos o fod Duw wedi gadael i *Adda*, ein pencyfammodwr ni, bechu ar y dechreu? Canys, onid yw ein duwinydd yn gosod pechod Adda yn waeth na hyd yn nod pechod y Sodomiaid? Barn am ryw hen bechod ofnadwy raid fod gadael i Adda santaidd ac uniawn bechu y fath bechod a hwnw; ac onide, dyna osod Duw yn ollyngydd Adda i bechod, heb un pechod gwreiddiol yn achos o hyny, yr hyn, yn ol credo ein hawdwr, fuasai yn anghyfiawn ei wneyd tuag atom *ni*, a thyna sy'n ei yru i gofleidio ei gyfundrefn o bechod gwreiddiol mor gynhes, debygwyf. Ond, am gymhwysiad ei blastr at ddolur Sodom, efe a aeth yn gymmaint gwr, nes y datguddiodd efe bethau croes i ddatguddiad dwyfol, ac y rhesymodd efe goruwch, os nad yn groes, i bob rheswm.

"Ond cyn taflu y golygiad Calfinistaidd heibio oblegid yr anhawsdra a enwasoch, dymunaf arnoch ystyried ai nid ydyw y Morganiaid a'r Ffwleriaid yn cyfarfod â'r un fath anhawsdra? Dywed y Calfinist wrthyf, fy mod wedi dyfod i'r byd yn euog, hyny yw, yn rhwym i gosp dragwyddol. Ond dyma y Ffwleriad yn ceisio fy nghysuro gan ddywedyd mai camgymmeryd yr oedd y Calfinist, nad oeddwn i ddim yn euog yn dyfod i'r byd; ond fy mod mor llygredig fel nad oedd bosibl i mi beidio â bod yn euog mewn byr iawn o amser. Cysur gwan iawn yn wir! Cais Morgan drachefn fy nghysuro, gan ddywedyd, fod y ddau gyntaf wedi camgymmeryd yn ddirfawr; nad oeddwn i nac euog na llygredig pan y'm ganwyd, eithr fy mod y pryd hyny megys papyr gwyn; ond fod fy Nghreawdwr daionus wedi fy rhoddi mewn lle mor llawn o demtasiynau a maglau, fel yn wir nad oedd obaith i mi ddianc heb ddyfod yn fuan i afael llygredigaeth ac euogrwydd. Onid priodol fyddai dywedyd wrth y ddau, "Cysurwyr gofidus ydych chwi oll?" Dywed y Calfinist, Y mae eich clefyd yr un oed a chwithau. Nac ydyw, medd y Ffwleriad, ond y mae ei hadau yn eich cyfansoddiad, fel yr oedd yn rhaid i'r clefyd ei hun ymaflyd ynoch pan yn ieuanc iawn. *Nonsense* i gyd, medd Morgan, yr ydych wedi eich geni mewn perffaith iechyd, a chyfansoddiad glân oddiwrth bob hadau drwg: ond y mae yn wir eich bod wedi eich rhoddi yn y fath le heintus, nad oes neb a ddel iddo yn dianc heb gael yr haint yn fuan iawn. Ow, ow, meddaf finnau, os yw fy nghlefyd i farwolaeth, ba waeth pa un ai ei fod yr un oed a minnau, neu ei fod yn tarddu o ryw ddiffyg yn fy nghyfansoddiad; neu, ynte, fy mod wedi ei gael trwy heintusrwydd y lle y'm gosodwyd ynddo? Nid yw yn haws i mi weled daioni fy Nghreawdwr yn y ddau olygiad olaf nag yn y cyntaf. Felly chwi a welwch nad ydyw yr anhawsdra ddim llai ar ffordd Morganiaid a Ffwleriaid nag ydyw ar ffordd y Calfinistiaid.

Eithr, cymhariaeth annheg iawn yw cymhariaeth o *glefyd* i arddangos ein golygiad *ni* am bechod, er ei bod yn gymhwys at olygiad ein

hawdwr a'i frodyr, canys arferant hi. Alleiriaf ei gymhariaeth ef yn awr, er mwyn dangos ei hannhegwch, a gosodaf *bechod*, sef y *weithred* feius a elwir *pechod*, ac nid un stad yn y byd, yn lle y *clefyd*.

"Dywed y Calfinist wrthyf. fy mod wedi dyfod i'r byd yn euog, hyny yw, yn rhwym i gospedigaeth dragwyddol. Ond dyma y Ffwleriad yn ceisio fy nghysuro, gan ddywedyd mai camgymmeryd yr oedd y Calfinist, nad oeddwn i ddim yn euog yn dyfod i'r byd; ond fy mod mor llygredig fel nad oedd bosibl i mi beidio â bod yn euog mewn byr iawn o amser. Cysur gwan iawn yn wir! Cais Morgan drachefn fy nghysuro, gan ddywedyd, fod y ddau gyntaf wedi camgymmeryd yn ddirfawr; nad oeddwn i nac euog na llygredig pan y'm ganwyd, eithr fy mod y pryd hyny megys papyr gwyn; ond fod fy Nghreawdwr daionus wedi fy rhoddi mewn lle mor llawn o demtasiynau a maglau, fel yn wir nad oedd obaith i mi ddianc heb ddyfod yn fuan i afael llygredigaeth ac euogrwydd. Onid priodol fyddai dywedyd wrth y ddau, 'Cysurwyr gofidus ydych chwi oll?' Dywed y Calfinist, Y mae eich pechod yr un oed â chwithau—wedi ei gyflawni gan dad santaidd i'ch damnio byth, o'r bron er cyn seiliad y byd. 'Nac ydyw,' medd y Ffwleriad, 'ond y mae hadau y pechod yn eich cyfansoddiad, fel yr oedd yn rhaid i'r pechod ei hun ymaflyd ynoch pan yn ieuanc iawn.' *Nonsense* i gyd, medd Morgan, yr ydych wedi eich geni yn berffaith ddibechod, a chyfansoddiad glân genych oddiwrth bob llygredd gwreiddiol; ond y mae yn wir eich bod wedi eich rhoddi yn y fath fyd pechadurus, nad oes neb a ddel iddo yn dianc heb bechu yn fuan iawn."

Yn awr, pe bai ysgrifenydd y Traethawd hwn yn cael ychwanegu pedwarydd golygiad, deuai i mewn ar ddiwedd un Morgan, yn gyffelyb i hyn:—"Gwyliwch rhag y clefyd, canys y mae pob un a ddaw i fyw i'r wlad yna yn ei gael. *Nid yw yn heintus;* nid oes neb yn ei gael oddiwrth anadl na chyffyrddiad y llall, nac oddiwrth gydfwyta, cydorwedd, na chydfyw, *oddieithr eu bod yn caru ei gael.* Gwyliwch chwi, gan hyny, oherwydd mae pawb na fo ar ei wyliadwriaeth mewn perygl o'i gael; ond *nid neb arall byth.* Nid oes un rhaid ar neb i'w gael; mae Duw yn groes iawn i hyny, a chwedi gosod pob mantais i'w ochelyd wrth law."

A chan mai gweithred, ac nid cyflwr, yw pechod—y clefyd hwn; pan fo dyn yn cyflawni y weithred y mae efe dan y clefyd. Pan wnelo efe weithred rinweddol, nid yw y clefyd arno y pryd hyny. Felly, dylid ychwanegu:—"Gair yn mhellach, greadur, ar dy fynediad i'r wlad yna, cofia nad oes dim yn yr awyr ond iechyd pur, nac yn dy gyfansoddiad dy hun ychwaith, ond iechyd perffaith. Ac er y cei mai dan y clefyd mae amryw yn barhaus, etto cei rai yn iach o hono ar amserau; felly, cymmer ofal, canys dy fai dy hun yn unig fydd yr achos o'th afiechyd." Gweler mor wahanol yw y golygiad yna i'r tri arall a osodasai ein hawdwr mor annheg—dau o honynt, o leiaf, ar ysgwyddau ei wrthwynebwyr.

Eithr, awn yn mlaen gyda'r un gydmhariaeth *ychwanegol* o'r eiddom yn awr, gan ei chymhwyso at olygiad Mr. Williams, canys yr oedd yntau hefyd yn pregethu rhywbeth tra thebyg iddi, pan anghofiai efe.

ei bechod a'i faddeuant croth y fam:—"Pechadur, gwylia rhag y clefyd, canys dy ddyledswydd arbenig yw; onide, ti a golli dy fywyd yn sicr; eithr y mae efe eisoes yn dy waed, fel na elli lai na cholli dy fywyd, er dy holl wyliadwriaeth. Gan hyny, rhed at y meddyg anffaeledig, canys nid oes un arall a ddichon achub dy fywyd o'th bla; eithr, rhed di a fynot, druan, ni chyrhaeddi di ato byth: mae hyny yn anmhosibl i ti o honot dy hun. Ymgysura dan y cwbl, druan tlawd, canys y mae efe wedi ysgrifenu enwau llawer o honoch yn ei lyfr; ac fe allai fod dy enw dithau yno, iddo gael galw heibio i ti, a'th iachâu; eithr, dichon nad yw; os nad yw, marw a wnei o'th glefyd. Ie, byddi dan boenau marw byth ynddo, am ei fod yn dy waed, ac am na wellheaist dy hun, yr hyn ni ellit; ac am na ddeuaist at y meddyg, yr hyn ni ellaist ychwaith; ond yn benaf, am fod y clefyd yn ngwaed y teulu, yr hyn ni ellaist wrtho, canys heb dy genad y bu, oesoedd lawer cyn dy fod." Nid wyf yn condemnio etholedigaeth Duw; ond yn dangos mor chwythig yr ymddengys gyda phechod gwreiddiol yn yr un gyfundrefn o ras â hi.

"Ow, ow! pa waeth i mi (ebe'r "Pregethwr") pa un ai fod fy nghlefyd yr un oed a minnau, neu ei fod yn tarddu o'ryw ddiffyg yn fy nghyfansoddiad; neu ynte fy mod wedi ei gael drwy heintusrwydd y lle y'm gosodwyd ynddo;" "neu ynte," ychwaneged, "drwy fy niofalwch, a'm drygioni, a'm dewisiad ystyfnig ac ynfyd fy hunan?"

Barnwn mai y *cholera morbus* yw pechod; ac onid yw efe yn wrthddrych mor frawychus ag yntau? Beth pe danfonai llys y frenines feddyg i osod y clefyd, fel y gosodir y *cowpox* ar freichiau babanod, yn ein gwaed a'n cyfansoddiad? Oni fyddai hyny yn waeth genym na phe gosodid ni i fyw yn yr heolydd hyny o Lundain sy'n cynnwys y clefyd? Ond, y mae'r gydmhariaeth yn rhy gyfyng: tybiwn nad oedd neb yn cael y *cholera* ond y rhai a'i dewisent, drwy wisgo dillad yr afiach yn wybyddus. Oni byddai yn ddewisach genym breswylio yn y fath heol dan y fath amgylchiadau, na chael meddyg â'i arfau melldigedig, i osod dafnau o'r gwaed choleraidd. ag a sugnasai efe o wythenau y meirw,—a'i weithio, heb ein cenad, meddaf, i mewn i'n gwythenau? Pe cymmerai coleddwyr golygiad yr awdwr—ac y maent yn llawer, amryw o honynt yn ddysgedig a defnyddiol—pe cymmerent, meddaf, y gwrth-olygiad yn y goleu yma, oni fyddai yn anhawdd iawn eu cael i ddywedyd gyda'r awdwr hwn:—"Nid yw ddim yn haws i mi weled daioni fy Nghreawdwr yn y naill olygiad na'r llall?" Pe bawn i am osod fy mhlant mewn sefyllfa gyfleus iddynt arddangos gofal manwl gyda'u hiechyd, nid mewn gwlad rydd o bob afiechyd y gosodwn hwynt. Myfi a'u gosodwn yn y gyfryw heol afiachus, a than yr amgylchiadau, ag a nodwyd. A phe bawn am beidio caniatau iddynt y fantais o gael dangos un gofal, na dewisiad, na gwyliadwriaeth, i weithio allan fath yn y byd o gymmeriad gwirfoddol; myfi a gymmerwn gynllun Mr. Williams—mi a chwistrellwn i mewn i'w cyfsoddiad babanaidd ryw gymmaint o waed cholerawg pur yr hen Adda, lle ceir y sylwedd cholerawg yn ei burdeb anaele ac uffernol. Pe bawn am eu lladd â'r cholera yn y modd sicraf a mwyaf anffaeledig, fel yna yn union y gwnawn. Ac, onid daioni fyddai eu gosod yn y

gyfryw wlad ag a rodwyd, dan y fath amgylchiadau? ïe, onid dyna y daioni penaf i greaduriaid cyfrifol heb etto ffurfio eu cymmeriad? ac onid cynllun yr awdwr fyddai y drwg gwaethaf iddynt, o'r ochr arall? Barnwch fy mod i, eu tad anwylaf, ar ol gosod y golerawg farwolaeth hon yn eu gwaed, yn eu casglu ynghyd, ac yn pregethu iddynt ar y mater, gan ddannod iddynt, "Paham y byddwch feirw, fy mhlant bach i? Nid ymhoffaf yn eich marwolaeth. Ymadewch â'r cholera anaele yna yn y fan. A deallwch, os na wnewch ymiachau oddiwrtho, mai meirw fyddwch; ac mai eich cymmeriad chwi eich hunain a gondemnir fel hyn, tra yr erys fy nwylaw i yn lân oddiwrth eich gwaed!" Pe gwnawn fel yna, oni elwid fi yn llofrudd fy mhlant? a phe edliwiwn fel yna iddynt o dan eu dolur, oni elwid fi yn anghenfil o ddideimladrwydd, am *wawdio* y trueiniaid oedd yn trengu o'm gwenwyniad fy hun? canys gwyddwn o'r dechreuad na allent, druain, ddianc rhag marwolaeth, oherwydd yr hyn a wnaethwn iddynt.

"Nid oedd cyfansoddiad yr undeb sydd rhyngom ni ag Adda yn ein rhwymo i gosb, mwy nag yr oedd gorchymyn Duw i Adda yn gosod rhwymau arno ef i bechu. Felly er mai Duw a gyfansoddodd yr undeb ag sydd yn gwneyd ein bod ni yn euog o bechod Adda, yn gystal â'r ddeddf ag oedd yn gwneyd fod yn bechod i Adda fwyta o ffrwyth y pren; etto ni all efe fod yn awdwr o bechod Adda,"—*dal.* 70.

Beth! a ydym ni gymmaint at ein dewisiad i wrthod cosp pechod Adda, ag oedd Adda ei hun at ei ddewisiad i beidio pechu? os nad ydym, dyna fraich gyntaf y gosodiad yn ofer, os nad gwaeth—yn ynfydrwydd.

Am y fraich nesaf; Duw a gyfansoddodd *undeb*: "undeb" yntau (pwy bynag oedd efe), a'n gwnaeth ni yn euog. O'r goreu, gosoder y bai ar *undeb*, os creadur cyfrifol ydyw. Eithr os bwystfil yn cornio ydyw, gosoder y bai yn erbyn ei berchenog, am ei ollwng yn rhydd. O, gyfiawnder Duw, ein Tad a'n Creawdwr, cefaist dithau'th anghofio yn awr!

Yr oedd tad a chanddo dyaid mawr o blant bychain. "Ewch i mewn i'r cerbyd yna, 'mhlant anwyl i," ebe efe wrthynt un boreu. I mewn yr aethant. "Cymmer dithau dy ffiangell, a dring i'r eisteddle, a gyr y cerbyd o'm blaen i'r ddinas; minnau a'th ddilynaf ar fyrder," ebe efe wrth ei gerbydwr. Yn mhen ennyd daeth y boneddwr ar ei geffyl, ac wrth ddynesu yn mlaen, canfu rywbeth yn gorwedd yn y ffos. Pan ddaeth yno, wele ei gerbyd ef ydoedd. "Ai dyna lle yr ydych chwi, f'anwyl blant?" ebe efe. "Ie, nhad bach!" meddent hwythau. "Gyrodd y cerbydwr ni dros yr ymyl, ac yr ydym wedi anafu bob un, a thori ein hesgyrn yn chwilfriw. Ond pa beth yw y rhaffau bychain sydd yn eich dwylaw, nhad bach?" meddai y plant anffodus. "Wel (ebe yntau), mi a wyddwn mai eich anafu a wnelai efe, pan eich gosodais yn y cerbyd; nid amheuais erioed mo hyny, er i mi beri iddo beidio er dim; ac ni hysbysais iddo ychwaith fod bywyd neb ond ei hunan mewn perygl, os esgeulusai y llwybr diogel." "Ond i ba ddyben, nhad bach, y mae y rhaffau?" meddai y plant pryderus. "O; i'ch crogi bob un am anafu!" ebe yntau. Yn awr; ai tad da,

tosturiol, a hawddgar. oedd efe? Ai rhyfedd fod plant Cymru, a'u beiblau yn eu dwylaw, yn casâu Duw dan y fath ddarlun â hwn? Yr un faint o hawl sydd gan y tad hwn i grogi ei blant, ac i ganmol ei dosturi ar ol darfod, ag sydd gan Dduw i ddamnio ein babanod ninnau drwy Adda—canys pa beth llai na'u damnio fuasai eu llenwi â'r anian a'u *sicr* dynasai i syrthio i ddamnedigaeth?

---

## TRAETHAWD XV.

### PECHOD GWREIDDIOL YN GWADU HOLL ATHRAWIAETHAU UNIONDEB A GRAS.

1. Try *bregethu yr efengyl yn ynfydrwydd.* Onid perswadio, a chymhell, ac annog, a gwahodd, dynion oddiwrth bechod at Grist, yw pregethu? Eithr os drwy hauad had ynddo yr aeth pechod i mewn i'r gwrandawr, drwy hauad hadau ynddo yn unig y ceir ef allan o hono. Cofier nad hau fel yr hauwr yn hau y gair yn y ddammeg yw hwn. Hau drwy genad y galon yw pregethu pechod allan, ond hau gorfodol yw yr hauad hwn o hono i mewn. Mae pob peth i ddod allan yr un ffordd ag yr aeth efe i mewn. Eithr drwy addysg ac esiampl y ceir pechod allan, medd y beibl; yna, rhaid mai dyna y ffordd yr aeth efe i mewn drwyddi. Gan hyny, mae y pwnc o anian lygredig digenad, yn cynnwys y pwnc o rinwedd digenad yn gyferbyniol; a thra bo rhinwedd yn cael ei ddechreuad drwy ddylanwad *moesol* y gwirionedd ar y meddwl, rhaid mai drwy weithio allan y croes-beth y bydd hyny; eithr os yn anianyddol yr aeth efe i mewn, yn anianyddol yn unig y rhaid ei gael allan. Os drwy naws ddystaw diwybod i'r meddwl y daeth efe o'r Adda cyntaf i mewn, yna drwy naws ddystaw diwybod i'r un meddwl o'r ail Adda y daw efe allan. Os heb y bregeth, neu esiampl, neu addysgiad, yr aeth efe i mewn, heb y bregeth, na'r esiampl, na'r addysgiad y daw efe allan. Am hyny, aeth pregethiad, ac esiampl, ac addysg dda, yn ofer!

2. *Try santeiddiad o ras yn anmhosibl.* Mae hawl gan bob enaid cyfrifol i gael cychwyniad teg ar bob gweithred gyfrifol, heb ei lenwi a thueddiad ati nac oddiwrthi yn ddigenad; gan hyny, mae hawl gan bob dyn i gael ei wneyd yn ddilwgr; eithr gan y dywed attegwyr y pwnc hwn nad ydym felly yn awr, dylai yr hwn a wnaeth gyfammod heb ein cenad i'n llygru, wneyd un etto heb ein cenad i'n dadlygru, cyn y gellir dywedyd ein bod ar dir teg i allu dangos ein nodweddiad gwirfoddol. Eithr ein dadlygru fyddai ein santeiddio; ac os oes hawl genym iddo, nid gras ydyw, canys *hawl i ras* sydd wrthuni. Yr hwn a lygrodd ei hun yn wirfoddol ac esgeulus yn unig yw yr hwn ellir santeiddio o ras.

3. *Dinystria ras maddeuol.* Pe gosodai rhyw frenin hadau y cholera yn ngwaed dyn, a phe parai ei ddal ef, eilwaith, a'i ddedfrydu i angau, am ledaenu â'i anadl naws y cholera hwnw yn awyrgylch ei deyrnas ef, a phe cyhoeddai faddeuant yn y diwedd iddo, a allai efe ganmol ei *ras* am hyny? Ac ai maddeuant, yn ol ystyr y gair, fyddai hyny? Ar y brenin, ac nid y carcharor, yr oedd anghen am faddeuant.

4. *Dyrysa athrawiaeth yr iawn.* Iawn ysgafn a bach a ddigona dros lonaid byd o ffrwyth drwg, pe tyfasai hyd yn nod ar feusydd un amaethwr, os gellir profi mai gwr arall a'i heuodd heb yn wybod iddo ef. Pa un ai ar y "gwr a hauodd yr had da yn ei faes" yn y ddammeg, ynte ar "y gelyn ddyn yr hwn a'u hauodd hwynt" yr oedd y bai? Os ar y perchenog, yn ol y pechod gwreiddiol hwn, iawn bach iawn, debygwyf, a ddigonai am y bai hwnw. Am bechod yr *hauwr* y rhaid wrth iawn mawr. Felly am bechod yr hwn sy'n euog o'r bai o hau ei bechod ei hun yn ei galon ei hun, ac nid ar yr hwn a aned, â'i galon ar ymdori gan ymchwydd hadau o hauad drwg ei elyn heb yn wybod iddo, y mae eisiau iawn o bwys a gwerth. Yn wir, nid oes eisiau un iawn ar y llall i'w gynnyg i Dduw; eithr ar yr ochr arall y mae eisieu iawn i'w gynnyg iddo ef.

5. *Gwada waith yr Ysbryd.* Ni all fod yn waith moesol neu ennillawl; canys hau anian yw yn ddigyfrwng fel yr hauesid yr anian ddrwg o'r blaen: oherwydd nid drwy berswadiad y tynir allan reddf anianyddol sydd yr un fath a'r un fesur yn mhawb. Mae yr Ysbryd yn arferyd moddion cymhelliadol, ac esiampl dda, a bygythiadau, ac yn addaw gwobrwyon, gan adael y dyn o hyd yn rhydd i ddewis a gwrthod; yr un modd yn hollol a phe byddai a wnelai efe ag arferiad neu duedd ag a asai drwy foddion cymhelliadol, ac esiampl. Eithr os drwy ddylifiad o gyfammod yn ddigyfrwng y daeth pechod i mewn i'r dyn, drwy ddylifiad o groes-gyfammod yr un mor ddigyfrwng y mae y ffordd i'w gael allan o hono.

6. *Dyrysa athrawiaeth y Drindod*; canys gesyd y Tad, yn y cymmeriad o amddiffynydd dedfryd rhyw gyfammod o'i eiddo, yn llygru holl eneidiau y byd; a gesyd yr Ysbryd o'r ochr arall, yn y cymmeriad o amddiffynydd dedfryd rhyw gyfammod arall, i ddadlygru rhyw luaws o honynt, drwy anfeidrol gost a thrafferth, drachefn. Personau yn gweithio yn groes i'w gilydd ni byddent Drindod ddwyfol.

7. *Gwada gyfrifoldeb dyn a barn gyfiawn y dydd olaf.* Profwyd hyn eisoes yn y Traethodau blaenorol.

8. *Gesyd ei hun yn esgus dros bob pechod.* Profwyd hyn hefyd eisoes.

Yn awr, heb ymhelaethu yn y dull yma, fel y gwelir y gellid; beth a ddywedwn am bwnc o fath hwn, na ellir na barnu pechadur, na dyrchafu gras na chyfiawnder, heb ei wadu? Un reol dda i adnabod cyfeiliornad drwyddi yw hono:—Os cymmyla efe wyneb gras Duw, neu os gwyngalcha efe wynebpryd pechod, cyfeiliornad yw: ymaith ag ef!

## TRAETHAWD XVI.

### YSGRYTHYRAU BENTHYCIEDIG Y LLYGREDD GWREIDDIOL.

Gellid cau i fyny yr arholiad hwn er boddhad pob duwinydd sy'n credu nad yw rhesymau y Bibl yn afresymol, moesoldeb y Beibl yn anfoesol, ac uniondeb y Beibl yn anghyfiawn, gyda dim ond yr hyn a ddangoswyd o afresymoldeb ac anghyfiawnder y dyb; ond er mwyn y rhai a allont fod yn tybied fod yn y Beibl egwyddorion rhesymol croes i'n rheswm cyffredin ni, ddynion; a chyfiawnder yn y Creawdwr ag sydd

yn groes i gyfiawnder creadur, telir byr sylw i'r adnodau a fenthycir yn gyffredin ganddynt i attegu y dyb hon.

Gen. vi, 5: "A bod holl fwriad meddylfryd calon dyn yn unig yn ddrygionus bob amser." Arferir cyfeirio at yr hanes hwn i brofi llygredd gwreiddiol; ond (1), Nid oes yma air o eglurhad ar *wraidd* y llygredd, heblaw cwyn rhag ei fodolaeth yn unig. (2), Edifarhaodd Duw am wneuthur o hono ddyn ar y ddaear, yr hyn oedd yn dangos nad oedd ddim yn y natur o'r geni, yn peri iddo ddysgwyl i'r oes droi allan mor ddrygionus. (3), "Dileaf ddyn," ebe efe; a chan na ddileodd efe yr *hil* fel y cyfryw, rhaid mai wrth yr oes a'r genedlaeth yr oedd efe yn ddig; ac os wrthynt hwy yr oedd efe yn ddig, eu calonau hwy yn unig oedd yn ddrygionus bob amser. Nad oedd efe yn dileu dynoliaeth fel y cyfryw a brofwyd drwy arbediad Noah a'i deulu. Ac, nid oes yma i'r sawl sy'n chwilio am dystiolaeth o hollol lygriad pob dyn a baban ar wyneb daear, ddim ond prawf o lygriad yr oes a'r genedlaeth hòno, y rhai a ddilewyd. (4), At fwriadau dyn y cyfeirir yma fel pethau drwg, ac nid at ei anian: gellir cyfaddef y blaenaf tra yn gwadu yr olaf. Nid baban oedd "y dyn" oedd a'i "ddrygioni yn aml ar y ddaear;" ac nid sugnydd bronau oedd â "holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser." Pechod gweithredol, ac nid dim gwreiddiol na greddfol sydd yma. (5), Nid dyn fel hil neu rywogaeth yn gyffredinol a feddylir, canys arferir y fannod yn yr iaith wreiddiol o flaen y gair; HA-ADAM; ac nid ADAM; *y dyn*, ac nid dyn yn gyffredinol. Mae yr iaith wreiddiol ynddi ei hun yn ddigon i brofi mai at y genedlaeth gynddiluwiol, ac nid at yr hil yn gyffredinol, y cyfeirid. A phe cyfeiriasid at yr hil yn gyffredinol, buasai raid dyfeisio a dychymygu yn rymus a gwyllt eilwaith cyn dod i ben ag adnabod gwreiddyn y drwg.

Gen. 8, 21:—"Ni chwanegaf felldithio y ddaear mwy er mwyn dyn, oherwydd bod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd." Eithr nid oes yma ychwaith un cyfeiriad at lygredd gwreiddiol; oherwydd yn 1af, At y cynddiluwiaid, ac nid at ddynolryw yn gyffredinol, y cyfeirir, megys yn y testyn diweddaf, ar yr hwn gwel y sylwadau. 2il, O'i *ieuenctyd*, ac nid o'i fabandod neu ei ddechreuad hollol, a ddywedir; a phwy a wâd fod gwyr yr oes hòno felly er pan yn "ieuainc?" Nid yw caniatau y testyn hyd ei eithafion yn caniatau fod bryd calon y dynion hyny yn ddrwg o'u ffurfiad cyntaf yn y groth; ac y mae yn rhaid cael tystiolaeth o hyn oll cyn y caniateir y peth. Y gair gwreiddiol am *bryd* yw IATZAR, ystyr yr hyn yw *dychymmyg*, neu benderfyniad y meddwl, neu y ddyfais a greir ynddo. A chyd na bo dyfais yr un peth a naws, neu ystad, neu anian, yr erys yr adnod hon i ballu profi y llygredd gwreiddiol. 3ydd, Yn y ddau destyn hyn, lle yr oedd Duw yn edliw boreudeb drygioni y galon ddynol, onid yw ei waith o beidio edliw y llygredigaeth yn ol tuhwnt i'r ystad o ieuenctyd, yn fath o brawf na wyddai efe ddim oll am y llygredd gwreiddiol Awstinaidd dan sylw? Agored fy mrodyr gwrthgredawl eu mynwesau yn ddinag i'r ystyriaeth bwyllog o hyn.

Diar. 20, 9: "Pwy a ddichon ddywedyd, Mi a lanheais fy nghalon; glân wyf oddiwrth fy mhechod?" "Glân wyf oddiwrth bechod Adda" oedd y prawf anghenrheidiol; ond "oddiwrth *fy* mhechod" yw y prawf a gafwyd. Yr ystyr yw, nad oes neb a all herio pawb i'w chwilio

gan ddywedyd ei fod wedi glanhau ei galon, nes nad yw efe yn pechu dim.

Ond, fe allai mai yr ymadrodd a fenthycir amlaf gan yr Awstiniaid yw yr hwn a geir yn Salm 51, 5:—"Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." Eithr, sylwer yn fanwl ar yr ystyriaethau canlynol. 1af, Cyfeirio mae Dafydd at ei luniad yn y groth, a beichiogiad ei fam arno o ran ei gorff. Yn awr, pa un ai y corff ai yr enaid yw yr anifail? Os y corff ydyw, rhaid mai yr enaid yw y pechadur cyfrifol. Ond, ar ba ran o'r dyn y beichioga y fam? Os ar y rhan anifeilaidd, yna ar ran anghyfrifol, ac yna eilwaith, ar ran ddiddrwg ddidda. Os oes rhyw gyfran o'r baban yn bechadur o Adda, rhaid mai y gyfran a all bechu yn weithredol yw, sef yr ysbryd. Eithr oddiwrth Dduw, ac nid y fam, y daw yr ysbryd, yr hyn a brawf nad oes dim a wnelo beichiogiad y fam â'i greadigaeth ef. 2il, Ond cyfaddefa proffeswyr y llygredd gwreiddiol hwn nad oes fodd ei fod yn eiddo i'r baban *cyn* ei luniad; eithr pan yr oedd Dafydd *yn cael* ei lunio yr oedd efe yn dwyn perthynas â'r pechod yn ein testyn; yr hyn a ddengys mai pechod ei rieni a feddylir. Ei ystad ef *cyn* bod yn greadur lluniedig oedd yr hon yr oedd ynddi *pan yn cael* ei lunio, a chan mai at yr ystad hòno yn unig y cyfeiria ein testyn, nid at bechod perthynol *i'r baban* y cyfeiria, oddieithr ein bod yn dal allan fod y Creawdwr yn gyntaf peth, wedi hau sylwedd pechadurus a damniol pechod yn y groth, ac yna wedi caniatau heuad sylwedd y baban yn ail, er mwyn sicrhau cyflenwad ei le ef o'r llygredd, ac er mwyn cael sicrhau mai mewn anwiredd felly y llunid ef. Etto, lluniad *corff* yn unig sydd genym o hyd. 3ydd, Etto, dywed y geiriadurwr enwog, Gesenius, nad *lluniwyd*, ond *ganwyd*, yw y cywir gyfieithiad. Gwel ef ar y gair. Felly y cyfieithai efe y gair yn mhob man. 4ydd, Onid yw proffeswyr y llygredd gwreiddiol yn ystyried y Salm hon yn salm edifeiriol Dafydd? ac a allant hwy alw y gyffes hóno yn un gywir, ac yn gyffes dyn fo yn cwympo ar ei fai, ag fydd yn taflu ar yr hyn a ddeilliodd iddo oddiwrth ei dad a'i fam yr holl fai o'i bechod? Onid yw y gyffes hon wedi ei gwneuthur er mwyn cyfiawnhau Duw—"fel y'th gyfiawnhaer pan lefarech, ac y byddit bur pan farnech?" Ac onid yw hyny yn dangos mai barddoniaeth cryf hunanffieiddiad yw yr ymadrodd? 5ed, Dywed rhai gwŷr dysgedig, gan mai o achos ei bechod gyda Bathseba y cyfansoddodd efe y Salm, mai pennill ydyw wedi ei gyfansoddi gan y tad galarus, uwchben y plentyn pan ydoedd yn y gwingiadau angeuol, a'i fod yn ol gwyllt neidiadau y beirdd dwyreiniol, yn canu cwpl o linellau yn mherson y babau ei hun, fel y canasem ninnau ein hunain pe mynasem linellau i'w gosod ar ei fedd ef. Ac, a chyfaddef y gwir, i'r baban y maent yn taro addasaf, canys y cyfryw oedd amgylchiadau ei feichiogiad a'i enedigaeth ef. Fel pe dywedasai y plentyn wrth farw;—"Na syned neb fy mod i yn marw mor ieuanc, ac er gwaethaf gweddiau taerion a dagrau heilltion fy nhad; canys creadur a aned drwy bechu yn erbyn Duw fel brenin y wlad ydwyf fi; ac er maddeu o Dduw, yn y cymmeriad o Dduw y Ffydd a rhad ras, i'm tad ar ei edifeirwch, dan farn yr un Duw fel Jehofa yr ydwyf fi i farw, dan y ddeddf sy'n ymweled â phech-

odau y tadau ar y plant; canys mewn anwiredd y'm ganwyd i, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf fi." Nad beth am yr esboniad celfydd hwn, mae efe o well tuedd na'r hwn a esyd yr hen sant edifeiriol yn lloffwr esgusion o bob man, can belled â chroth ei fam, dros ei anwiredd.

Rhuf. 7, 10:—"Y gorchymyn yr hwn ydoedd i fywyd, hwnw a gaed i mi i farwolaeth," sydd ymadrodd mewn cyfeiriad yn *Nghyffes Ffydd y Trefn. Calf.* i brofi fod "dedwyddwch neu annedwyddwch holl hiliogaeth Adda, yn ymddibynu ar ei ufydd-dod neu anufydd-dod ef." Eithr dywed yr adnod nesaf mai pechod a gymmerodd achlysur drwy y gorchymyn, ac a dwyllodd yr ysgrifenydd; ac mai *felly* y lladdwyd ef. Dywed yr hanes mai ei dad Adda a dwyllwyd yn anffawd y cwymp cyntaf; a chan mai cyfeiriad at ŵr arall yn cael ei dwyllo sydd yma, nid yw yr adnod yn profi y pwnc.

Gal. 3, 10, sydd adnod arall a arferir yno i'r un perwyl:—"Cynnifer ag ydynt o weithredoedd y ddeddf, dan felldith y maent, megys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig yw pob un a'r nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenwyd yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Ond y mae mwy o anhawsdra yma i ddirnad pa fodd yr aethpwyd i roi benthyg yr adnod hon i'r pechod gwreiddiol, nag sydd i ddirnad y pwnc diafael hwn ei hun. Yr oedd y ddeddf hon yn "ysgrifenedig mewn llyfr." Pa un ai y cyfammod gweithredoedd, fel ei gelwir, ynte cyfammod Sina, oedd ysgrifenedig mewn llyfr? Pa un ai gweithred ynte "gweithredoedd" oedd mewn golwg yn y "Na fwyta o hono?" Am ba ddeddf "y mae yn ysgrifenedig" fel hyn? Onid yn Deut. 27, 26 y ceir yr ymadrodd a ddyfynwyd yma? Ac onid at holl eiriau y gyfraith hòno ag a lefarasid, ac a ysgrifenasid yn yr holl bennodau hyny, y cyfeirid? Pa beth arall a all "y gyfraith *hon*" fod? A oedd "Melldigedig yw yr hwn a symudo derfyn ei gymmydog" (Gwel adn. 17) o fewn cyfammod Adda? At ba *gymmydog* y gallasai yr hen dad cyntaf gymhwyso yr ymadrodd hwn? Ond dyna ddigon o resymu, yn ddiau, ar yr adnod hon. Nid wyf heb gofio fod y gwŷr mewn golwg yn dal dros gynnwys y ddeddf Foesenaidd o fewn cyfammod Adda; eithr yr wyf, bellach, yn dal dros hawl i brawf o hyny. Myfi nis gwelais air erioed o *brawf* o'r peth, o fewn na Beibl na duwinyddiaeth credoawl; er i mi weled digonedd o bob triniaeth arall arno.

Eph. 2, 1:—"A chwithau a fywhaodd efe pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." Fe allai mai hon yw yr adnod benaf yn y Testament Newydd oddiallan i'r bummed bennod o'r epistol at y Rhufeiniaid, fel sail i'r pwnc dan sylw. Eithr yn 1af. Nid "meirw yn nghamwedd *Adda*" a ddywedir. Yn ail, Nid camwedd neu bechod, ond "camweddau a phechodau," yw yr ymadrodd. Pan gyffyrddai Paul a chamwedd Adda, yn y rhif *unigol* y gosodai efe ef bob amser. 3ydd, Camweddau yn mha rai y *rhodiasent* sydd dan sylw; eithr ni rodiodd neb yn nghamwedd Adda oddieithr Adda ei hun. 4ydd, Nid yn ol trefn y cyfieithiad y mae trefn y testyn gwreiddiol, ond fel hyn: "A chwithau, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau, yn mha rai y rhodiasoch gynt, yn ol helynt y byd hwn, yn ol tywysog llywodraeth yr awyr, sef yr ysbryd ag sydd yr awrhon yn gweithio yn

mysg plant yr anufydd-dod: yn mysg pa rai hefyd y bu ein hymarweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd a'r meddyliau; ac yr oeddym ni yn blant naturiol digofaint, megys ereill; eithr Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, oherwydd ei fawr gariad â'r hwn y carodd efe nyni, hyd yn nod pan oeddym yn feirw mewn camweddau, a'n cydfywhaodd ni gyda Christ." Dyna drefn yr ymadroddion gwreiddiol, fel y gwel pob dyn a allo ddim ond darllen yr iaith. 5ed, Pa beth yw cywir ystyr y gair a gyfieithir yma yn "meirw *mewn* camweddau, &c.?" Yn awr, pa beth bynag yw, rhaid iddo eistedd yn esmwyth yn yr holl ymadroddion â'i cynnwysant; a thyma hwy: Rhuf. 6, 2, 10, 11; Gal. 2, 19; Eph. 2, 1, 5, lle cawn farw i bechod, marw i ni ein hunain, marw i'r Arglwydd, marw i'r ddeddf, a marw i gamweddau a phechodau. Eithr gwel yn mhellach ar pen. 6, 2. Yn awr, os cyfeiriad at ddynolryw fel meirw drwy gamwedd Adda yw yr ymadrodd, rhaid fod Crist felly, canys dywed pen. 6, 10 iddo yntau farw unwaith fel hyn. Dengys arferiad yr apostol ei hun o'r gair, eu bod hwy eu hunain wedi myned drwy y farwolaeth hon i, neu drwy, neu gyda phechod (6 2); fod Crist ei hun, a'r Cristionogion ar eu troedigaeth, wedi myned drwyddi yr un modd (adn. 10, 11). Ni thycia pwyso ar y cyfieithiadau gwahanol pan y mae yr ymadrodd gwreiddiol yn mhob testyn yr un. Tystia hefyd ein bod ar ein hymadawiad â'r byd yn myned drwy yr un farwolaeth i, neu drwy, neu gyda, yr Arglwydd (14, 8); fod Paul wedi myned dan yr un farwolaeth drwy, neu gyda, neu i, y ddeddf hefyd (Gal. 2, 19): ac yma, fod yr Ephesiaid dan sylw, ynghyd â Phaul ei hun, wedi marw fel hyn gyda'r camweddau, a chael eu cydfywhau â Christ, sef ar yr un pryd, ac yn yr un ystyr, ag ef; canys ni oddefa yr ymadrodd gwreiddiol ei drosi yn wahanol. Ond, gwel ar 6, 2, 10. Gan y gwada yr Awstiniaid gyssylltiad pechod gwreiddiol â Christ, dylai eu serch at gyssondeb eu peri i ollwng yr ymadrodd hwn yn rhydd oddiwrth bechod gwreiddiol ac Adda hefyd.

Tit. 3, 3; Jer. 17, 6; Iago 1, 14; Mat. 15, 19; Iago 3, 2, a osodir yn y *Gyffes Ffydd* fel profion o'r cyfammod gweithredoedd, cyfrifiad camwedd Adda i'w hiliogaeth, llygriad gwreiddiol, analluogrwydd gwreiddiol a chospawl am gamwedd Adda, a'r canghenau ereill o'r athrawiaeth dyfadwy ymledaenawg hon. Eithr gosodaf yr ymadroddion ysgrythyrol hyn gerbron y darllenydd, fel y gallo farnu yr amddifadrwydd o ysbryd beirniadaeth, heb son am y cipddellni swynawl anwyl-bwnc oedd raid fod mewn meddiant o'r meddwl yn ei le, pan allai eu harferyd at yr amcan. "Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt yn annoethion, yn anufydd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, &c." "Y galon sydd fwy ei thwyll na dim, a drwg ddiobaith ydyw; pwy a'i hedwyn?" "Yna y temtier pob un, pan y tyner ac y llithier gan ei chwant ei hun." "O'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, &c. Dyma y pethau sy'n halogi dyn." "Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro. Od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith yw hwnw, yn gallu ffrwyno yr holl gorff hefyd." Yn awr, er mwyn dangos dim ond ychydig o wrthuni y dyb dan sylw, profir hyd yn nod allan o'u hadnodau benthyc-

iedig eu hunain, fod eu tyb yn gyfeiliornus. Os at y galon ddynol yn gyffredinol y cyfeiriai Jeremia, rhaid fod y pethau canlynol yn wirionedd. 1af, Ei fod yn arferyd HA LEB, *y* galon, yn yr ystyr o galon yn gyffredinol, er mai heb y fannod *Ha* o flaen y gair yr oedd arferiad yr iaith yn galw am iddo ysgrifenu, pe mynasai i'w ddarllenwyr gymmeryd y gair *calon* yn ei ystyr cyffredinol. 2il, Rhaid hefyd fod y prophwyd yn ceryddu gwyr Juda am fod ganddynt y galon ddynol gyffredinol, fel holl ddeiliaid cyfammod Adda; am fod eu twyll fel twyll pobl ereill—fel y dysgwyliesid ar dir achos ac effaith iddo fod. Pe buasai calon fwy ei thwyll na dim yn mynwes pawb o ffynnon fawr mynwes cyfammod Eden, ni fuasai Duw na'i brophwyd yn synu gronyn uwchben y ffaith o fod yn mynwesau Juda hefyd galon o'r fath. Nage; calon y bobl hyn yn unig oedd mewn golwg, fel y gwel pob dyn a ddarlleno yr adnodau blaenorol. Etto; onid oedd yma gyfleusdra teg i'r prophwyd ddwyn i mewn y llygredd gwreiddiol, pe gwybuasai efe am dano, drwy ddywedyd:—"Gwir fod twyll Adamaidd i'w ddysgwyl yn y galon ddynol, ond yr ydych chwi yn waeth na neb." 3ydd, Beth; a yw yr ymadroddion hyn i'w cymmeryd yn hollol gyffredinol, ac allan o'u cyssylltiadau, yn anad pob ymadroddion ereill? O'r goreu; mae pob calon fabanaidd (canys nid creadur heb y galon ddynol, Edenaidd, Adamaidd, yw baban, mi welaf,) fel calon yr henwr, yn fwy ei thwyll na dim—na chalon yr Hen Sarff, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sy'n twyllo yr holl fyd. Hyny yw, mae rheswm a chyssonder iaith i gael eu trosi mewn dull newydd i'r byd, er mwyn dod i ben â phrofi llygredd gwreiddiol cyffredinol: mae y twylledig yn fwy ei dwyll na'r twyllwr: mae y bachgen ieuanc a dwyllir gan Satan yn fwy ei dwyll na Satan ei hun: mae grym twyll yr hwn a dwyllwyd yn rhagori ar rym twyll yr hwn a'i twyllodd. Ie, mae un twyllwr mawr yn twyllo yr holl fyd: ac etto, mae yn yr un byd filiynau o blant bychain, newydd agor eu llygaid yn awyrgylch cyfrifoldeb, a chanddynt bob un galonau mwy eu twyll na'i hen galon ef, drwy'r cwbl. Gwaeth etto na hyn; mae un galon yn twyllo y galon arall, a'r ddau dwyll, y gwan a'r cryf, yr un nerth a'u gilydd o hyd; canys os yw y twyll hwn yn dwyll cyffredinol calon dyn drwy Adda, ni all fod graddau ynddo, ac yntau oll yn fwy na dim ar yr un pryd. Pe byddai dim ond cymmaint ag *un* galon fach ar fron y fam yn rhywle, i'w chael a gronyn llai o dwyll ynddi na'r lleill, ni fyddai hóno yn perthyn i dorllwyth mawr ffau felldigedig y camwedd hwn—rhai mwy eu twyll na dim yw y rhai hyn i gyd, a thra bo hithau beth yn llai ei thwyll, calon ddyeithr i'r llwyth ydyw. Ond, y mae gwahanol raddau yn nhwyll pob mynwes, ac yn yr un fynwes dan wahanol amgylchiadau, a chan hyny, twyll yw athrawiaeth y twyll gwreiddiol hwn.

Yn mhellach: am ymadrodd Iago (1, 14), mae yntau yn gwadu y llygredd gwreiddiol, yn ngwyneb y rhai a'i gwysiasant yn mlaen i'w brofi. "Yna y temtir pob un," ebe efe. Pa bryd? "Pan y tyner ac y llithier ef gan ei chwant ei hun." Ond, yn gyntaf oll, am waith y chwant hon, sef *temtio:* pa beth all efe fod? a yw efe yn bechod? Nac ydyw; canys ebe'r un apostol yn adnod 2il:—"Cyfrifwch yn bob

llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau:" neu yn ol y Groeg, temtasiynau—*peirasmois*, yr unig air ag a geir am waith y chwant yn temtio yn ein testyn. Gan hyny, mae y *peirasmoi* yn ddibechod ar bob un o ddau ystyriaethau; sef, pan na bo y sawl a demtio yn greadur cyfrifol, a phan na bo y demtasiwn yn annog at fai. Yma, y chwant, *epithumia*, sy'n temtio. Ai gair arferedig am *dra*chwant yw hwn, ynte am chwantau corfforol a naturiol dyn, pa un bynag ai o fewn eu cylch rhesymol, ynte oddiallan iddo, yr ymgadwont? Tebygwyf yr arferir y gair yn mhob un o'r ddau ystyr. "Chwant i ymddattod" yn Phil. 1, 23, nid oedd un ddrwg, o leiaf. Felly 1 Thes. 2, 17; Dat. 18, 14, &c. Yr oedd i'w chael yn mynwes Jehofa ei hun, yn ol Hos. 10, 10; ac y mae yn rhinwedd yn mynwes y gweddiwr gerbron Duw, Diar. 10, 24; Dan. 9, 23. Pan arferid am chwant wedi ei gollwng i'r llywodraeth, cysylltid a geiriau cymhwys, gan amlaf, megys "drwg-chwant," Col. 3, 5; "chwant pechod," Rhuf. 6, 12; "*y* trachwant" (Groeg), 7, 7, sef hwnw am eiddo pobl ereill; "chwantau ynfyd a niweidiol," 1 Tim. 6, 9; ac felly arferir y gair yn gyffredinol, am y chwant naturiol, oddieithr pan gysylltir rhyw eiriau eglurhaol wrtho, i arddangos nad yn y chwant ei hun, ond yn y *tra*, y mae y pechadurusrwydd. Felly yn y testyn, ar ol i'r chwant hono fo'n *llithio* dyn—wedi iddi ymddwyn yn gyntaf ar y llithiad, yr esgora hi, a'r *esgoriad* yw y pechod, ac nid y chwant ei hun. Beth a ddywedai ein hapostol? "Chwant *cyn* ymddwyn sydd bechod?" Nage; Awstin, Calfin, Edwards, a'r Gyffes hon, sy'n dal felly. Ai "Chwant *pan yn* ymddwyn," a ddywedai Iago, ynte? Nage; nid hyny ychwaith; mae efe yn gadael y galon *naturiol* yn mhellach oddiwrth bechod na hyna etto. Pa beth, ynte, a ddywed efe? Fel hyn: "Chwant *wedi* ymddwyn a esgor ar bechod." Chwant *wedi*, EITA, *afterwards, after that, then, in consequence;* ar ol hyny. Megys nad pechod yw y farwolaeth, ond peth sydd yn myned o'i blaen; felly hefyd nid chwant yw y pechod, ond peth sydd yn myned o'i flaen ef. Etto, pa beth sy'n tynu dyn i bechu? "Llygredd drwg camwedd Adda," medd yr Awstiniaid. Nage; "Efe ei hun—*y dyn*," medd Iago. Pa bryd y gwreiddir neu y dechreuir y drwg hwn? "Yn nghwymp Adda," meddant hwy; nage: *pan* y tyner ac y llithier y dyn, medd Iago. Ni esgorodd dim erioed ar bechod ond chwant. Ni esgorodd neb erioed ar chwant—ni chreodd neb hi—ond y Creawdwr. Nid y dyn yw y chwant; etto mae y ddau i'w cael, fel y ceir gweithredydd a'i annogaethau. Mae annogaethau drwg hollol; ar y rhei'ny, nid yw y rhydd-weithredydd, y "dyn," i wrando dim. Mae annogaethau da hollol, ar y rhei'ny, dylai wrando bob amser. Mae annogaethau cymmysg, ar y rhei'ny, efe a ddylai gadw llygad a gwyliadwriaeth, yn anad neb. Mae o'r holl annogaethau hyn, rai o'i fewn ef, yn ffurfio cyfran o'i gyfansoddiad; ereill oddiallan iddo. Y rhai blaenaf yw y chwantau. Tynant a llithiant, yn gydweithredol gan amlaf, a rhyw rai allanol; pan benderfyno y dyn ufyddhau, neu yn hytrach, pan ymollyngo tuag atat y pechod gweithredol, y dechreua dyn bechu. Nid yw yn bechod ynddo fod ei chwant yn gref; mae hyny yn gyfleusdra iddo gael bod yn rhinweddol drwy ei llywodraethu.

Rhuf. 5, 12—20, yw o'r cwbl oll, y brif noddfa a fedd y llygredd gwreiddiol, a'r euogrwydd cyfammodol dan sylw. Ond, cymmerwn sylw manwl o'r hyn a feddyliai yr apostol yn yr holl ymadroddion a geir yno, canys ei eiriau, a hwy yn unig, sy'n arddangos ei feddwl ef. Olrheiniwyd i ystyr y geiriau a'r ymadroddion hyn yn dra manwl eisoes yn yr Esboniad ar y lle; eithr y mae etto anghen am eu rhydd-hau oddiwrth yr hen gyhuddiad Awstinaidd o'u bod yn cynnwys cefnogiad i'r llygredd gwreiddiol. Cofied y darllenydd drwy yr holl draethodau hyn, nad ydys yn gwadu llygredigaeth *cyffredinol* wrth wadu ei fod yn *wreiddiol*—nad ydys yn gwadu fod pob dyn yn pechu, wrth eu hattal i fwrw yr *achos* o'u pechod yn Adda a'i gyfammod.

Adn. 12 ni ddywed ddim am *bechod*, ond ei fod, yn 1af, wedi dyfod i'r byd drwy un dyn. Pa un ai drwyddo ef fel *gweithredydd* cyntaf pechod, ai ynte fel y cyntaf yn rhestr yr esiamplau pechadurus, ai yn rhyw fodd arall, ni eglurir gan Paul. Gŵyr pob un sy'n arferyd â'r iaith wreiddiol mai yn benagored fel hyn y gedy priodol ystyr yr ymadrodd, y peth. Dywedir yn 2il, "Yn gymmaint a phechu o bawb." Gwelir yn yr Esboniad ar y lle wahanol farnau y beirniaid. Eithr at bechod cyfrifol neu gosp pechod yr ystyrir yno fod y cyfeiriad yn debycaf. Ac megys nad llygru natur y dyn Crist Iesu oedd ei wneuthuriad ef yn bechod (2 Cor. 5, 21); felly hefyd, nid llygriad ein natur ninnau oedd ein gosod yn bechaduriaid fel hyn drwy Adda. Cospi Crist am bechod dynion ereill oedd mewn golwg wrth ddywedyd ei fod ef wedi ei wneyd yn bechod, a'r un fath yma i ninnau. Cosp *am* bechod a raid fod hon, a hòno yn rhywbeth a elwid *marwolaeth*.

Adn. 16 yw y nesaf a fenthyeir; ond nid oes ynddi gyfeiriad at ddim ond barn i gondemniad am gamwedd Adda. Pa *fath* gondemniad oedd, nid yw yn eglurhau; eithr daw adn. 17 yn mlaen, ac a ddywed mai marwolaeth, ac nid llygredd pechadurus ydoedd. Adn. 18 sydd gyffelyb i adn. 16.

Adn. 19 sydd gyffelyb i adn. 12. Nid yw yn eglurhau drwy ba *fodd* y gwnaeth camwedd un bawb yn bechaduriaid. Etto dywed mai yr un ffunud ag y gwnai yr un pawb yn gyfiawn drwy ufydd-dod yr Un arall. Ar ol esbonio mai cyfiawnhau *cymmeriad* ac nid anian, sydd mewn golwg yma, pa fodd y gall yr Awstiniaid esbonio y "gwneuthur" yn ddim ond perthynasol â chymeriad hefyd, tra dywed Paul mor eglur mai *yr un modd* y ddau wneuthuriad?

Adn. 21 a ddywed mai i farwolaeth, ac nid i lygriad natur, yr amlhaodd pechod Adda. Felly nid oes o fewn yr holl ymadroddion hyn ddim yn debyg i'r llygriad gwreiddiol, na'r condemnio i fod yn bechaduriaid, nac i ddim yn y byd ond i farwolaeth naturiol.

Mae yn llawenydd i mi allu hysbysu i'r darllenydd, nad oes perygl iddo, wrth olrhain yr ysgrythyrau santaidd, eu cael yn croesi cywir athroniaeth a ffaith. I'r gwrthwyneb yn hollol y ceir hwynt. Ac yn awr, gan fod athrawiaeth y llygredd gwreiddiol wedi ei phrofi yn y cyn-draethodau yn bwnc afresymol, ac yma drachefn, yn bwnc dyeithr i'r ysgrythyrau, nid oes dim a all alw am dano; ond y mae pob ystyriaeth yn annogaethol i'w wrthod.

## TRAETHAWD XVII.

### GWIR EFFEITHIAU CAMWEDD ADDA AR EI GYFLWR EF A NINNAU.

1af, Gwnaethpwyd Adda o ran ei gorff dan yr un deddfau â phob anifail arall. Yr un tân a'i llosgai, yr un dwfr a'i boddai, yr unrhyw amgeledd a'i cadwai yn fyw. Dyna ydoedd efe, os ydoedd yn *ddyn*. Mae Dr. Pye Smith ac ereill wedi eglur brofi mai arddangos yr anwybodaeth mwyaf o ddeddfau natur, yw dal mai pechod raid fod yr achos gwreiddiol o bob marwolaeth.

2il, Gwnaethpwyd Adda ar ddelw Duw; ond yn mha ystyr nid yw yr hanes yn manylu, yn mhellach nag a ellir ei gasglu oddiwrth rediad cyssylltiadol yr ymadrodd:—"Gwnawn ddyn, ar ein delw ein hunain, ac arglwyddiaethed, &c." yn Hebraeg,—VE IRDO, ac arglwyddiaethed. Pa un ai yr ystyr o SEF sydd i'r *ac* hwn, ynte yr ystyr o *ac hefyd?* Fod i'r *ve* a gyfieithwyd yn AC yma yr ystyr o *sef* yn ogystal ag *ac* a dystir gan y prif rammadegwyr, megys Gesenius *Hebr. Gram.* § 152, Lee's *Gram. Art.* 242, 11. Yn ol y deongliad yna y cyfieithiad priodol fyddai:—"Gwnawn ddyn ar ein delw ni, sef arglwyddiaethed, &c;" ond pa un bynag, ni all yr ystyr fod yn ddelw foesol o santeiddrwydd: canys heblaw y ffaith na all santeiddrwydd greddfol neu anianyddol fod yn rhinwedd, nac yn wir yn un math o santeiddrwydd; ni all santeiddrwydd moesol fod yn ddim ond cymmeriad, na'chymmeriad yn ddim ond yr hyn a ennillir drwy ymarweddiad. Felly nid santeiddrwydd oedd y ddelw hòno. Hefyd, dywed Eph. 4, 23, 24, "A gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd." Ac medd Col. 3, 10 drachefn, "gan ddarfod i chwi ddiosg yr hen ddyn, a gwisgo y newydd, yr hwn a adnewyddir mewn cyfiawnder, yn ol delw yr hwn a'i creodd ef." Ar yr ymadroddion hyn, sylwer mai ymddygiadau ydoedd y ddelw hon, ac nid anian; canys *gwisg* ydoedd: a cheir yn y cyf-adnodau pa fath weithredoedd oedd yn cyfansoddi yr ymarweddiad neu ddelw hon. Felly, hyd yn nod pe gellid profi mai hon oedd y ddelw fu ar Adda, ni phrofai mai anian o'i fewn oedd hi. Wrth y creu fu gan Dduw arni, rhaid deall ei waith yn ei chyfansoddi a'i threfnu ei hunan. Eithr pan gofiom fod Adda tra dan oreuon y ddelw hon, wedi bwyta o ffrwyth y pren, a phechu yn ysgeler yn erbyn Duw, nid ymddengys y ddelw o werth nemawr fel attalfa rhag pechod. Ac nis gallaf fi ateb dros y rhai a ddaliant y llygredd gwreiddiol, pa fodd yr aeth perffaith santeiddrwydd mor frwnt a dewis pechod fel yma. Am y saint yn awr, tra ar ddelw foesol Duw, nid ydynt yn pechu, canys cael eu hannog i wisgo y ddelw hon y maent, a phan bechont, delw arall sydd am danynt. Nid oes *anian* na *greddf* santaidd yn bod. Peth o ddewisiad yw pob rhinwedd a bai. O ran hawsder i wneyd da a drwg yr ydym ni yn hollol ar yr un dir ag y bu Adda ar y cyntaf, ac y mae ac y bydd pob dyn bob amser. Arferiad, a dysg, a chyfleusderau ereill yn unig sy'n cynhyrfu y gwahaniaeth. A phe gallesid creu neu gyfansoddi enaid Adda yn santaidd, nid rhinwedd ond gras fuasai hyny. Ac ar ol hyny eilwaith, pan yr aethai efe i ddechreu gweithredu, buasai raid iddo gael ei amddifadu o'r anian santaidd dan sylw cyn dechreu, onide yn

nerth yr anian hono y gweithredasai efe y cwbl, ac nid yn ngrym ei ddewisiad rhydd ei hun. Ac os nad yn ngrym ei rydd ddewisiad ei hun, yna nid yn gyfrifol, ychwaith. Fel hyn mae rhinwedd a bai fel eu gilydd yn anmhosibl, pryd y bo anian dda neu ddrwg yn cael ei chydgreu â chyfansoddiad y gweithredydd: ac am hyny, oherwydd mai dyn cyfrifol o'i gyfansoddiad cyntaf yn mlaen ydoedd Adda, rhaid mai dyn rhydd hollol o ran ffynonelliad ei ddewisiadau ydoedd, ac os rhydd felly, yna dyn di-anian dda, a di-anian ddrwg, i gael ystyried yr annogaethau fel y mynai, a phenderfynu fel y mynai, yn ddoeth neu annoeth, ydoedd efe.

3ydd, Cyfnod Pren gwybodaeth da a drwg. Cyn y cyfnod hynod hwn, dengys Gen. 1, 29, nad oedd cymmaint ag un pren na llysieuyn yn waharddedig i Adda a'i wraig, yr hyn sy'n dangos mai cyflwr newydd iddynt oedd cyfnod goruchwyliaeth y Pren. Eithr gan mai ufydd-dod newydd a bywyd newydd ydoedd ei brif os nad unig elfenau, rhaid mai ufydd-dod a bywyd, anufydd-dod a marwolaeth, arall oedd eiddo yr oruchwyliaeth flaenorol. O'r blaen, marw a byw oeddynt fel marw a byw creaduriaid anianawl ereill, yn dibynu ar ddeddfau dadfeiliad a damwain, megys y deddfau sy'n bod yn awr; mwyach dibynant ar ufydd dod neu anufydd-dod yn nghylch ffrwyth y pren yn unig; fel pe dywedasai Duw;—"Ni chewch feirw drwy un modd, os byddwch ufydd; ond os anufydd fyddwch, nid oes fyw i chwi mewn un modd." Gwyrth a'u cadwai mwyach yn fyw, er gwaethaf holl ddeddfau dadfeiliad a damwain. Darfyddai y wyrth pan bechent, ac elent dan ddeddf, nid yr hen un gyntaf o ddadfeiliad a damwain, ond yr un newydd o benyd diaros. Codai ufydd-dod hwynt i uwch tir, tra taflai anufydd-dod hwynt i îs tir, nag o'r blaen. Yr oedd hyn yn fawr fantais i Adda. Nid ymddengys fod neb o'i hiliogaeth ynddo ef. Dyfais o eiddo Awstin oedd hyny, er mwyn ei chael yn bont i gysylltu pechod Adda â marwolaeth yr hiliogaeth. Ond y mae ffordd fwy ysgrythyrol, ac unol ag uniondeb, i roddi cyfrif am farwolaeth pawb drwy gamwedd un, na hono. Sylwer ar ddammeg y Tad a'r Cerbyd yn Traeth. xiv, ar hyn. Gwyddai ein Tad nefol mai i'r ffos yr elai yr Adda cyntaf; ac nid efe oedd y Bôd a'n gosodasai byth *yno*, ar draul ei gymmeriad uchel ei hun, a'n bywydau gwerthfawr ninnau. Gwel sagor ar pen. 5, 12.

4ydd, Penyd y gyfundrefn Edenaidd. Yr oedd y dyn i farw ar y dydd y bwytäai, ac mewn canlyniad, i golli braint wyrthiol ei gyflwr newydd. Felly, o ran cyhoeddiad sylfaenol y gyfundrefn, yr oedd raid iddo ddyoddef.

5ed, Cyfundrefn newydd arbediad. Pan yr oedd marwolaeth ar ddisgyn ar ben y troseddwr, deddf newydd a ymwthiodd i mewn yn ei hochr, drwy Iesu Grist ein Harglwydd. Gwel ar pen. 5. 13, 20. Deddf gras a bywyd, neu ddeddf Ysbryd y Bywyd, ydoedd hon. Cynnwysai y ddeddf neu gyfundrefn newydd hon, yn 1af, Arbediad i'n rhieni cyntaf, er mwyn eu benthyca, mae'n amlwg, i boblogi y byd, a sefyll yn offerynau gwasanaethol i brif amcanion grasol y gyfundrefn. Yn 2il, Eu disgyniad oddiar esgynlawr uchel-freintiawg a gwyrthiol gyfundrefn y Pren, i wared i'r cyflwr cyntaf yn mha un eu crewyd,

gyda golwg ar ddeddfau bywyd ac angau. Yn y cyflwr hwn, pa hiliogaeth bynag a gaffent, a enid ar yr un dir a hwythau. Tir y gyfundrefn newydd yn Nghrist nid yw ddim ond yr hen dir cyntefig, o fyw tra gellid dan anfanteision dadfeiliad a damweiniau. Ac er nad oeddym ni yn Adda pan yr ystyrid ein bodolaeth yn anmhosibl, yr oeddym ynddo o'r fynyd yr arbedwyd ef, ac y gosodwyd ef ar dir bywyd y ddeddf newydd. Etto, nid fel pen-cyfammodwr, ond cyn-dad yn unig, y gellid ein hystyried ynddo ef. Gwel ar 5, 20. Ped arosasai Adda dan ddeddf fanteisiol y pren, a chenedlu o hono blant dani, buasent hwythau, debygid, dan yr un ddeddf ag yntau, i fyw a marw yn ol eu hymddygiad at ffrwyth y pren. Nid oes le i gasglu y buasai eu bywyd yn dibynu ar ei ufydd-dod ef. Fel hyn gellir dywedyd am bawb, y gallasent gael peidio marw, pe'u cenedlasid o fewn cyfundrefn wyrthiol y Pren; eithr gan i Adda ddinystrio y gyfundrefn hóno, gellir dywedyd o'r ochr arall am bawb, na allant mwy gael peidio marw; ac yn yr ystyriaeth hon, drwy neu yn Adda y mae pawb yn meirw. Nid drwy osod y pawb yn Adda cyn iddo gwympo, ond drwy gyflunio cyfundrefn uwch cyrhaedd marwolaeth, a gosod dynol-ryw ar ei hesgynlawr, i sefyll yno oll tra dewisent oll sefyll, ond i syrthio bob un pan fwytäai efe o'r pren; a phan fwytaent oll o hono, fod y gyfundrefn i ddybenu am byth, a'r rhywogaeth i farw, bob un yn y dydd y bwytäai Mwy na hyn nid oes o fewn y datguddiad dwyfol: a phrofa ffaith am ddynoliaeth, mai fel y mae hi yn awr o ran dadfeiliadwyaeth cyfansoddiad, y rhaid fod ei chyflwr cyntefig. Yn 3ydd. Gan fod yr ail Adda yn peri bodolaeth i holl ddynolryw mewn ystad agored i farwolaeth fel yr ydys, yr oedd yn gweddu iddo, cyn y gallai ganmol rhagoroldeb ei gyfundrefn ef ar gyfundrefn y Pren, gyflenu bywyd i'w ddeiliaid ar well tir nag a gawsent dan y llall. Ac felly mewn ffaith y darfu iddo, medd Paul: bywheir pawb drwyddo yn yr adgyfodiad, ar orpheniad prawf hirfaith y rhywogaeth, i fwynhad o fywyd anfarwadwy mwy. Ni all un o honynt ddadlu ddarfod iddo gael cam gan yr ail Adda, canys y mae efe yn cael ei fodolaeth ganddo ar dir cyntefig a naturiol creadigaeth corff anianol, sef i fyw tra gallo, fel pob corff anianol arall. Yn 4ydd, Caiff pob un o'r rhywogaeth fodolaeth a chyfansoddiad o'r fath ag a fydd yn ei gymhwyso i dderbyn lliosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, a gosodir y fraint werthfawr hon o fewn ei gyrhaedd, nes y safo ar brawf, nid am sierhad bywyd, fel yn Eden, ond am deyrnasu mewn bywyd diddiwedd, drwy Grist Iesu. Yn 5ed, Fel hyn, amlhaodd gras, nid ar rywogaeth newydd, ond yn y *lle* yr amlhasai pechod, ac ar y rhywogaeth a ddarasid o lyfran posiblrwydd bodoli gan bechod; ïe, rhagor amlhaodd i bob dyn, o gymmaint ag y mae prawf am nefoedd yn well na phrawf am Eden; sicrwydd am fyw byth uwchlaw difodiad, mewn corff ac enaid, yn well na phrawf am hyny, i ddibynu ar ymddygiadau dyn ffaeledig,

Ychwanegir alleiriad o'r adnodau hyn o eiddo Paul, yn y dull y dylasent fod i brofi y llygredd gwreiddiol cyffredinol o eiddo Awstin, yn lle fel y maent i brofi marwolaeth gyffredinol gan Paul ei hun.

5, 12.—"Am hyny, megys drwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a

llygriad cenedledig drwy y pechod hwnw; ac felly yr aeth y llygriad cenedledig ar bob dyn, nes yn gymmaint a phechu o bawb.

13,—"Canys hyd y ddeddf yr oedd pechod yn y byd, eithr cyfrifir pechod ar fabanod, pryd na all fod deddf yn eu gofyn.

14,—"Eithr teyrnasodd y llygredd gwreiddiol o Adda hyd Moses, ïe, arnynt hwy fabanod, y rhai a bechasant yn Adda, yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddyfod.

15.—"Eithr nid megys y camwedd, felly mae y dawn hefyd. Canys os drwy gamwedd un y gwreiddiol lygrwyd llawer, mwy o lawer yr amlhaodd gras Duw, a'r dawn drwy ras yr un dyn Iesu Grist i lawer-oedd l.

16,—"Ac nid megys y bu drwy un a bechodd y mae y dawn; canys y ddamnedigaeth a ddaeth o un camwedd i gondemniad; eithr y dawn sydd o gamweddau lawer i gyfiawnhad.

17,—"Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd y llygredd gwreidd-iol trwy un, mwy o lawer y caiff yr hwn sydd yn derbyn lluosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd drwy un, Iesu Grist.

18,—"Felly gan hyny, megys drwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i fod yn enedigol lygredig; felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn etholedig i gyfiawnhad bywyd.

19,—"Oblegid drwy anufydd-dod un y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid gwreiddiol eu llygredigaeth, felly trwy ufydd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn.

20,—"Eithr y cyfammod gweithredoedd a ddaeth i mewn fel yr amlhäai y camwedd; eithr lle yr amlhaodd y pechod y rhagor-amlha-odd y gras.

21,—"Fel megys y teyrnasodd pechod i lygredigaeth genedigol y rhywogaeth, felly hefyd y teyrnasai gras i fywyd tragwyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd."

Bellach, nid oes ond un wrthddadl o bwys heb ei hateb, sef, *Os nad drwy lygredd gwreiddiol cyf-enedigol y pechir, paham y pecha pawb bob amser?* Cyfaddefaf ar y dechreu fod pawb yn pechu. Cyfeirio yr wyf yn unig at bawb sy'n cael tyfu i stad cyfrifoldeb moesol. Am y lleill, tra bo'n wir yr athrawiaeth o "lle nid oes deddf nid oes gam-wedd," bydd mor wir na allant hwythau gyflawni na da na drwg moesol: ac y mae mor wir a hyny, na ellir cyfrif neb yn euog o ddrwg y llall, nac yn deilwng o'i rinwedd ef. Am ei gosp a'i wobr, pethau hollol wahanol ydynt hwy. Ond, er cyfaddef o honof fod *pawb* yn pechu, ni allaf gyfaddef fod pob un yn pechu *bob amser*. Pan unwaith yr ennillir dyn i gredu na all efe gyflawni unrhyw orchwyl, ac na wnaeth efe erioed ddim ond pethau hollol groes i'r cyfryw orchwyl, yr ydys wedi ei ennill i dir lle nad ymgais efe byth ei gyflawni. Mae tuedd yr athrawiaeth hon mor groes i grefydd a santeiddrwydd, fel yr ymddengys ar yr olwg gyntaf yn ffynnonellawg o bob man yn hytrach nag o Dduw. Ond, gwyddom, o ran hyny, mai o ddyfais Awstin y ffynnonodd gyntaf oll, sef o'r philosophi ydoedd ar waelod ei lestr ef cyn i Gristionogaeth ymdywallt iddo. Eithr, heblaw fod tuedd yr ath-rawiaeth hon yn ei chondemnio, mae *ffaith* yn ei chyd-gondemnio â

hyny. Edrycher, er enghraifft, ar ddyn hollol annychweledig yn sefyll yn ei ddor, ac yn cyfranu elusen i'w gyd-greadur truenus. Nid oes neb yn ei ganfod, ae ni all efe ddysgwyl un wobr gan ddynion am ei waith. Wele weithred rinweddol, deilwng o wobr; a gwobrwyir hi gan y barnwr ddydd olaf brawd. Tair elfen rhinwedd yn ddiau a gafwyd ynddi. Yr oedd y gweithredydd yn rhydd i gyfranu elusen neu beidio i'r gwrthddrych; yr oedd cyfranu elusen i'r tlawd yn weithred dda ynddi ei hun; a gwnaeth yntau hi am ei bod yn peri daioni iddo, ac nid dim arall. Nid oes raid colli amser yn awr i brofi fod pob cyfryw weithred yn sicr rinweddol, nad pwy fo y gweithredydd. Mae yr holl haeru na all neb ond yr etholedigion gyflawni un weithred deilwng o wobr, yn darfod, ac yn sicr o ddiflanu yn llwyr pan ddel yr oes i ddeall natur moesoldeb a chyfrifoldeb creaduriaid Duw.

Y ffaith ar hyn, ynte, yw fod pob plentyn yn gwneyd drwg a da yn lled gyfartal i'r hyn allesid ddysgwyl oddiwrth greadur rhydd dan y fath annogaethau. Mae y naill blentyn yn gwneyd llai o ddrwg na phlentyn arall, canys y mae gwell cynghorion ac esiamplau yn dylanwadu arno. Os o Adda y daeth eu holl duedd at bechod, paham na ddaethai yr un faint o duedd i'r ddau, canys y maent yn perthyn iddo mor agos a'u gilydd? Gwrthddadleuir etto, Fod yn yr un teulu, a than yr un gwersi ac esiamplau, ddau frawd, y naill yn fachgen da, a'r llall yn ddrwg iawn. Dichon hyny fod, a'r bai wrth ddrws y rhieni ar yr un pryd. Pa beth yw y meddwl dynol ar ei ddyfodiad i'r teulu? Math o gŵyr newydd, heb ei foldio, yn anrheg o'r byd ysbrydol yw, a'r fraint annhraethol o'i ffurfioli wedi ei hymddiried i'w fagwyr neu rieni i ddechreu. Mae gwahanol reddfau mewn un plentyn i reddfau plentyn arall. Mae teulu yn cael ei ffurfio fel hyn gan Dduw, er mwyn i bob un lenwi gwahanol leoedd yn y gymdeithas deuluaidd, a'i gwneyd felly yn ddedwydd, Mae yn anmhosibl i'r tad a'r fam, ac annoeth iawn fyddai ceisio at, foldio pob cŵyr o'r fath yn yr un fold —pob meddwl gyda'i reddfau yn yr un ffurf; ac os felly y gwnant, cânt allan yn fuan eu bod wedi dygwydd ar y dymher, a'r fold oedd gyfaddas i un o'r sylweddau anfarwol hyn, ond odid, tra wedi andwyo y lleill, o eisieu arfer atynt y driniaeth briodol. Mae y Creawdwr a roddes i bob un o'r plant hyn wynebpryd a lleisiau gwahanol, yn dysgwyl i'w rhieni ddirnad fod eu greddfau a'u galluoedd meddyliol yn wahanol hefyd. Ac uwchben hyn, yr wyf yn gorfod penderfynu yn ngeiriau y gwr doeth:—"Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy efe â hi." Os nad yw traed rhyw un o'r plant dan sylw ar y ffordd dda, amlwg yw na osodwyd mo honynt *ar ben* y ffordd gan neb. Ac er i'r rhieni fod yn bobl dda, fel eu gelwir, nid oeddynt graffus a chall er dim. "Mae plant," meddai y Salmydd, "fel saethau yn llaw y cadarn." Pan fo y saethau o wahanol rym a maintioli, nid â'r un egni y tynir y bwa at bob un a'u gilydd. Caiff y sawl a wnelo felly weled yn fuan y bydd y nifer luosocaf o honynt wedi cwympo yn fyr o'r nôd. Felly, pan na fo rhieni yn gallu cael gan yr unrhyw ddull a modd o fagwraeth ysbrydol a meddyliol gymmeryd yr un effaith ar bob un o'u plant, gwell yw iddynt droi y bai

arnynt eu hunain, nag ar unrhyw gyfammod gweithredoedd o eiddo Duw nac Adda; canys tystia ffaith fod y rhieni a wnaethant wahanol reddfau eu plant yn destyn astudiaeth cyn cymhwyso crefydd a moesau da atynt, wedi llwyddo, ac nad oes neb wedi aflwyddo ond y lleill. A phe nad fel hyn y byddai, gorfyddai arnaf fi gyduno a'm gwrthwynebwyr, gan ddywedyd gyda llais digalon; "Ofer yw olrhain i wahanol reddfau eich plant, canys y maent oll fel eu gilydd yn reddfol i ddamnedigaeth, a dim arall. Ofer yw eu dysgu â gwers nac ag esiampl, canys ni ddad-ddysgir beth ronyn o'u llygredd gwreiddiol:"

Os cyfaddefir fod dyn annychweledig yn gwneyd dim ond *un* weithred rinweddol mewn oes, yr ydys yn gwadu llygredd gwreiddiol, ac yn cyfaddef ar unwaith nad yw dyn wrth natur yn sicr o wneyd drwg bob amser; ond y gall efe beidio pan y myno, ac y dylid dysgwyl wrtho am beidio drwy ein gwaith yn ei annog. Os gwadir fod y cyfryw ddyn yn cyflawni un weithred o'r fath, yna yr ydys yn gwadu ffaith ac athroniaeth moesoldeb *(moral philosophy)* ar unwaith. Gellir hebgor pump rhan o chwech o'r holl ysgrythyr, os nad ydys i ddysgwyl wrth ddyn diadgenedledig am weithredoedd rhinweddol.

Gan i'r pwnc hwn fyned â chymmaint o le, rhaid gadael allan y sylwadau addawedig ar rai pynciau ereill hyd y cyfrolau dyfodol. Gwell ydoedd, ar y cyfan, olrhain y pwnc hwn i'r eithaf yn awr, na'i olrhain mewn rhan, a throi ato eilwaith rhagllaw.

---

## TRAETHAWD XVIII.

### CADWYN YR ACHUB.

*Gwahoddiad cyffredinol efengyl, wedi ei sylfaenu ar iawn cyffredinol, i fwynhad o etholedigaeth a gogoniant neillduol.*

Mae ymholi mawr wedi bod drwy yr oesoedd, pa fodd y gall yr iawn fydd a'i ddarpariaeth yn gyffredinol, fod a'i ogoneddiad neu ei etholedigaeth yn neillduol? Y llwybr a ddewisir yma i gyssoni yr athrawiaethau hyn, yw, nid drwy ddechreu yn ol gydag etholedigaeth, lle cyfaddefir yn gyffredin fod y perygl mwyaf i gamsynied; ond drwy ddechreu yn ein hymyl, fel drwy feddu y fantais o gychwyn yn gywir, y galler cilio yn ol o gam i gam gyda mwy o ddiogelwch.

I. *Colledigaeth gyffredinol pechaduriaid.* Diau y cyfaddefir gan Gristionogion yn gyffredinol, nad oes ddyn ar y ddaear a wna ddaioni, ac ni phecha; fod pechod yn dwyn condemniad y llywodraethwr cyfiawn ar yr euog; a'r condemniad yn sicrhau cosp gyfatebol wedi barn. Dyma sefyllfa dyn o'i wirfodd. Mae y pwnc galarus hwn yn ffaith ac yn ddatguddiad. Dyma ddolen agosaf y gadwyn.

II. *Gwahoddiad cyffredinol efengyl Crist.* Er nad oedd y Ddeddf, ac er fod ammheuaeth pa un a oedd efengyl gyn bentecostaidd y Ffydd, yn gwahodd *pawb* yn mlaen, diau nad oes neb a ammheua fod efengyl yr iachawdwriaeth hon felly. Mae yr ychydig bregethwyr hyny ag a wahoddent yr etholedigion yn unig, ynghyd â'r rheiny a beidient â *gwahodd*, ond a gyhoeddent yn unig, gan adael i Dduw argyhoeddi ei etholedigion fel y mynai, wedi darfod, yn Nghymru o leiaf. Ystyrir

yn awr mai y deheuaf, difrifolaf, a thaeraf ei gymhelliadau cyffredinol, ar holl gyrau y ddaear, i ddyfod yn mlaen at Grist, yw y pregethwr goreu. Mae y pwnc hwn etto yn ddatguddiad, ac y mae ymddygiad ein pregethwyr oll yn ei osod hefyd yn *ffaith*.

III. *Rhai yn ufyddhau, a rhai yn anufyddhau, i'r gwahoddiad.*—Y mae hyn yn ffaith mor amlwg, fel mai dianghenrhaid ceisio ei phrofi.

IV. *Paham yr anufyddha pechadur i'r fath alwad resymol â hon.*—Yn gyntaf, rhaid cyfaddef mai dewis anufyddhau y mae efe, a hyny oddiar anystyriaeth o'r iachawdwriaeth, ac o'i anghen ei hun o honi ar y pryd. Cyfaddefir yn gyffredinol, mai un o'r gorchwylion hawddaf a mwyaf naturiol i'r dyn a ddewiso ei gyflawni, yw credu yn Nghrist. Etto, anghreda un, fe allai, am nas gwyr bwys ei golledigaeth; arall am nas gwyr hefyd addasrwydd y Ceidwad; arall am yr oeda hyd gyfleusdra gwell; ac arall, fe allai, oherwydd rhyw ystyriaeth wahanol; etto, cytunir yn lled gyffredinol, yn mysg gwrandawwyr cysson efengyl, mai pechod yw yr anufydd-dod hwn, ac mai dyledswydd pob dyn yw ufyddhau yn ddiymaros i'r efengyl. Felly, cytuna ffaith a dadguddiad i gyd-dystiolaethu, mai ar yr anufydd ei hun y gorphwysa y prif euogrwydd, ac mai yn esgeulusdra Cristionogion cylchynol y ceir y gweddill o'r bai; a bod Duw yn rhydd oddiwrth y pechod, ar bob ystyriaeth.

V. *Pa beth sydd yn peri i'r rhai a ufyddhant ufyddhau?*—Yr ateb yw, mai yr un peth yn hollol ag sy'n peri i'r lleill beidio—eu dewisiad eu hunain. Ond, pa beth a barodd i'r ufydd ddewis ufyddhau? Rhyw beth hollol groes i'r hyn a barodd i'r llall anufyddhau. Adroddwyd dan Dolen IV pa beth neu bethau oedd hyny; ac o gael allan yr hyn sy'n groes i'r pethau hyny, ceir gweled achosion ufyddhad y credadyn i'r efengyl. Ystyriaeth o bwys yr efengyl, a'i pherthynas agos a'i ddedwyddwch ef ei hun, ac â'r cyfleusdra presennol o'i oes, oedd yr achosion, mae'n debyg, o'i du ef. Ond, o ba du *arall* y caed cyf-achosion? Diau y cafwyd achosion annogaethol yn y genadwri efengylaidd ato ef: eithr, rhaid oedd ystyried hyny fel anhebgorol yn y sylw blaenorol. Achos annogaethol arall oedd yn neheurwydd y pregethwr a'i cymhwysodd ato ef, yn mhriodoldeb ei gyd-ymarweddiad ef, ynghyd ag ymarweddiad yr holl broffeswyr a safent wrth gefn yr efengyl, i'w hadlewyrchu yn deg mewn ymddygiadau ar yr anufyddiaid. Ac, oni allasai Trefnydd anfeidrol yr iachawdwriaeth d ysgwyl i hyn oll gymmeryd lle yn dra naturiol, gyda chredinwyr agored eu llygaid ar berygl eu cymmydogion anghrediniol? Eithr, galarus yw gorfod cyfaddef, gorfu i'w drem dragwyddol ganfod mai pechadur parhaus fyddai hyd yn nod y credadyn ei hun, ac y byddai esgeuluso achubiaeth y byd ei brif bechod. A pha beth, ar yr olwg o'r diffyg andwyol yna, oedd i'w wneuthur? Pa beth hefyd, heblaw ei gyfarfod â gras cyfatebol? Da fuasai sicrhau cadwedigaeth pob enaid dyn, os gellid gwneyd hyny drwy gyd-sicrhau cymmeriad y Ceidwad. Ond, nid oedd namyn un o bump ffordd i wneuthur hyn: naill ai (yn 1af,) cyflunio moddion ag a fuasent ynddynt eu hunain yn sicr o ennill sylw teilwng yr anghrediniol, er gwaethaf ei anystyriaeth; ai (yn 2il) drwy foddion ag a sicrhasent ei sylw yn ol y dull presennol, os ceffid

cydweithrediad teilwng yr eglwys; ai (yn 3ydd) drwy osod mynnu credu'ynddo, ar draws deddfau presennol y meddwl; ai (yn 4ydd) drwy ei osod yn sefyllfa y nefolion, lle na fynant anufyddhau byth; ai (yn 5ed) drwy osod o'i flaen yr annogaethau cryfaf i gredu, mewn cenadwri ac ymarweddiad, gan gynnorthwyo annogaethau a'i law ei hunan, yn gydunol â deddfau uniondeb, hysbys i bawb, datguddiedig ganddo ef ei hun.

Yn awr, pa un o'r cynllnuiau hyn yw y mwyaf rhesymol, canys â dysgyblion rheswm yr ydys yn ymddyddan? Am y cynllun *cyntaf* gellid dywedyd, nad oedd fodd cyflunio annogaethau cryfach na'r rhai y sydd; ac y mae ei anystyriaeth yn cael ei brofi yn gryfach nag annogaethau grymusaf posiblrwydd—na'r annogaethau y sydd. Nid oes fodd cyflunio annogaethau mor gryfion ag i ennill sylw y creadur anystyriol a elwir *anghredadyn*, heb gydweithrediad ymarweddawl yr annogydd, neu gydweithrediad dwyfol, neu y ddau. Am yr *ail* gynllun, rhaid dywedyd, fod y moddion goreu at ennill cydweithrediad yr eglwys hefyd yn y cynllun; canys y mae colledigaeth dragwyddol y llall gerbron eu llygaid yn ddiorchudd, yn nghyda charedigrwydd annogaethol y Ceidwad yn toddiadol ddylanwadu ar eu hesgeulusdra a'u caledwch o'r ochr arall; ond yn ofer, gan amlaf. Dywed ffaith hyn! Ni raid ond rhifo yr eneidiau colledig o'n hamgylch i brofi hyn. Am y *trydydd* cynllun, dywedaf, os drwy *annog* y dyn y mae yn rhaid ei gael i gredu, mai yn unol â deddfau presennol ei feddwl y byddai hyny; eithr os drwy gyfnewid y rheiny y gwneir iddo ufyddhau, drwy ei wneyd ef yn rhywbeth na fo'n *ddyn* fyddai hyny: ond son am gadw *dyn* yr ydym, ac nid am gadw rhyw fath arall o greadur. Am y *pedwerydd* cynnygiad, dywedaf, nad yr un cynllun o berffeithiad graddol sydd gymhwys at fôd moesol o fath gelyn Duw ar y ddaear, ag at fôd moesol arall fo'n gyfaill iddo yn y nef. Ac nid wyf addfed, ychwaith, i haeru y gellid cyflunio moddion moesol, heb un ymyraeth dwyfol wrth eu cefn, i beri i bechadur gelynol ar y ddaear ymarweddu drwy droedigaeth ddisymwth, ac o hyny yn mlaen byth, fel yr ymarweddir yn y nef. Os ystad o wobr yw y nef, nid priodol, ychwaith, fyddai gosod o'i mewn gyfiawn deilyngydd cosp. Ymddengys i feddwl yr ystyriol amryw ystyriaethau ereill dros anmhriodoldeb y cynllun hwn. Am y *pummed* cynllun, gellir dywedyd bellach nad oes un yn rhesymol ond efe; canys cawn yma bob peth a ellid yn rhesymol ei ddysgwyl mewn cynllun graslawn, oddiwrth y fath Fod a Duw, at adgyweiriad a phardyniad y fath greadur a dyn colledig a phechadurus.

Yr hyn oll a bâr *rheswm* i ni ei ddysgwyl o fewn y fath iachawdwriaeth, can belled ag yr â ei hadgyweiriad egwyddor, neu ei throedigaeth, yw hyn:—

1af, Ei bod yn troi dyn mor ddiorfodaeth ag y troes pechod ef o'r blaen. Un o ymffrostion teyrnas Satan, yw mai o'i wirfodd yr ennillwyd pob deiliad a fedd: felly y dylai fod, y rhaid fod, ac y mae, ennillad Crist o'i ddeiliaid yntau; "yr *ennillodd* efe nyni," ebe Iago.

2il, Cyn y gellid gwneyd felly yn hollol, yr oedd anghenrheidiol ymarferyd â'r un cynneddfau, a galluoedd, ac yn y cyffelyb fodd, wrth adennill yr enaid oddiwrth bechod, ag yr arferasid wrth ei ennill at

bechod ar y cyntaf. Cywilydd a gwarth i'r Ceidwad fuasai cynllunio trefn fethedig yn hyn. Felly, megys mai drwy esiampl, ac addysg, a gwobrwyon, a bygythion—drwy annogaethau, moddion moesol, fel eu gelwir, yr aeth dyn ar wrthgiliad oddiwrth Dduw; felly hefyd, drwy esiampl dda, ac addysg grefyddol, a gwobrwyon a bygythion dwyfol—drwy foddion moesol—drwy bregethau, ysgolion sabbothol, yr argraffwasg, &c., yr ennillir y gwrthgiliwr hwn yn ol at Dduw. Dyma gynllun y Ceidwad i'w ennill ef. Gwyddys mai yn ol graddau yr annogaethau a nodwyd gyntaf y mae graddau drygioni dyn; a mai yn ol graddau yr annogaethau diweddaf y dysgwylir i, ac y ceir, Duw yn cydweithio â ni, i lwyddo mewn lleihau ei ddrygioni a chynnyddu ei rinweddau ef. Gwelir ar unwaith fod hyn hefyd yn rhesymol; a mor eglur a hyny fod y cwbl yn rhy fyr i gyrhaedd yr amcan.

3ydd, Dywed rheswm drachefn, mai drwy offerynoliaeth ddynol yr oedd yn rhaid adgyweirio dyn. Gan mai drwy demtasiynau neu annogaethau dynol, megys rhieni, cymmydogion, a chyfeillion, y twyllwyd ef at bechod; drwy yr unrhyw offerynau y rhaid ei ennill yn ol oddiwrtho. Mae mawr ogoniant yn hyn. Yr un sel, a llafur, a ffyddlondeb, ag a gymmerir i dynu dyn a phleatyn at bechod, sydd yn ofynol hefyd i'w tynu yn ol at Dduw. Onid yw hyn hefyd y rheswm puraf? ac onid fel hyn y mae cynllun y Ceidwad?

4ydd, Dylanwad gwirionedd pur raid fod yr unig ddylanwad. Megys mai dylanwad twyll fu yn tynu dyn ar y cyntaf, felly dylanwad gwirionedd digymmysg raid daro ar ei feddwl i'w ennill yn ei ol. At Dduw y gwirionedd y dygir ni; a Mab y Duw hwnw yw ein Ceidwad: syml wirionedd, gan hyny, yw gweinidogaeth y drefn. Ac onid felly y mae? Darllener yr holl ysgrythyr. Mor ofalus dros burdeb yn y dylanwad ydoedd pob un o'r apostolion! Yr hyn sydd wir am golledigaeth a chadwedigaeth dyn, yn ol y Testament Newydd, yw holl weinidogaeth yr achub. Ni fedd Duw un dylanwad arall. Mewn ffaith, ei ddylanwad arbenig ac unigol ef ei hun yw hwn. Adlewyrchiadau anfeidrol o'i fuchedd ef tuag at ein byd ni yw yr efengyl. Yr hyn a ganfyddir o'n cyflwr yn ngwyneb y goleuni hwnw yw ein trueni ni. Gan hyny, pan ddylanwado efengyl ar ddyn, buchedd y Duw santaidd sy'n dylanwadu—y gwirionedd pur sy'n taro ar y meddwl. Am hyny, nid hollol briodol yw dywedyd "dylanwad yr Ysbryd" am y dylanwad sy'n argyhoeddi pechadur; oblegid y gwirionedd sydd yn dylanwadu, er y dichon fod yr Ysbryd yn ennill sylw yr enaid ato.

5ed, Mae yn rhesymol fod offerynoliaeth llaw gan Ysbryd Duw yn yr ennilliad hwn. Yr oedd ynghyd ag offerynoliaeth ddynol, law gan benaeth y gyfundrefn—Satan, i dwyllo y dyn, drwy ennill ei sylw a'i serch at bethau twylledig, o ba fath bynag: ac onid yw yn uniawn, a rhesymol fod, ynghyd â dylanwad y gwirionedd dan offerynoliaeth ddynol, law hefyd gan Benaeth y gyfundrefn hon—Crist drwy ei Ysbryd, i ddad-dwyllo y dyn, drwy ennill ei sylw at bethau y ddidwyll gyfundrefn hon, er ei gadwedigaeth? Diau na wada neb ag sy'n cyfaddef y ffaith satanaidd mo'r *rhesymoldeb* o hyn. Ond y mae'r peth, nid yn unig yn rhesymol; ond hefyd yn beth sydd ag *anghenrheidrwydd* hollol am dano. Dywed hanesiaeth y gyfundrefn fod ei holler-

ynau yn methu bob amser, pan gilient oddiwrth bregethu y gwirionedd mewn gair a gweithred; a hyd yn nod, pan gadwent at hyny, ac esgeuluso gweddio am gydweithrediad yr Ysbryd â hwynt; yr hyn sy'n profi fod llaw ganddo yntau yn y gorchwyl. Mae y peth, nid yn unig yn rhesymol ac angbenrheidiol, ond hefyd yn *rasol.* Ar ol yr holl ras digyffelyb, a thu hwnt dysgwyliad rheswm byth, ag a ddangosasid eisoes at y byd truenus; nid oedd lai na rhesymol, ynghyd â hyny, yn ngwyneb palldod y galon ddynol i ddod yn mlaen i fwynhau y ddarpariaeth, i ni ddysgwyl i'r un ffynnon ddiysbydd ollwng allan ffrwd ychwanegol, i *sicrhau* cadwedigaeth cymmaint ag oedd bosibl, heb gymylu mewn un modd ogoniant anghydmharol y drefn. Ac yn hollol felly mae. Dengys mynyd o ystyriaeth fod pob gweddiwr yn credu hyn; canys gofyn i Dduw gyflawni rhyw waith arno ef neu arall yw cynnwysiad ei weddi. Hyny yw, peri rhyw ddaionus duedd yn ei feddwl ag na fuasai ynddo heb waith Duw arno, ac na wnaethai Duw heb iddo ef ofyn iddo. Pa beth llai a all Duw wneyd i'w feddwl ef nag ennill ei sylw ef at y gwirionedd tebycaf o'i lesoli ef ar y pryd? Yr un peth yw gofyn am fendith Duw ar ddechreu pregeth, neu ryw foddion arall, ag yw gofyn am hyn. Dyna'r unig lwybr i fendithio meddwl rhydd a chyfrifol. Gwelwn etto, nad oes reswm mewn gweddio am un fendith ysbrydol drwy yr hyn a elwir yn "foddion gras," yn ngwaith yr hwn a wada waith yr Ysbryd fel ennillydd y serch at y gwirionedd. Wele ynte, reswm ychwanegol dros y pwnc.

VI. *Paham na b'ai yr hyn sy'n achosi i rai, yn achosi hefyd i bawb, ufyddhau?*—Un achos o'r ufydd-dod yw penderfyniad yr ufyddhawr. Rhaid ei holi ef ei hun am bob gwall yn hyn. Achos arall yw ffyddlondeb y pregethwr a'r eglwys gydweithredol. Wrth eu drysau hwythau y gorwedd pob diffyg yn hyn. Achos arall etto yw dylanwad y gwirionedd ei hun. Eithr cael cam y mae *efe* pa bryd bynag y metha. Pan gaffo ei drin yn deilwng, a'i dderbyn yr un-fodd, llwyddiannus bob amser ydyw. Achos arall yw gwaith yr Ysbryd. Y cwestiwn mawr ar hyn yw;—Os yr Ysbryd sy'n ennill y galon at Grist, paham nad ennillai bob calon ato? Atebaf, mai *o'i gwirfodd* y rhaid ei hennill. Yna, meddir, Os yw efe yn medru ennill *rhai* o'u gwirfodd, paham nad *pawb?* Diau, nas gall efe; canys anfeidrol ddaioni yw ei galon Ef; anfeidrol ffyddlondeb yw ei gymmeriad; i achub pawb a gredant y danfonwyd Crist; i ennill *pawb* i gredu y danfonwyd allan weinidogion efengyl; Ysbryd y weinidogaeth hon yw yr Ysbryd Glân; a chan hyny, mae ei briodoleddau oll fel y maent, wedi eu cyflwyno i'r gwaith hwn: ac am hyny, dywedaf fod ei oreu drosto, ac ynddo, ac o ganlyniad, ei fod fel Bod anfeidrol dda ar ei oreu bob amser yn gwneuthur daioni. Dyna ei gymmeriad yn hyn fel yn mhob peth arall. Ond, y rheswm paham na allai efe achub pawb, yw ei fod yn cael ei rwystro, ei dristau, a'i ddiffodd. Megys na all cymmeriad perffaith wneyd dim fo'n anghymhwys, felly yntau yma. Dywed rheswm, a dadguddiad, ynghyd ag arferiadau cynnulleidfaol crefyddwyr, na ellir dysgwyl iddo gydweithio â phregeth gyfeiliornus, fel Ysbryd y gwirionedd; nac a phregethwr aflan er yn uniongred, fel Ysbryd y santeiddrwydd; nac â gweinidog ac eglwys lled uniongred a

dihalog, fyddo yn segur a diffrwyth, fel Ysbryd yr Iesu hunanymwadol ac egniol; nac â gweinidog ac eglwys uniongred, ddihalog, a llafurus, fyddo yn arddangos drwy gyfansoddiad neu ymddangosiad eu gweddiau, nad ydynt yn ymddibynu arno am un gradd o'r llwyddiant a ddymunant, fel Ysbryd y gras a'r gweddiau. Fel mai yn y cymmeriad o Ysbryd y gwr fu yn ymdrechfäau Gethsemane a Chalfaria, y mae efe i weithio; felly, yn gydweithredol â'r rheiny a agorant iddo ffordd i gael achub yn y cyfryw gymmeriad yn unig y ceir ef. Gan hyny, yr achos fod eisieu dylanwad cryf y fath athrawiaethau â'r rhai sydd yn yr efengyl hon, er mwyn ennill pechadur, yw ystyfnigrwydd calon y pechadur ei hun. Yr achos fod anghen am gyfryngiad yr Ysbryd a'r eglwys i ennill y sylw at y gwirionedd, yw annhueddgarwch y pechadur i sylwi. Yr achos fod anghen am yr Ysbryd ei hun, yw anffyddlondeb yr eglwys, yn weinidog ac aelodau, i ymegnio a bucheddu fel y dysgwylid iddynt gyda golwg ar bwys y gyfundrefn a broffesant. Eithr heb un arferiad o'r gwirionedd, nid yw yn bosibl achub. Os bydd proffeswyr y gwirionedd i'w cael, yna heb iddynt weddio yn daer, a ffyddiog, ynghyd ag ymarfer yn deilwng â'r moddion, ni ellir achub ychwaith. Hefyd, rhaid gweddio dros, ac arfer y moddion ennillawl at, bersonau yn neillduol, cyn y gellir dywedyd ein bod yn dwyn y gwirionedd na'i Ysbryd i berthynas achubol â hwynt. Gwelsom oll fod graddau o wybodaeth o'r gwirionedd, o ffyddlondeb bucheddol, ac o weddiau cydfynedol, yn anhebgorol i lwyddiant. Gwelodd pob un sy'n talu sylw i helynt crefydd Crist, aflwyddiant yn dilyn palldod, a llwyddiant yn dilyn ffyddlondeb, gyda'r pethau hyn. Dyna y ffaith brofedig. Dyna fel y bu, y mae, ac yn ddiau, y bydd, gydag achub dynion drwy Grist. Gan hyny, wrth ein drysau ni, broffeswyr, y mae y rhwystr sydd i'w symud gyntaf. Symmudir yr hwn sy'n nghalonau y byd, yn fuan ar ol hwn. Yn nghalon Duw nid oes un. Llanwyd ei galon ef â'r Iawn anfeidrol ei hun. Nid oes le i lochesu rhwystrau achubiaeth yno mwy.

VII. *Pa mor resymol yw etholedigaeth yn y gyfundrefn hon?*—Am etholedigaeth *neillduol*, yr un peth yw ag etholedigaeth ei hun. Rhaid i bob etholedigaeth fod yn un *neillduol*. Am yr *ammodol* a'r *ddiammodol* eilwaith; gall Bôd perffaith *garu* gydag ewyllys da—nid ymhyfrydiad—*agapao* y Testament Newydd, ond nid ei *phileo;* eithr nis gall y cyfryw ethol neu ddewis yn ddiammodol. Carodd Duw y byd â chariad o ewyllys da, fel y rhoddodd efe drosto ei unig Fab, i fod iddo yn wrthddrych crediniaeth a Cheidwad; ond ni etholodd efe y byd i gyd. Mae ethol yn cynnwys gwrthod neu adael o anghenrheidrwydd. I freintiau yr iawn nid oes etholiad: maent hwy yn ddiammodol i bawb. Rhoddwyd ef dros eu pechodau heb yn wybod iddynt, ac heb eu caniatad. Dyna oedd gras diammodol. Ar ol eu cael oll drwy yr iawn diammodol hwn i dir y cymmod—i'r cylch cymmodadwy, cynnygir breintiau cyfiawnhad a gogoneddiad iddynt ar yr ammod isel o gredu yn Nghrist. Dyma y fan lle cyffyrdda y gyfran ammodol o'r drefn â hwynt. Yr etholedigaeth yw y gyfran hóno; canys y sawl a gredant yn unig ydynt ei deiliaid hi. Nid oedd Duw yn eu hethol *am* y rhagwelai y byddent yn well nag ereill o honynt eu hunain; canys

gwell nag ereill o honynt eu hunain nid ydynt. Ac etto, y maent yn well nag ereill. Duw o'i ras a'u gwnaeth felly. Ond, pa fodd, attolwg? Ie; *pa fodd hefyd?* Dyna y pwnc—y pegwn, ar ba un y troir yr athrawiaeth o chwith yn rhy aml. "Etholedigion yn ol *rhagwybodaeth* Duw Dad" ydynt. "Y rhai a *ragwybu* efe a ragluniodd efe." "*Ynddo Ef* yr etholodd efe ni er cyn seiliad y byd." Pa beth a ragwelodd Duw, ynte? Rhagwelodd Iawn boddhaol, i ollwng ei drugaredd gyfiawnhaol ar yr ammod isel o gredu, i'r byd i gyd: rhagwelodd hefyd y credent hwy, ac nid neb arall; ac yr ennillai efe eu sylw at yr iachawdwriaeth yn yr efengyl; ac yr ennillai y gwirionedd hwnw eu calon yn hollol naturiol *felly*; ac y gweddiai y cyn gredinwyr drostynt, gan wasgu y drefn atynt mewn graddau dyladwy, o fuchedd ac annogiad; ac y gweddiai rhyw gredinwyr ereill, gan arferyd moddion teilwng cyn hyny, i'w hennill hwythau; ac ereill cyn hyny hefyd i'w hennill hwythau; ac ereill yn ol, ac yn ol, hyd at weddiau, pregethau, ac esiampl y Ceidwad ei hun. "Ynddo ef eu hetholwyd oll." Fel hyn, rhagluniwyd y rhai a ragwybu efe: rhagwybu yr holl law fyddai ganddo ef ei hun, a chan ei wirionedd ef ei hun, a chan ei bobl ef ei hun, yr hyn a ffynnonai oll o hono ef ei hun yn unig. Dyma y ffaith ar y peth—y *fact* fawr am yr achub. Cadwyn ydyw, ac nid un ddolen yn unig, yn waith i na dyn yn unig, na Duw yn unig. A chan fod gwaith i aml un yn y drefn, a chan mai rhagwybod pethau fel y byddent yr oedd Duw, fel hyn yr oedd efe yn rhagwybod. A chan mai efe yw yr Achubydd, offerynau gwirfoddol yn ei law ydym ni, a moddion yn ei law ef a ninnau yw y gwirionedd; ac fel mai gweithwyr dan ddylanwad ei wirionedd ef ydym, gweithio dylanwad yr un gwirionedd ar y byd yw gwaith mawr ein crefydd. Pob peth arall a wnelom, nid crefydd ydyw. Efe dynodd sylw y dysgyblion cyntaf at y gwirionedd—nid drwy ei bregethau, ond ei Ysbryd ol bentecostaidd. Methasai y gwirionedd yn ffurf pregeth ac esiampl a dileu rhagfarn a chnawdolrwydd y dysgyblion. Ond, y Dyddanydd *arall* oedd i wneyd y gwaith hwnw, drwy ddim ond ennill eu sylw at y gwirionedd mewn perthynas a'u cyflyrau eu hunain. Felly yr achubwyd y rhai hyny. Yr un modd drwy lafur a gweddiau yr ennillasant hwythau ereill; felly yr ereill hyny ereill drachefn; ac felly, o'r naill lafur a gweddi i'r llall, yr ennillwyd ninnau; ac felly yr ennillwn ninnau ereill etto; a pho fwyaf o bob un, mwyaf yr ennill; a pho leiaf y llafur a'r weddi, lleiaf yr ennill. Os dim llafur, a dim dysgwyliad wrth y Ceidwad, dim llwyddiant. Os un ai llafur neu y weddi fydd yn ngholl, dim llwyddiant felly hefyd. Felly, dyma yr etholedigaeth; ac am y rhagwybu Duw hyn oll am danynt yr etholodd, neu y dewisodd hwynt i fod yn unffurf a delw ei Fab ef. Etholodd y rhai hyn i santeiddrwydd—i ufydd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist—i fod yn santaidd a difeius ger ei fron ef ei hun mewn cariad. Ni all fod un etholedigaeth arall, oddieithr ei bod yn groes i ffaith; canys hon yw etholedigaeth ffaith. A phaham na all duwinyddion ddywedyd fod Duw wedi arfaethu achub y sawl a gredo, a'i gael i gredu fel hyn, ac ethol y rhai a wnaeth oddiar ragwybyddiad o'r llwyddiant a fyddai ar ei drefn arfaethol hon i'w hennill—eu hennill *fel hyn?* Pa glod neu wobr

sydd yma i'r anghredadyn, i'r eglwys, nac i neb, a'r nad yw pob modd o drin y pwnc yn cludo iddynt ei gymmaint? A pha etholedigaeth arall gydsaif â ffaith, ac a estyn ei llaw yn onest annogaethol i bregethu yr efengyl i bawb, i Iawn dros bawb, i wahodd pawb i gredu, ac i dderbyn bywyd tragwyddol—pa un arall, meddaf? Nis gallaf fi lai na dywedyd—*Dim un!* Pa etholedigaeth arall, yn nghyda'r holl ras haelfrydig hwn, a arddengys ras Duw yn mhob dolen o'r gadwyn, sef gras sy'n cydweithredu yn annogaethol â'r pechadur ei hun, ac â phob gweithredydd ffyddlawn o fewn y cylch—nid gras fyddai dim arall—ïe, pa etholedigaeth arall, meddaf, a wna hyn? Tybiwyf *nad un.* Onid oes eisieu diwedd, bellach, ar yr hen swn;—"Etholedigaeth sydd wirionedd: ond nid i'w bregethu i bawb"? Os yw y pwnc yn wir, mae efe yn ddolen yn nghadwyn yr achub, ac yn cydio yn y dolenau ereill, heb un anghymhwysdra. Nid dolenau i achub pawb, a dolen yn eu canol i achub rhai yn unig, yw cadwyn achubol Crist. Nid efengyl, ac Iawn, yn ddolenau cyffredinol a mawrion, ac etholedigaeth yn môn y gadwyn yn ddolen fach o fesur arall, yw hi. Mae pob dolen yn gymmesur i'r dolenau ereill. Mae tueddbeniad pob un at achub pawb ar dir uniondeb a gras; a thueddbeniad pob un o honynt at beidio achub neb, os na ellir ei achub ar y tir hwnw. Mae pob dolen, drwy y cwbl, o drefniad yr un Gweithiwr anfeidrol. Mae îs oruchwyliaeth *rhai* o honynt yn ein dwylaw diffrwyth ni, a thyna paham na fuasai pob enaid colledig yn nghôl y Ceidwad y fynyd hon.

## TRAETHAWD XIX.

### CYFRIFIAD CAMWEDD—CYFRIFIAD CYFIAWNDER—

*Camwedd y Camweddwr arno ei hun, ar anifail, ar Grist.—Cyfiawnder y ffydd—y ffydd ei hun—Cyfiawnder Duw—Cyfiawnder Duw a Christ—Cyfiawnder, neu Gyfiawnderau y Ddeddf.*

Gan fod gwŷr mor ddysgedig ac enwog a Stuart, Barnes, Bloomfield, a Taylor, yn gwadu yr hyn a elwir yn athrawiaeth y cyfrifiad, heb son am y gwŷr gwir ddefnyddiol sydd felly yn Nghymru, dylwn nesâu at yr olrheiniad hwn gyda phwyll a manylder. Sylwir ar resymau gwrthwynebwyr yr athrawiaeth, ar y diwedd.

A. Cyfrif pechod neu gamwedd dyn, dan y ddeddf, ar ben anifail neillduol. Yn Lef. 16. 20—28, ceir hanes defod y bwch diangol.

Y gorchwyl cyntaf oedd eiddo Aaron, yn gosod ei ddwylaw ar ben y bwch; yr ail, oedd Cyffesu arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt, yn nghyda'u holl bechodau; "a rhodded hwynt ar ben y bwch," ebe'r Arglwydd; yn drydedd, Anfonent y bwch yn llaw gwr cymhwys i'r anialwch, pan y dygai y bwch arno eu holl anwiredd hwynt: yn bedwerydd, dywedid (adn. 10) mai i wneuthur cymmod ag ef y gwneid hyn oll â'r anifail.

Ond ail edrycher dros yr ordinhad hynod hon.

YFFESED; y gwreiddyn yw TODAH, ystyr yr hwn yw cyffesu, cyfaddef, moliannus gyffesu hefyd i Dduw. "Cyffesa i Dduw" ebe Josua

wrth Achan, Jos. 7, 19. Felly Ezra 10, 11. Cynnwysai y gyffes hon yr holl bechodau a drosglwyddid o ran eu heuogrwydd, oddiar ben y genedl, ar ben y bwch, ac a gludid ganddo ef i'r anialwch, ac oddiwrth effaith ba rai ar feddwl neu orsedd Jehofa, eu brenin, y gwnelai y bwch dan y cymmeriad newydd hwn, yr hyn a elwid yn gymmod.

ARNO *(alaio)*. Pe buasai yr Hebraeg hwn wedi ei ysgrifenu dan y caethiwed, neu, o leiaf, dan y prophwydi, gallesid cael dadl dros ei gyfieithu yn "Cyffesed *i'r* bwch;" ond rhy foreu ydyw ei gyfnod ar yr iaith i oddef hyna. Felly, nid oes fodd gwella y cyfieithiad cyffredin yn hyn. Cyffesu *ar* ben y creadur, yw yr ystyr. Cawn son am osod dwylaw yr un modd ar ben aberthau yn Exod. 29, 10, 15, 19; Lef. 8, 18, 22, 14, a 4, 4, a 1, 4, a 3, 2, a 4, 29, 33.

Pa beth, heblaw euogrwydd cyflafan llofruddiaeth a feddylir wrth "Ei waed sydd *ar ei ben* ei hun?" Onid ymadrodd ydyw i arddangos nad oedd aberth megys y bwch dan sylw, i gymmeryd ei euogrwydd ef ar ei ben? Gwel y cyfryw eiriau yn Jos. 2, 19; 2 Sam. 1, 16, a 3, 29. Y cyffelyb ystyr sydd i'r geiriau:—"Bydded drygioni Nabal ar ei ben ei hun," 1 Sam. 25, 39. Yn 2 Cron. 6, 23, gelwir "rhoddi ffordd y drygionus ar ei ben ei hun," yn dalu iddo; yna trosglwyddiad hollol fuasai gosod ei ddrygioni ar ben y bwch yn ein testyn. Gelwir y pechadur yn euog ar y cyntaf, cyffesir ei euogrwydd ar ben yr anifail yn ail, a gwneir cymmod drosto felly, yn ddiweddaf. Dyna ei dâl wedi disgyn oddiar ei ben ei hun, ar ben creadur arall. Gwel Esther 9, 25; Neh. 4, 4; Salm 7, 16; Ezec. 9, 10; Joel 3, 4, 7, &c., yr hyn sy'n profi fod y meddylddrych hwn yn dra chyffredin yn mysg ysgrifenwyr a darllenwŷr yr Hen Destament. O'r ochr arall, dywedir fod bendithion ar ben y cyfiawn, Diar. 10, 6, a 11, 26. Ond, i ddychwelyd at ein testyn.

ANWIREDD *(aonoth)*. "Mwy yw fy *anwiredd*," &c., Gen. 4, 13. "Ni chyflawnwyd etto anwiredd yr Amoriaid," 15, 16. Anaml, os unwaith, yr arferir am *gosp* anwiredd, o leiaf, gan Moses.

Beth yw "eu holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau,"—ïe, eu holl *anwiredd* yn gyntaf, a'r llall hefyd? Tebygol mai y pechod *(chattaath)* yw yr euogrwydd, neu y berthynas rhwng y weithred â'r orsedd. *Asham* oedd air arall o gyffelyb ystyr. Y gair am gamwedd yw *Peshah*, yr hwn, mwy na'r *Aonoth*, nis arferir, megys y ddau ereill, am aberth, o leiaf, cyn llygriad yr iaith. Tebygwyf mai ystyr llithricaf yr ymadrodd gwreiddiol yw, "Cyffesed arno holl anwiredd meibion Israel, ynghyd â'u holl gamweddau hwynt, gyda pherthynas a'u pechodau i gyd;" hyny yw, enwed bob anwiredd a chamwedd, fel y maent yn weithredoedd, gan gofio manylu arnynt o ran eu heuogrwydd pendant, (pechodau, *chattaath*,) yr hwn sydd i'w ystyried yn ngwyneb eu manteision fel deiliaid, â santeiddrwydd, ac uniondeb, ac urddas yr orsedd sydd wedi ei digio ganddynt. Yr oedd dau air gan yr Hebreaid am ddrwg euogrwydd, a dau neu dri, eilwaith, am y weithred ynddi ei hun, o ran ei pherthynas â'r gweithredydd. Arferent y ddau air blaenaf a nodwyd, sef *Asham* a *Chattaath*, hefyd am ryw anifail neillduol, ar ol iddynt gyfrif arno yr *Asham*, neu y *Chattaath*, yn y dull a nodwyd. Anmhosibl, yn ddiau, ydoedd cyflawni y fath orchwyl a

throsglwyddo yr *Aonoth* na'r *Peshah*—y weithred ynddi ei hun—y gwrthnysigrwydd a olygid yn ngwreiddyn y cyntaf, na'r gwrthryfel a olygid yn y llall; a digon rhesymol yw gwaith y duwinyddion a ballant ganiatau y trosglwyddiad dan sylw, tra yr ystyrient ef yn drosglwyddiad y weithred oddiwrth y gweithredydd ar un arall. "Yr hyn a wnaed a wnaethpwyd:" anmhosibl yw byth ddywedyd mai y bwch diangol a wnaeth yr anwiredd a'r camwedd. Ond, ni chyffeswyd mai efe a'u gwnaeth: fel eiddo meibion Israel eu cyffesid. Dywed adn. 30, mai oddiwrth eu holl bechodau *(chattaath)*, sef yr euogrwydd, a'r rhwymedigaeth i gosp, ac nid oddiwrth y gweithredoedd fel y cyfryw, eu glanheid drwy yr ordinhad hon.

Yr wyf, er hyn oll, yn cwrdd yr holl eiriau hyn yn cael eu harferyd. y naill am y llall. mor foreu a'r tymhor yr ysgrifenodd Esaiah y chwech-ar hugain olaf o bennodau ei lyfr. Mae can lleied o weddillion yr hen iaith hon wedi cael eu treiglo i waered atom, fel y mae yn anhawdd sicrhau nad oes llygriad yn ystyr geiriau, ddim pellach nag y gwelom â'n llygaid ein hunain. Mae arferiad y naill oes yn safon lled sicr i anturio wrthi can belled â'r cyfnod hwnw, ond dim pellach. Mympwyol. eilwaith. yw y Geiriadurwyr yn aml, hyd yn nod Gesenius, Ewald. Winer. a Lee.

RHODDED *(nathan)* hwynt ar ben y bwch. Cawn yma dri ymadrodd ar yr un rhediad:—

*Gosoded* ei ddwylaw ar ben y bwch,

*Cyffesed* holl anwiredd. a chamweddau, &c , ar ben y bwch,

*Rhodded* yr holl anwiredd a'r camweddau, yn yr ystyr ag y maent yn eu holl *chattaath*, (euogrwydd pechod.) ar ben y bwch.

Ond ystyr y gair hwn, *rhoddi ar*, sydd gyffelyb i'r hyn a feddylir yn y cyfeiriadau canlynol, lle yr arferir y geiriau gwreiddiol hyn, *rhoddi ar (nathan ol)*, megys yn 1 Sam. 12. 18:—"Yr Arglwydd a *roddes arnoch* chwi frenin." 1 Bren. 1, 48.—"*Rhoddes* un i eistedd *ar* fy ngorseddfainc." A 12, 4, 9, am *roddi* iau *ar* ddynion. 2 Cron. 20. 22.—"*Rhoddodd* yr Arglwydd gynllwynwyr *yn erbyn* (ar) feibion Ammon." Lev. 2, 1, am *roddi* thus *ar* offrwm. A 4, 25, 30, 32, am osod gwaed *ar* gyrn yr allor. A 16, 8, am roddi coelbrenau *ar* y ddau fwch. Dywed Duw yn Num. 27, 19, am i Moses ddodi ei ogoniant ei hun *ar* Josua. Yn Jer. 23, 40, arferir am roddi ar y genedl warthrudd tragwyddol; ond digoned hyna i arddangos fod ffaith, ac nid dychymyg, yn y peth.

"A'r bwch a *ddwg* eu hanwiredd hwynt *arno*," medd yr Arglwydd, yn y gosodiad. Yr Hebraeg am *ddwyn arno* yw NASA ALAIO. Rhoddaf yma yr holl gyfeiriadau a allaf daro wrthynt o'r gair Hebraeg hwn, *Nasa*, am ddwyn anwiredd neu bechod.

Exod. 28. 38:—"Aaron a ddwg anwiredd *(Ain)* y pethau santaidd a gyssegro meibion Israel.

43:—"Fel na ddygont anwiredd *(Ain)*, a marw," Num. 18. 22.

Lef. 5. 1:—"Efe a ddwg ei anwiredd," a 17, 16, a 19. 8, a 20, 17, 19· Num. 18, 23; Ezec. 44, 10. 12.

17:—"Euog fydd *(asham)*; ac efe a ddwg ei anwiredd."

7, 18,—Cawn yma ddyn yn cam aberthu.—"nis cyfrifir iddo *(lo*

*zechashib*, y gair a nodwyd am gyfrif), efe a ddwg ei anwiredd;" yr hyn a ddengys yn amlwg, pe cyfrifasid yr aberth iddo, y buasid yn peidio cyfrif ei anwiredd iddo, canys cawsai beidio â'i ddwyn arno. Oni chanfu Stuart a Barnes yr ymadrodd hwn?

Yn 10, 17, lle ceryddir meibion Aaron gan Moses, am beidio bwyta y *chattaath*, neu y bwch a wnaethid yn "aberth dros bechod:" ac efe a chwanega, mai amcan y cyfryw fwyta ydoedd i'r bwytawr *ddwyn anwiredd* y gynnulleidfa felly, hyd yn *(le)* faddeuant arnynt, neu iddynt gerbron Duw yn y cymmeriad o Jehofa.

22, 16, a ddywed,—"Na wnant iddynt ddwyn cosp camwedd, sef *Asham yr Ain;* yn hytrach *euogrwydd* na *chosp* yr *Ain*, neu gamwedd; canys yr oedd yr iaith wedi dirfawr lygru cyn yr arferid *Asham* unwaith am *gosp*.

Cawn yn Num. 5, 31, ddwyn anwiredd yn cael ei gydmharu â myned yn ddieuog yn y llall. Y gair am *dieuog* yw *Nacah*, ystyr yr hwn yw myned yn rhydd oddiwrth euogrwydd neu gosp, heb y meddylddrych, yn aml, o ddiniweidrwydd, megys yn Exod. 21, 19, 28; Diar. 6, 29. Er mwyn profi i'r darllenydd drosglwyddiad euogrwydd a chosp yn yr hen ordinhadau hyn, ychwanegaf fod yr un gair yn arferedig am faddeu, megys yn Joel 4, 21; Exod. 20, 7, a 34, 7.

Cawn gyffelyb ymadroddion yn cynnwys dwyn anwiredd hefyd yn Num. 14, 34, a 18, 1: Ezec. 4, 4, a 5, 6.

Ceir yn 30 15, "efe" yn dwyn ei hanwiredd "hi," yr hyn sy'n eglur drosglwyddiad; a'r canlyniad oedd, "yr Arglwydd a faddeu iddi," adn. 8. Ac arddengys yr ail orchymyn fod Duw yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant (cymharer Ezec. 18, 19.)

Yr un modd â dwyn anwiredd ceir dwyn pechod *(chatah)* yn Lef. 19. 17, a 20, 20, a 22, 9, a 22, 15, &c.

Yn awr, ni all fod un ammheuaeth, debygwyf, nad oeddid yn ystyried yr anwiredd yn cael ei drosglwyddo oddiar yr euog ar y bwch, ac yn cael ei ddwyn ar ol hyny gan y bwch i'r anialwch. Ar ben y gweithredydd yr ydoedd efe yn y boreu, ond ar ben y bwch yn yr hwyr. Hwn oedd y cymmod a wneid unwaith yn unig bob blwyddyn.

Pwnc arall teilwng o'i goffau ydoedd, pan ddywedent cymmod dros Israel.—cymmod ynddynt *(be)* a ddywedid; felly *yn* y lle santaidd; ond am gymmod ar yr allor—arni *(ol)* a ddywedid. Cymmaint a hyna am ddefod y bwch diangol.

Yn Lef. 7, 18, dywed y ddeddf,—"nis cyfrifir iddo," ond efe a ddygai ei anwiredd; wrth yr hyn y gwelwn mai naill ai cyfrif yr aberth ynte yr anwiredd. oedd yn bod. Wele y naill yn lle y llall, a'r weithred o osod y naill yn lle y llall felly yn cael ei galw yn *chasheb;* ac os *chaseb*, yna *copher* neu gymmod a fyddai; eithr os dim *chaseb*, yna dim *copher*, ond ei anwiredd a ddwg. Pe na buasai "ei anwiredd a ddwg" yn perthyn i'r pechadur ei hun, buasai yn perthyn, drwy y *chaseb*, a'r *Nasah (dwyn)*, i'r aberth yn unig. Y gair Groeg yn y Septuagint am y *cyfrif* yw *logisthêsetai*, sef yr un gair ag a arferir yn y Testament Newydd am *gyfrif* cyfiawnder i Abraham, &c. "Ni byddir boddlawn i'r hwn a'i hoffrymo. ni chyfrifir iddo," yw yr ymadrodd yn Lef. 7, 18; yr hyn sydd yr un peth a dywedyd mai geiriau gwahanol am yr un

meddylddrych yw "Duw ddim yn foddlawn i'r aberth," a "Duw ddim yn cyfrif i'r aberthwr," a "Duw yn gadael ei anwiredd ar ben yr aberthwr:" canys, sylwer, ni ddywedir, ar ol y "ni byddir boddlawn iddo," *ac* "ni chyfrifir." Nid oes *ac* i'n dysgu mai pwnc arall gwahanol oedd y peidio cyfrif. Gwir fod tri ysgrif-gopi o'r Beibl Arabaeg yn ychwanegu yr *ac* o flaen y "ni chyfrifir." "Ni chyfrifir yn aberth," medd un copi arall: "ni chyfrifir hyny iddo," medd yr Armenaeg. Ond, nid oes awdurdod digonol dros wahaniaethu gradd oddiwrth y darlleniad derbyniedig.

Yn Num. 5, 6—8, cawn yn gyntaf ddyn yn gwneuthur camwedd; yna, "a bod o'r enaid hwnw yn euog" *(Asham)*, medd efe; yr hyn a geidw y camwedd a'r euogrwydd ar wahan. A sylwer ar y cyfrifiad yn dod i mewn:—"a bod o'r enaid hwnw yn euog; yna cyffesant eu pechodau, y rhai a wnaethant, a chyfrifed yr *asham* (ei *asham*, ei euogrwydd; sef yr iawn a dalo efe) yn ei ben, neu yn ol ei ben, a chwaneged ei bummed ran ato, a rhodded (yr un gair ag am roddi ar ben y bwch) i'r hwn y gwnaeth efe gam ag ef;" neu yn ol yr Hebraeg, "rhodded i'r hwn y mae *asham* iddo," neu yn perthyn iddo. Beth a gawn yma etto ar ein pwnc? Cawn y pechadur yn *asham* neu euogrwydd; yna cawn *cheshib*, neu gyfrif, (neu *rifo*, os dewisir) yn *asham* (offrymiad euogrwydd), yn ol ei ben, pa faint bynag y dygwyddai fod; yna cawn yr *asham* iawnol hwn yn cael ei roddi i'r hwn yr oedd *asham* yn perthyn. Yna, medd yr adnod nesaf,—"Ac os na fydd 'r gwr cyfnesaf i gyfrif *(cheshib* etto) yr *asham* iddo ("*talu* am y camwedd iddo," medd y beibl Cymraeg, yr hyn sy'n gryfach dros y trosglwyddiad cyfrifawl)—yr *asham* a delir (yr un *cheshib* neu gyfrif etto) i Jehofa, &c:." ac yr oedd hyn oll "heblaw yr hwrdd cymmod *(copher)*, yr hwn y gwnai efe gymmod *(copher)* ynddo drosto."

Swm y cwbl o'r ordinhad hon yw trosglwyddiad o'r euogrwydd oddiar yr euog, drwy gyfrif neu osod o'r neilldu mewn dull cyfreithiol, werth y cam, yn nghyda'i bummed ran ato; yna gelwid y peth hwn—yr iawn hwn, yn ol ein dull ni o lefaru—yn *asham*. Dyna ddiwedd ar y pechod, can belled ag ei gelwid yn adn. 6 yn bechod *dynol;* ond yr oedd raid i'r orsedd wladol eilwaith gael hwrdd; ac yn *hwnw* yn unig y gwneid cymmod *(exilasmos)* â'r orsedd.

Geilir sylwi, wrth fyned heibio, fod y Septuagint yn dywedyd "hwrdd yr *ilasmos*" am y creadur, pan ei neillduid ac ei trosglwyddid i'w sefyllfa newydd; ond yn ei alw yn *exilasmos* pan y gwneid y cymmod drwyddo (Lef. 5, 8). A all hyn fod o gymhorth i ni ddeall y gair *ilasmos* pan am Grist yn 1 Ioan 2, 2? Fy meddwl yw hyn:—Gan fod y creadur aberthol yn *ilasmos* (iawn) pan ei ystyrid yn foddlonol i blaid yr orsedd; onid felly Crist, pan ei gelwir yntau yn *ilasmos* neu iawn? ac megys nad oedd yr *ilasmos* yn *exilasmos*, cyn i'r euog gael allan o'r *ilasmos* yr hyn a'i gollyngai yn rhydd; onid yr un modd y mae gyda phechadur yn awr? Eithr gan nad oedd y gair *exilasmos* yn arferedig yn mhriod-iaith wreiddiol y Testament Newydd, onid ydym i ystyried rhyw air arall, ag a arferir am yr un meddylddrych, yn ol eu barn hwy y pryd hyny, fel i gael ei arferyd yn ei le ef? Yr wyf yn cynnyg i'r sylw y gair *apolutrosis*, prynedigaeth, Rhuf. 3, 24; Eph. 1, 7, 11; Col. 1,

14; Heb. 9, 15; 1 Cor. 1, 30; ac *aphesis amartiôn*, maddeuant pechodau. Sylwer, fod saint yr Hen Dsstament yn son llawer am faddeuant *(aphesis)* pechodau; ond *paresis* (myned heibio i) bechod, y galwai Paul y fath faddeuant anmherffaith a hwnw, gan gymhwyso y gair cyflawnach *aphesis*, cymmeryd ymaith yn llwyr, at faddeuant yr oruchwyliaeth ol-bentecostaidd. Gwel ar Rhuf. 3, 25, 26. Ond gwelaf y rhaid oedi pob manwl olrheiniad i ystyr y geiriau arferedig am yr aberthau hyn yn eu gwahanol sefyllfaoedd, yn nghyda'n perthynas ag ystyr y geiriau arferedig am aberth Crist, hyd y Cyfrolau dyfodol.

Ceir golwg ar y rhwyddineb â pha un yr arferent alw yr aberth yn bechod, yn Lef. 5, 6:—"A dyged i'r Arglwydd ei offrwm dros gamwedd am ei bechod yr hwn a bechodd, sef banyw o'r praidd yn aberth dros bechod; a gwnaed yr offeiriad gymmod drosto am ei bechod:" neu fel hyn yn Hebraeg:—"A dyged ei *asham* (euogrwydd cyfrifedig) i Jehofa, dros ei *chattaath* (ei gamwedd), yr hwn a gamweddodd, sef, &c., yn *chattaath* (camwedd cyfrifedig); a chymmoded *(copher)* drosto yr offeiriad oddiwrth ei *chattaath*." Darllener pen. 4, 22—26.

Taler sylw manwl etto i pen. 6, 4 (Hebraeg 5, 23):—"A bydd, am iddo bechu *(chattah)*, ac *Asham* (bod yn euog), taled, &c." Y gair am taler yw *cheshib*, sef y gair a nodwyd am gyfrif. Trefn y cymmod yma sydd gyffelyb i'r hyn a gafwyd o'r blaen: y dyn yn pechu, yna yn myned yn euog, sef yn *asham;* yna yn cyfrif, rhoddi, talu (arferer y gair a ddewiser), fel a'r fel i'r gofynwr, yr hyn a barai i Dduw dderbyn ei *asham* troseddiadol ef, yr hwn oedd hwrdd perffaith-gwbl (adn. 6); ac i gymmod *(copher)* drosto gael ei wneuthur gan yr offeiriad gerbron Jehofa; ac i'r Arglwydd faddeu iddo yr hyn a wnaeth, yn (neu drwy) yr hyn y daethai efe yn *asham*, neu euogrwydd ynddo.

"A chymmod drosto gwneled yr offeiriad (medd pen. 19, 22) yn yr hwrdd, yr *asham* dros ei *chattaath*, yr hwn a chattaodd, neu a bechodd efe, a maddeuir iddo oddiwrth *(min)* ei chattaath, yr hwn a chattaodd." Wele ddyn yn pechu, a'r pechod hwnw yn aros arno. Wele hefyd hwrdd yn cael ei wneyd yn *asham* neu euogrwydd dros y pechod sydd arno ef: ac yna mae Jehofa yn rhoi maddeuant iddo oddiwrth—nid yr euogrwydd *(asham)*, ond oddiwrth y *chattaath*—nid oddiwrth yr hyn y gelwid yr hwrdd arno *(asham)*, ond oddiwrth y *chattaath* ag oedd arno ef ei hunan. Felly ni effeithiodd y maddeuant un rhyddhad i'r hwrdd oddiwrth yr *asham* neu euogrwydd ag oedd ar ei ben ef; yn unig i'r pechadur y bu maddeuant yn rhyddid—rhyddid oddiwrth y *chattaath* a arosasai arno hyd hyny. Fel hyn y bu gyda Christ—ac y mae gyda ninnau.

Cawn yr un gair gwreiddiol *cheshib* (cyfrif) etto yn 1 Sam. 6, 3:—"nac anfonwch arch Duw Israel yn wag: ond gan gyfrif cyfrifwch iddo *asham*. Yna y dywedasant, Beth fydd yr *asham* a gyfrifwn iddo?" Yna dywed yr hanes:—"Y tlysau aur, y rhai a gyfrifasoch iddi yn *asham*." Mae y geiriau *cymmeryd*, a *rhoddi*, yn britho yr hanes; ond yn y manau a nodwyd yn unig yr arferir y gair gwreiddiol *cheshib*, cyfrif, am roddi. Amlwg mai ystyried eu hunain dan gamwedd yn erbyn yr arch, yr oedd y Philistiaid hyn, ac mai cyfrif yn gyfnewidiol a wnaethant y tlysau aur, am y camwedd, ac yna eu galw yn *asham*, neu

euogrwydd y camwedd. Cofier fod y dolur a ddisgynasai arnynt, a'r thyswn aur hyn, o'r un ffurf a'u gilydd, a'u bod hwythau yn gwneyd yr offrwm o'r un ffurf a'r gosp, ac yn ei alw yn euogrwydd: a mai y gair a arferasant am y cyfnewidiad hwn o'r naill am y llall, oedd *cheshib*, cyfrif, yr un gair ag a arferid am gyfrif cyfiawnder i Abraham, ac yn y Groeg yn *logizomai*.

Cawn gamwedd ac *asham*—ei euogrwydd, ar wahan, gyda chrybwylliad am ddwyn yr olaf arnynt, yn Lef. 22, 16. A gofynai Joab i Dafydd: "Paham y byddai efe yn *asham* i Israel?" neu yn peri trosglwyddiad rhwymedigaeth i gosp iddynt; fel y dengys yr hanes y bu. Y brenin a wnaeth y bai, ond ar y genedl y cyfrifwyd yr euogrwydd; os hyny hefyd yw bod yn agored i gosp y bai. Cymmaint â hyna ar y pen cyntaf o'r arholiad—*Cyfrif pechod neu ei rwymedigaeth i'r orsedd a'i chosp, oddiar ben y pechadur ar ben anifail neillduol.*

B. Cyfrif gweithred dyn yn gyfiawnder iddo.

Cyfeiria Salm 106, 31, at waith Phineas yn trywanu y godinebwyr yn yr anialwch: "A chyfrifwyd hyn iddo yn gyfiawnder," medd y Salmydd. Yr Hebraeg llythyrenol yw: "A chyfrifwyd iddo i (tuag at, oherwydd, yn) gyfiawnder." Yr un yw yr holl ymadrodd Groeg yn hollol ag a arferir am yr unrhyw gyfrifiad i Abraham. Gan mai gweithred a ennillodd y wobr hon, rhaid mai cyfiawnder y ddeddf ydoedd. Yr oedd y cyfrif hwn yn effaith sylweddol, ac nid rhywbeth yn y meddwl dwyfol yn unig; canys dywed yr hanes yn Num. 25, 12, i Dduw roddi iddo ei gyfammod o heddwch, sef achyddiaeth yr offeiriadaeth Aaronaidd. Pe buasai yn gyfiawnder achubol, buasai yn gyssylltiedig â'r unig ammod o gredu, yr hyn oedd nôd Paul i adnabod y sawl a gyrhaeddent gyfiawnder y ffydd, ar wahan oddiwrth eiddo y ddeddf.

Ceir yn Hebraeg Moses o Gen. 15, 6, "Yntau a gredodd yn yr Arglwydd, ac efe a'i cyfrifodd iddo yn gyfiawnder." *Iacheshebeha*, "efe a'i cyfrifodd hi:" pa beth ydoedd yr *hi* yma? Ai y gyfundrefn o ffydd? A wyddai efe a'i gydoeswyr am dani fel cyfundrefn o gyssonderau, ai peidio? Ai crediniaeth yw yr *hi*, ynte? Ai cyfiawnder Duw? ai trugaredd Duw? ai rhywbeth o eiddo Crist? Ceir digon o atebwyr parod; ond beth a ddywed y gwirionedd, os gellir, hefyd, gael allan? Yn gyffelyb i'r Hebraeg y mae'r Septuagint hefyd; eithr dengys Paul yn pen. 4, 9—12, mai "cyfiawnder y ffydd"—mai "y ffydd," o fewn yr hon yr oedd y cyfiawnder, a gyfrifwyd iddo. Gwel ar y lle. Nid ymddengys, drwy y cwbl, fod Abraham ei hun yn gwybod sail neu gyssylltiadau y cyfiawnder hwn, na dim yn mhellach na'i fod yn rhyw drefniant a ollyngai yn rhydd yr euog crediniol. Canmolai yr hen gyfiawnion *gyfiawnder* Duw, yn fwyaf cyffredin, mewn cyssylltiad a'i farnau, a'i waredigaethau tymhorol; ond ei *drugaredd* a'i *ddaioni*, gan mwyaf, am ei faddeuant, megys yn Salm 32, 1, 2, 5, 10; a 51, 1, lle dadleua Dafydd drugarowgrwydd, a lliaws tosturiaethau Duw: felly adn. 18. Ond, pan weddiai rhag y farn dymhorol am lofruddio Urias, am *gyfiawnder* y moliannai, 14. Felly, er fod yr ymadrodd hwn yn cael ei arferyd fel yn perthynu i'r un cyfrifiad per-

sonol o weithredoedd ag amgylchiad Phineas, i ganghen arall o'r pwnc y perthyna, debygwyf, ar ol ei olrhain yn fanylaidd.

C. Cyfrif dyn y peth nid ydyw.

Cwyna Job fod Duw yn ei gyfrif ef yn elyn iddo, yn 13, 24, lle yr arferir y gair *chashab* am gyfrif. Felly 19, 11, a 33, 10, 15; Gen. 38, 15; Lef. 25, 31; 1 Sam. 1, 13, lle cawn gyfrif un peth *yn* beth arall; ac yn Num. 18, 27, gyfrif y naill beth *fel* peth arall. Ond pallai amser i olrhain Diar. 27, 14; Galar. 4, 2, &c. Gwelwn oddiwrth yr arferiad hwn etto, mai gair yw hwn am *ystyried, tybied, cymmeryd fod peth fel a'r fel;* ac o ganlyniad, os bydd gwybodaeth y gweithredydd yn berffaith, efe a ystyria fod y peth yn hollol fel y mae. Arferid cyfnewid cymmeriad unrhyw beth, heb gyfnewid y peth ei hun, megys yn Num. 18, 27, 30; offrwm dyrchafael oedd y peth mewn gwirionedd, ond gyda sefydliad y ddeddf hon, fel toraeth yr ysgubor, &c., ei cyfrifid. Cyfnewidid ei hen gymmeriad am un newydd, tra parhäai ei nodwedd ef yr un ag o'r blaen; a *chyfrif—chashab* yn Hebraeg, *logizomai* yn y Groeg, y gelwid yr hyn a wnelai meddwl neu benderfyniad y gweithredydd, yn hyn.

D. Peidio cyfrif yr hyn sy'n bod.

"Na ddannoded (Na chyfrifed, Hebraeg a Groeg) fy arglwydd i mi anwiredd," ebe Shimei edifeiriol wrth Dafydd; sef ebe efe mewn geiriau ereill:—"i osod o'r brenin hyny yn ei galon." 2 Sam. 19, 19. *El libbo* yw yr Hebraeg am "yn ei galon.", Gosod, eilwaith, yw *som;* ystyr yr hwn yw rhoddi, gosod. Ceir "gosod at ei galon" hefyd yn Esay 57, 1, 11; 2 Sam. 13, 33, Gwelir oddiyma etto nad dim llai na *ffaith* a arwyddoceir wrth y cyfrif hwn.

Salm 32, 2 a ddywed, "Gwyn ei fyd yr hwn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd." Amlwg yw, oddiwrth yr adnod flaenorol, fod anwiredd i'w gyfrif iddo, pe buasai Duw yn gweled yn dda gymmeryd mantais arno.

E. Cyfrif peth yn ol ei haeddiant.

Lef. 27, 23:—"Cyfrifed yr offeiriad iddo ddwyn dy bris di." Arferir yma yr un geiriau ag uchod yn yr Hebraeg a'r Roeg, yr hyn a brawf tuhwnt ammheuaeth, mai y peth pellaf oddiwrth wag dybiaeth ddychymygol oedd yr hyn a ystyrid wrth y gair. Yr oedd mor wirioneddol gyfrifiad ag yw yr hyn a wneir ar orsedd barn, neu yr hyn a wneir mewn ffigwrau wrth gyfrif dyledion arianol.

Bellach, cyrhaeddwyd i ddiwedd yr hyn o olrheiniad ysgrythyrol ag a ellir wneuthur i'r pwnc, ar y cyfleusdra presennol; ac yn awr, troaf yn ol i ail-edrych y pethau a gafwyd allan i foddlonrwydd; mai ystyr y gair Hebraeg *chashab*, yw meddwl, amcanu, llunio, dyfeisio, tybied, neu ystyried, fod peth neu berson fel a'r fel; golygu y peth felly: gallai y golygiad fod yn gywir neu yn anghywir, yn ol gwybodaeth y golygwr; ond nid ydwyf wedi cael y gair unwaith yn arferedig am y math hwnw o olygu, pan fo dyn yn ystyried peth neu berson yn bod fel hyn, tra yn gwybod mai fel arall y mae. Nid wyf yn cwrdd â'r gair am ddynion nac am Dduw yn cyfrif, dyn aflan yn lân, na glân yn aflan; dyn anghyfiawn yn gyfiawn, na dyn cyfiawn yn anghyfiawn,

&c. Pan elwid y pechadur yn euogrwydd neu *asham*, felly yr oedd efe yn bod: pan gyfrifid yr hwrdd yn *asham*, yr oeddid wedi cyffesu yr anwiredd, a'i osod ar ei ben ef, oddiar y pechadur; ac efe, mwyach, ydoedd; neu, os mynir, dywedaf, efe oedd yn dwyn y rhwymedigaeth i gosp, ac efe yn unig oedd yn cael y gosp mewn canlyniad. Meddylier yn bwyllog uwchben y meddylddrych hwn: onid yw y dyb fel *tyb* (canys cofier mai *tyb* neu *olygiad* yw y peth) mor wirioneddol yn gyfryw beth yn y meddwl, ag a all un peth fod i'r teimlad neu y golwg? Ac o ganlyniad, cawn y gair yn arferedig am rifo, megys rhifo arian, a'r cyffelyb. Gan hyny, nid dychymmyg wag yw y cyfrifiad hwn. Geiriau ereill a arferid am hyny. Hwn *(logizomai)* yw'r gair a arferai ysgrifenwyr y Testament Newydd am resymu, neu arferyd y rheswm ar beth, penderfynu, barnu, dal allan, gosod dros neu yn erbyn, yn nghyda'r ystyriaethau a nodwyd i'r gair cyfystyr o'r Hen Destament.

Felly, a throi o honom, er enghraifft, i'r *Testament Newydd;* pan ddywedir—Fod Abraham yn cyfrif Duw yn abl i gyfodi Isaac oddiwrth y meirw—yr oedd efe yn abl: cyfrif yr hyn oedd yn ffaith a wnaeth efe. Heb. 11, 19. Pan gyfrifai yr apostolion, mai drwy y ffydd y cyfiawnheid dyn, felly mewn ffaith yr oedd y farn a'r penderfyniad yn eu meddyliau. Rhuf. 3, 28. "Cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod," ebe Paul yn pen. 6, 11; a phwy a ddywed mai eu hannog i ffurfio dychymmyg wag yr oedd efe? "Yr ydych felly mewn gwirionedd: meddyliwch am y peth fel y mae." Cyfrifid gwobr i'r hwn oedd yn gweithio drwy ddeddf, ond nid yn ol gras, 4, 6. Cymmodir y byd â Duw yn Nghrist, heb gyfrif eu pechodau iddynt. Sylwer, nad dywedyd yr ydys nad yw y pechodau wedi bod, ac yn bod etto. Nid at *fodolaeth* y pechodau y cyfeirir; ond at y ffaith yn meddwl a barn orseddol Duw. Y gwirionedd am y meddwl dwyfol, fel y mae efe yn Nghrist, yw, nad oes yno eu cyfrif, na'u gosod, mewn un modd yn eu herbyn, 2 Cor. 5, 19. Mewn dull trawsenwadol o lefaru; neu, fe allai y dylwn ddywedyd,—mewn ffaith, can belled ag y cyrhaeddai y goleuni dwyfol ar y pwnc, dan y cyfnod aneglur hwnw—cyfrifid y gyfundrefn hono o faddeu yn rhad i'r edifeiriol crediniol, yn gyfiawnder i'r cyfryw ddyn crediniol. Yr enw a ddyry Paul arni yw *y ffydd*, oherwydd, mae'n debyg, mai wrth y weithred o *gredu* yn unig yr oedd efe yn gallu ei hadnabod, a'i gwahaniaethu hi a'i chyfiawnder, oddiwrth eiddo y *ddeddf*, Rhuf. 4, 9. Dan y ddeddf, pan bechai Israeliaid yn rhyfygus, nid oedd nac aberth na golchiad a dalai i agor ffordd cymmod a Duw; yna, nid oedd i'r euog ddim i'w wneyd, ond troi at y ffydd, ac yno yr oedd yn lle aberth, galon ddrylliog; yn lle ymolchiad, ysbryd cystuddiedig; ac os bwriai y ddeddf ei chosp o labyddiad, neu yr un ysgafnach o ymweled â'r anwiredd ar blant yr euog:—os dewisai Duw y ffydd drwy ei broffwyd (nid ei swyddog gwleidiadol—yr archoffeiriad) gyhoeddi fod Duw yn maddeu y pechod anfad i'r edifeiriol, heb nac aberth nac ufydd-dod i'r ddeddf; a dewis o frenin gwladol y genedl gyhoeddi, "Nid ymedy y cleddyf a'th dŷ di byth!"—os fel hyn y byddai, gallai yr enaid, o ganol y cwbl, edrych am ddinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw rhad

ras. Y cyfiawnder a gyfrifid—sef, yn ol eu gwybodaeth hwy—y gyfundrefn rad a graslawn hon, oedd yn dwyn iddynt yr holl fendithion hyn: eithr, mewn gwirionedd, yr aberth—"ei waed ef," yr hwn a osodasai Duw heb yn wybod iddynt, yn orsedd o ras fry,—hwn, meddai Paul, oedd yn haeddu, ac yn peri yr holl fendithion a nodwyd iddynt. Iddo ef yr *oedd* yn wobr o ymddiried. yn *awr*, o gyfiawnder; i'r pechadur y pryd hyny, ac yn awr, gwobr o *ras* yn unig yw.

---

## TRAETHAWD XX.

### Y BEIRNIAID, AC ATHRAWIAETH Y CYFRIFIAD.

Bernais yn gymhwysach ymresymu yn y dull hwn â'r rhai mwyaf derbyniol o'r beirniaid, yn nghylch y golygiadau o'r eiddynt ar y pwnc yma, ag sydd yn groes i'r rhai a gefnogir yn y gwaith hwn, na chrynhoi ynghyd yr hyn a gafwyd allan yn nghorff y Traethawd diweddaf, yn ol y dull cyffredin. Rhoddir fel yma le teilwng i resymau Stuart, Barnes, &c., yn eu geiriau eu hunain, a gosodir yn eu hymyl yr hyn a fernir yn ysgrythyrol a chroes i'w golygiadau hwynt.

Bloomfield:—"Ymorphwysodd Abraham yn hollol ar Dduw a'i addewidion, mewn perthynas i'w had, &c., gan gyflawni yr holl ddyledswyddau ag a dybiai efe, drwy oleuni natur, rheswm, a chydwybod, ag a fyddai foddhaol i Dduw; er ei fod heb ei oleuo gan y dadguddiad dyfodol o ewyllys Duw, am yr hyn y cryf hiraethai efe; am hyny y cyfrifodd Duw ei ddewisol ymorphwysiad iddo ef *am*, ac a'i cymmerodd *yn lle*, yr holl ddyledswyddau perffeithiach, perthynol i ffydd ac ymarweddiad, ag a ofynid gan amlygiadau helaethach o'i ewyllys." Gwel ar pen. 4, 3.

Mewn atebiad i hyn, ni raid ond dadrys y gosodiadau sydd yn guddiedig o'i fewn, a'u gosod ar wahan oddiwrth eu gilydd.

*Yn* 1*af* dywed Bloomfield yma, fod Duw, oni buasai ffydd Abraham. yn gofyn ganddo ufydd-dod uwch a pherffeithiach nag a allesid ei ddysgwyl oddiar y goleuni ag a roisid ganddo iddo ef. Yr un peth yw hyn â gosod yn erbyn Duw, ei fod yn feistr caled, yn medi lle nis hauodd. Mae y beirniad hwn heb ddeall safon cyfrifoldeb dyn. *Yn ail*, dywed ddarfod i Dduw gymmeryd neu dderbyn gan Abraham y naill ufydd-dod anmherffaith yn *lle*, ac *am*, yr ufydd-dod perffeithiach a ddylasai efe gael, sef fod Duw yn cyfrif peth anmherffaith am beth perffaith; canys peth perffaith oedd y cyfiawnder a gyfrifwyd iddo ef. Mae hyn yn arwyddocad i'r gair *cyfrif*, nas gellais ei gael iddo drwy yr holl feibl. Pa beth bynag oedd ffydd Abraham, yr oedd hi yn ddigon o gyfiawnder iddo, canys ni chyfrifwyd dim arall yn gyfryw iddo. Rhaid mai cyfundrefn Rhad Ras oedd hi, ynte, fel y delir allan drwy y gwaith hwn. *Yn drydydd*, yn ol y desgrifiad hwn nid wyf fi yn gallu gweled dim ond y naill weithred yn cael ei chyfrif fel pe buasai yn weithred arall—"ymorphwysiad ac ymroddiad" yn lle "yr holl ddyledswyddau perffeithiach." Eithr dadleuai Paul mai gras a gyfrifid yn lle gweithredoedd; yr hyn oedd y ffydd fel cyfundrefn o ras, yn lle perffaith ufydd-dod, o'r hyn yr oedd Abraham yn brin fel ereill.

Carpzov:—"Ffydd a gyfrifir i gredinwyr am gyfiawnder, nid yn *hollol a chwbl*

nac o ran eu hurddas, rhinwedd, na haeddiant eu hunain; ond yn berthynasol neu *gydmhariaethol*, yn gymmaint a'i bod yn gafael yn Nghrist a'i haeddiant ef." Fel y hefyd Rosenmuller.

Dywed Paul mai yn yr efengyl y dadguddiwyd cyfiawnder Duw o ffydd, &c. Ac ymddengys mai un cyfiawnder cyfiawnhaol sydd erioed gan Dduw; a dywedir yn 1 Cor. 1, 30, mai Crist sydd wedi ei wneuthur yn gyfiawnder i ni gan Dduw. Yn awr, er y gallai ein duwinyddion hyn (canys beirniaid ni wiw eu galw *yma*) lyncu y dyb mai yr un peth yw Crist Duw a'n crediniaeth ni; haws yw genyf fi alw y ffydd a gyfrifwyd felly, nid yn weithred, ond yn gyfundrefn, yn yr hon y cynnwysir Crist, a holl ras Duw, a holl ddyledswyddau achubol dyn; yn benaf y *credu*. Hefyd, mae yn y desgrifiad hwn etto y chwithdod o alw yr hyn a eilw Duw yn gyfiawnder tragwyddol, yn rhyw fath o gyfiawnder, ag nad oedd, ychwaith, yn gyfiawnder hollol a chwbl, ond yn gyfiawnder cydmhariaethol yn unig!

Macknight:—"Ni ddywed yr ysgrythyr yn un man fod cyfiawnder Crist wedi cael ei gyfrif i Abraham, ac ni ddywedir, ychwaith, fod ei gyfiawnder ef yn cael ei gyfrif yn bresennol i gredinwyr. Athrawiaeth yr ysgrythyr, o gwr i gwr yw, mai ffydd y credadyn a gyfrifir iddo yn gyfiawnder, yn unig o ras neu ffafr Duw drwy Iesu Grist, hyny yw, oherwydd yr hyn a wnaeth Crist i bwrcasu y ffafr hòno iddo. Mae hyn yn dra gwahanol oddiwrth athrawiaeth y rhai a ddaliant fod y credadyn, drwy fod ffydd yn cael ei chyfrif iddo am gyfiawnder, yn dod yn berffaith gyfiawn; pa un bynag y maent, ai tybied fod ffydd ei hunan yn berffaith gyfiawnder, ai ynte ei bod yn offeryn trosglwyddiad perffaith ufydd-dod un arall i'r credadyn. Mewn perthynas i'r cyntaf, nid yw wir fod ffydd yn berffaith gyfiawnder; canys pe byddai, ni allai cyfiawnhad fod yn rhad rodd, ond yn ddyled: ac mewn perthynas i'r ail dyb, er i berffaith gyfiawnder un arall gael ei gyfleu i'r pechadur drwy ffydd, ni wnelai ef yn berffaith gyfiawn, canys y mae dros ben hollalluogrwydd ei hun, drwy un modd yn y byd, i wneuthur dyn yn un na phechodd erioed, ac yntau wedi pechu. Ac etto, os na ddeuir i ben a gwneuthur hyn, ni all un credadyn fod yn berffaith gyfiawn. Oherwydd perffaith gyfiawnder un arall, diau y dichon Duw ymddwyn at ddyn *fel pe byddai* efe yn hollol gyfiawn. Ond, dyna y cwbl. Ac nid yw yr ysgrythyr yn myned â'r pwnc yn mhellach."

Nid wyf yn gweled un gwall yn y sylw hwn, oddieithr yn hyny—ei fod yn gwadu cyfrifiad o gyfiawnder Crist yn y cyfiawnhad,—yn cymmeryd *ffydd* am grediniaeth, ac yn gorfod, o ganlyniad, ddal allan mai cyfiawnder anmherffaith yw cyfiawnder cyfiawnhaol pechadur, er ei alw gan Paul yn gyfiawnder *Duw;* ac oddieithr hefyd, ei fod yn cynnwys, nad yw y dyn cyfiawn drwy y drefn hon, namyn *fel pe byddai* efe yn gyfiawn, ar ol y cwbl. Yr oedd Adda yn Mharadwys yn mhell yn mlaen ar y fath ystad anmherffaith a hon. Ni ellais i weled unwaith y gair *cyfiawn* yn cael ei arferyd gan Dduw, am neb ag oedd ddim cyfiawnach na "fel pe buasai yn gyfiawn." Ystyr newydd hollol yw hwn ar y gair cyffredin *cyfiawn.*

Flatt:—"Y mae Duw wrth gyfiawnhau pechaduriaid yn derbyn eu hymddiriediad yn ei ras, yn lle y diniweidrwydd a'r santeiddrwydd a ddylasent feddu ger ei fron."

Nid yw hyn ddim amgen na chyfiawnhad drwy rinwedd ein hymddiriediad ein hunain yn Nuw. Gweithred o eiddo yr enaid sydd yma yn cael ei derbyn *yn lle* yr hyn a ddylasai fod genym—yn lle yr hyn ein gwelir gan Dduw yn fyr o hono; sef rhyw weithred o'r eiddom ein

hunain yn cael ei derbyn yn lle ein gwallau, neu bechodau, drwy ras Duw.

TELLER:—"Crediniaeth ddiysgog pechadur argyhoeddedig yn nhrugaredd dadol Duw, am faddeuant o'i bechodau a aethant heibio, a gyfrifir iddo ef yn haeddiant neu deilyngdod, ac a dderbynir yn lle y teilyngdod y mae efe yn amddifad o hono. Y cwestiwn yma nid yw, Pa beth ydyw gwir deilyngdod dyn? ond, Pa beth a addawodd Duw dderbyn yn ei le?"

Y gwall yma yw gosod Duw i gyfrif gweithred ddynol yn deilyngdod, tra yn cyfaddef ar yr un pryd, nad yw hi yn *wir* deilyngdod, ychwaith. Onid haws fuasai i'r gwr dysgedig dybied fod ffydd, nid yn weithred ond cyfundrefn, a hono yn cynnwys yr Iawn; a chyfrif hono yn gyfiawnder i'r pechadur? Felly gallasai osod Duw i gyfrif peth yn gyfiawnder ag oedd yn gyfiawnder mewn gwirionedd, ac nid yn rhith o beth; ac ystyried y ffydd a gyfrifid yn *ras*, ac yn "rhodd Duw," yn lle yn weithred o eiddo y dyn ei hun.

STORR:—"'Cyfrif cyfiawnder i rywun,' yw priodoli iddo gyfiawnder ag nad yw efe yn ei feddu, fel ag i ymddwyn tuag ato megys person cyfiawn; a 'chyfrif ffydd yn gyfiawnder,' yw ei chyfrif i'r dyn fel pe byddai yn weithred o deilyngdod neu wiwdeb—cyfrif ffydd fel rhinwedd deilwng o wobr." Felly Paulus, Stoltz, a Kypke.

Mae yr un sylwadau yn ddigonol ar yr esboniad hwn, ag a wnaed ar y rhai blaenorol. Ei brif wall yw priodoli i'r gair *logizomai*, cyfrif, yr ystyr o fod y cyfrifydd yn cyfrif i'r gwrthddrych beth ag y gwyr efe ei fod yn amddifad o hono, yr hyn sydd ddyeithr hollol i arferiad y gair. Gwel Traeth. XIX. Y gwrthddrych yma yw *crediniaeth* y dyn. Y ffaith am arferiad y gair cyfrif yw—pan gyfrifid rhywbeth *i* ddyn, yr oedd efe hebddo o'r blaen; ond pan gyfrifid dyn *yn* rhywbeth, yr oedd efe felly mewn ffaith, onide twyll fuasai y cyfrifiad. Mae felly wahaniaeth rhwng cyfrif dyn *yn beth*, a chyfrif peth *i ddyn*. Mae yn nghyfundrefn y ffydd, Grist i'w gael, wedi ei wneuthur gan Dduw yn gyfiawnder i'r crediniol. Pan gyfrifir ffydd yn gyfiawnder i'r hwn fo'n credu, cyfrifir *ef* o angenrhaid, ynddi, fel ei gwnaethpwyd gan Dduw yn ei holl berthynasau, &c. Dyna gyfrif *i ddyn* yr hyn nid oedd ganddo o'r blaen; ac o hyn allan cyfrifir ef *yn gyfiawn*, canys cyfiawn ydyw—cyfiawn gyfiawnhaol. Cyfrifir o hyd, bob peth yn bodoli yn hollol fel y bo, heb byth gyfrif un-peth yn beth arall. Buasai hyny yn groes i gymmeriad Duw, ac yn ddyeithr i arferiad y gair *cyfrif* drwy yr holl feibl.

BARNES:—"Y *weithred* o gredu a gyfrifwyd i Abraham yn gyfiawnder. Nid yw yn cyfeirio at gyfiawnder neb arall, megys Duw, neu y Messia; ond yn nghylch *gweithred rymus* ffydd Abraham y mae'r apostol yn son, yr hon *mewn rhyw ystyr* a gyfrifwyd iddo ef am gyfiawnder. Nid yw y gair Hebraeg *cheshib*, na'r un Groeg *logizomai*, yn cael ei arferyd am gyfrif i'r naill yr hyn sy'n perthynu i'r llall. Yr wyf wedi manwl olrhain i holl arferiad y gair, ac nid wyf yn ei gael unwaith am gyfrif i un yr hyn nid oedd yn perthyn iddo, nac am gyfrif arno yr hyn ni ddylasai gael ei gyfrif arno fel pwnc o hawl personol. Nid yw y gair byth yn cael ei arferyd am *drosglwyddo* neu osod ar un yr hyn nid yw yn perthyn yn briodol iddo. Ni ystyrir fod cyfiawnder Crist yn cael ei drosglwyddo yn y cyfiawnhad, nes ei ddyfod yn eiddo personol i'r pechadur—ond cyfrifir rhinweddau marwolaeth Crist iddo, nes y bo'n gymwys i

Dduw i'w ystyried, ac ymddwyn tuag ato fel pe buasai efe wedi ufyddhau i'r ddeddf ei hunan.'' Gwel ar pen. 4, 3, 5.

A chan fod barn ac esboniad Stuart hefyd mor debyg i eiddo Barnes, dyfynaf ef yn awr, fel y caffer sylwi ar y ddau ynghyd, ac arbed y drafferth o ad-ddywedyd yr un pethau.

Stuart:—"Ystyr y gair Groeg ag a arferwyd yn y Testament Newydd am *gyfrif*, yw cyfrif i rywun yr hyn fo'n eiddo iddo; hyny yw, ymddwyn tuag ato fel at un fo'n meddu y peth neu briodoledd a gyfrifir iddo. Gan hyny, ni ellir gwneyd allan radlonrwydd cyfiawnhad Abraham o'r ymadrodd dan sylw (pen. 4, 3). Nid oes ynddo ragor na bod Duw yn cyfrif ffydd Abraham fel cyfiawnder neu weithred gyfiawn. Ac felly y dywedir yr un peth am Phineas, Salm 106, 31; a'r un modd yn gyffredinol, pan ddywedir fod gweithred dyn ei hun yn cael ei chyfrif iddo, pa un bynag fyddo ai un dda ai un ddrwg, yr ystyr uid yw o anghenrheidrwydd, mai yn rhadlawn ei cyfrifir iddo, ond ei bod yn cael ei chyfrif iddo oherwydd ei bod yn perthyn iddo, ac am hyny mae y cyfrifiad iddo ef yn cytuno â'r ffaith o'r peth.

"Nid ydym i ddeall yr apostol fel pe dywedai fod ffydd Abraham, fel y cyfryw, yn yr amgylchiad a nodir yn Gen. 15, 6, y brif sail neu achos haeddiannol o'i hollol gyfiawnhad. Natur y peth, ynte, ac nid ffurf yr ymadrodd ag a ddefnyddir, sydd yn profi yma amcan yr apostol. Gellid, mae'n wir, ddadlu nad yw ffydd yn briodol ufydd-dod i'r ddeddf [dywed Barnes ei bod] fel y cyfryw; diau nad yw yn *berffaith* ufydd-dod. Ac nid oedd y ffydd a weithredwyd gan Abraham yn berffaith. Mae ei bod yn cael ei chyfrif am gyfiawnder ynte, yn cynnwys ei bod yn cael ei chyfrif am rywbeth ag nad ydoedd ynddi ac o honi ei hun; hyny yw, nid ydoedd hi gyfryw berffaith gyfiawnder ag a ofynid gan y ddeddf. Yr oedd ei chyfrif, gan hyny, am gyfiawnder, yn arwyddo gras o du Dduw. Nid fod yr apostol yn dal allan fod Duw mewn gwirionedd, yn ei bur ystyriaeth briodol ei hun, yn barnu ffydd Abraham yn beth gwahanol i'r hyn ydoedd. Anmhosibl yw i ni dybied hyn dros fynyd; canys byddai hyny yn dybied fod Duw yn gosod cam-brisiad ar bethau. Yr ydym yn dyfod, ynte, o anghenrheidrwydd i'r penderfyniad, mai ystyr *cyfrif yn gyfiawnder*, yw derbyn, ac ymddwyn at un fel cyfiawn. Mwy na hyn nis gallwn dybied, heb ar yr un pryd dybied fod Duw yn gosod yn ei feddwl ei hun, bris gwahanol ar bethau, i'r hyn ydynt mewn gwirionedd.'' Ar pen. 4, 3.

"Nid oes o fewn yr holl feibl un ymadrodd yn dywedyd fod pechod Adda na chyfiawnder Crist yn cael ei gyfrif i ni; nac un gair yn dangos fod pechod un dyn yn cael ei gyfrif gan na Duw na dyn iddyn arall. Os nad yw y gosodiad hwn yn gywir, mae gan y rhai a'i hammheuant y moddion o'u blaen i'w ddadymchwelyd. Ond, os nad yw efe yn gofyn dadymchweliad, yna paham ein gorfodir i ganiatau, fel gwirionedd sylfaenol, *ddull* neillduol o osod i lawr un athrawiaeth, ag sydd heb ei debyg yn yr holl ysgrythyr: yr hyn sydd mor dueddol i godi anhawsderau yn y meddwl ynghylch cyfiawnder ac uniondeb Duw; yr hyn sydd yn priodoli prif ragoriaethau y prynedigaeth i ddim ond pendant benarglwyddiaeth; yr hwn sy'n cyfrif pethau i fod yr hyn y cyffesa pawb nad ydynt, &c.?'' *Excurs.* V.

Gan fod amryw o dduwinyddion ein cenedl yn coleddu cyffelyb olygiadau i eiddo y ddau esboniwr poblogaidd hyn, dylid talu sylw manylach iddynt nag i'r rhai blaenorol.

Y bai cyntaf arnynt yw, eu bod, yn ol eu hymddangosiad i mi, yn groes iddynt eu hunain.

1af, "Cyfrifir peth i ddyn am ei fod yn perthyn iddo, ac yn eiddo iddo."

2il, "Nid oes ganddo ddim ond y weithred o gredu."

A chan hyny, nid oes dim yn cael ei gyfrif i ddyn, ond ei weithred ei hun o gredu, yn y cyfiawnhad.

1af, "Nid ffydd Abraham oedd yr achos haeddiannol o'i gyfiawnhad."

2il, "Ni chyfrifwyd dim ond hyhi yn gyfiawnder iddo."

A chan hyny, cyfrifwyd rhywbeth yn gyfiawnder iddo, ag nad oedd yn achos *haeddiannol* cyfiawnhad.

1af, "Nid oedd y ffydd a weithredwyd gan Abraham yn berffaith a chyflawn."

2il, "Y ffydd a weithredwyd gan Abraham yn unig a gyfrifwyd am gyfiawnder iddo."

A chan hyny, rhywbeth anmherffaith ac anghyflawn oedd y cyfiawnder a gyfrifwyd iddo.

1. "Ni chyfrifwyd cyfiawnder neb arall i Abraham: canys ni oddef y gair *cyfrif* fod dim ond eiddo y dyn ei hun yn cael ei ystyried yn y peth."

2. "Cyfrifwyd ffydd Abraham am rywbeth ag nad ydoedd hi ynddi ei hun."

Am hyny, ei eiddo ei hun a gyfrifwyd iddo, ac *nid* ei eiddo ei hun, ychwaith. Ei eiddo ei hun yn unig a gyfrifwyd iddo, meddaf, canys ni oddefa Stuart na Barnes i'r gair *cyfrif* gynnwys un trosglwyddiad; ac etto, nid ei eiddo ei hun a gyfrifwyd iddo, ychwaith, canys ni oddef athrawiaeth gras Stuart a Barnes i'r *weithred* o gredu gynnwys y cwbl a gyfrifwyd, canys y cyfiawnder ei hun oedd hwnw! *Ei eiddo ei hun,* medd IEITHYDDIAETH Stuart a Barnes, a gyfrifwyd iddo; ond, *nid ei eiddo ei hun ydoedd*, ar yr un pryd, medd DUWINYDDIAETH yr un esbonwyr!

Camddeallasant y gair *pistis*, ffydd, am y weithred o gredu, yn lle am y gyfundrefn o gadw drwy Grist; a'r canlyniad yw, dyryswch yn eu beirniadaeth, a hunan-groesineb yn eu duwinyddiaeth, drwy yr hanner cyntaf o'r epistol.

Swm y cwbl a gafwyd allan yw,

1af. Fod pechadur yn euog gerbron Duw, a bod o fewn ei euogrwydd ddiffyg o gyfiawnder diniweidiol drwy bechu o hono, a diffyg o gyfiawnder cyfiawnhaol drwy ei wendid i ddwyn allan yr iawn digonol.

2il. Fod y cyfundraethau crefyddol i gyd yn cynnwys cyfaddefiad o euogrwydd dan bechod, a phob un o honynt yn proffesu mai o'i mewn ei hun yr oedd y cyfiawnder cyfiawnhaol oedd yn eisieu ar ddynolryw.

3ydd. Fod cyfundraethau crefyddol paganiaeth yn creu gau-ddysgwyliad ar hyn; ac na luniesid mo'r gyfundrefn Foesenaidd erioed at yr amcan pwysig hwn; ac nad oedd y cymhwysiad Phariseaidd o honi at gyfiawnhau pechadur, yn ddim ond cnawd, a phechod, a damnedigaeth.

4ydd. Fod cyfundrefn y ffydd, sef trefn Duw o gymhwyso ei ras cadwedigol at gymmeriad pechadur drwy faddeuant, yn cynnwys y cyfiawnder oedd yn eisieu; er mai ei chyfrif hi, ac nid gweithredoedd rhinweddol y pechadur, yn ol trefn y cynlluniau ereill, yr oedd Duw wrth ei gyfiawnhau ef.

5ed, Megys nad y weithred o gredu oedd y ffydd hon [Gwel y Traeth. ar FFYDD], ond y gyfundrefn a nodwyd, yn hytrach, felly nid oedd raid i ni ddywedyd gyda'r duwinyddion dan sylw, fod Duw yn

cyfrif peth yn gyfiawnder, tra yn gwybod nad oedd efe yn berffaith gyfiawnder ar yr un pryd.

6ed, Na oddef ystyr y gair Hebraeg, *cheshib*, a'r gair Groeg, *logizomai*, eu troi yn ddim cyffelyb i gyfrif peth yr hyn nid yw y sawl fo yn cyfrif yn tybied ei fod mewn gwirioneddd; o ganlyniad, pan gyfrifai Duw fod dyn yn gyfiawn, cyfiawn ydoedd efe.

7ed, Pan arferid y gair am gyfrif i ddyn yr hyn nid oedd ganddo o'r blaen, cynnwysai y cyfrifiad bob amser drosglwyddiad o'r peth a gyfrifid o rywle i'r cyfryw ddyn: yn y cyfiawnhad, trosglwyddid yn rhyb neu farn y cyfiawnhawr, y drefn o grefydd a elwid *y ffydd*, i fod yn eiddo iddo ef. Y drefn hon ydoedd gyfiawnder cyfiawnhaol Duw drwy yr oesoedd, ac yn nghyfnod dadguddiad y dirgelwch, cafwyd allan mai Crist Iesu a'i waed ydoedd hi.

8fed, Megys y dywed Rhuf. 5, 13, nad oes fodd i gyfrif pechod heb fod yn gyntaf ddeddf neu gynllun uniawn i'w gyfrif; felly, gan hyny, y bu gyda phechod Adda ar bawb, pechodau Israel ar y bwch a nodwyd, pechod yr euog ar ei ben ei hun, a phechodau dynion ar Grist. Felly hefyd y rhaid fod deddf neu gyfundrefn yn gyntaf, cyn cyfrif cyfiawnder y Ffydd i Abraham a Dafydd gynt, nac i ninnau y pryd hwn. Lle na bo y peth a gyfrifir wedi ei weithredu gan y sawl ei cyfrifir iddo, ceir yn gysson drwy yr enghreifftiau a nodwyd, fod trosglwyddiad o ryw fath yn gyfansoddedig yn yr un gyfundrefn. Ar hyn nid oes air i'w wrthddywedyd gan y duwinydd. Y *beirniad* yn unig sydd i lefaru; canys ar ddadguddiad dwyfol yn unig, heb le i gynnorthwyon rheswm dynol, y rhaid adeiladu yr athrawiaeth.

Cymmered y Cymro uniaith bwyll uwchben y traethodau ieithyddol hyn, gan gofio nad oedd gan yr ysgrifenydd fodd i wneyd y pwnc pwysig hwn yn safadwy, heb dramwy allan o gynefin lwybrau yr iaith Gymraeg.

# ATTODIAD.

AMCAN yr Attodiad hwn yw cynnysgaethu y darllenydd anhyddysg a byr olygiad o'r Esbonwyr, Beirniaid, a Duwinyddion, hen a diweddar, a ddefnyddiwyd o fewn yr Esboniad hwn. Cefais gynnorthwyon adolygiadau Drd. Tholuck, Stuart, S. Davidson, y Bibliotheca Sacra, Biblical Repository, Studien und Kritiken, &c. i ffurfio barn am danynt.

---

AWSTIN (a fu farw 430, O. C.). Mae ei waith ar yr epistol hwn yn llawer rhy helaeth, a llwythog o gwestiynau a thybiau Manicheaidd a difudd, yn gymmysgedig ag ambell drem ar burdeb yr efengyl. Ystyriai y ddwy egwyddor o ddrwg a da yn dragwyddol, ac elent rhwng ei ddwylaw yn fath o un Duw, allan o'r hwn fel ffynnon y dylifai ffrwd angheurheidrwydd pechod yn gystal â daioni.

AQUINAS, Thomas (bu farw 1274). Ofer chwilio ynddo am ddeongliad grammadegawl nac ieithyddol, er fod tueddiadau da mewn aml un o'i sylwadau.

BALDWIN (*Comm. in omnes Epist. Pauli*, 1644). Mae ynddo ddysg a pheth gwreiddiolwch; ac y mae yn ol credo y Lutheriaid, yn lled uniongred.

BARNES, Alfred, sydd esboniwr da, manwl, ac ymarferol; ac y mae ei feirniadaeth, nid anaml, yn gywrain a gwreiddiol. Amcan proffesedig yr awdwr ydoedd gosod gerbron yr Ysgolion Sabbothol, mewn can lleied o eiriau ag oedd bosibl, wir ystyr ei destyn—canlyniadau pendant ei arholiadau, yn hytrach na'r modd y cyrhaeddodd efe i'w benderfyniadau—y "fel a'r fel y mae," yn hytrach na'r paham y mae felly. Mae cuddio'r *paham* oddiwrth ddarllenydd esboniad yn ei restru gyda'r anifeiliaid direswm.

BANER (1773), a ddug allan amryw frawddegau cyffelyb i eiddo Paul allan o'r hanesydd Thucydides.

BAUMGARTEN J. S. (fu farw 1757). Prif nodwedd ei sylwadau yw amddifadrwydd o wybodaeth eiriadol. Nid yw dda i ddim, os nad yw ei ddull o osod ei bethau yn rhestrau yn rhyw gymhorth i'w gynnwys yn y meddwl.

BEAUSOBRE *et* L'ENFANT (1741). Rhai sylwadau gofalus ac agos i'r testyn.

BELSHAM, Thomas. Beirniadol a duwinyddol ar y pynciau a elwir yn Socinaidd, dros ba rai y gwresog ddadleuai yr awdwr.

BENGEL, J. A. Dysgedig a duwiol; ond nid yn gallu cymhwyso ei ddysg at ei destyn yn aml, er yn gywrain iawn a medrus ar droion. Mae *Gnomen* Bengelius yn lled deilwng o'i ddilyn, fe allai, ar gyssylltiad y darddodiad a'r ferf; megys *credu i, credu yn, credu am, &c.* Bu farw yn y flwyddyn 1752.

Beneke a gyhoeddodd sylwadau byrion a dysgedig ar yr epistol hwn; eithr ni raid ond dywedyd ei fod yn benthyca ei destyn yn barhaus i brofi rhaghanfodiad yr enaid, ac yn cyfrif am iselder presennol dyn drwy ddal ei fod wedi pechu mewn stad flaenorol.

Bernhardy a ysgrifenodd ar gystrawen yr iaith Roeg, yn neillduol gyda chyfeiriad at y Testament Newydd, yr hyn a gyhoeddwyd yn y fl. 1829. Y mae y gwaith hwn yn deilwng o ganmoliaeth oherwydd rhesymoldeb ei olygiadau, a helaethder ei gynnwysiad. Agorodd ffordd i histori gyfansawdd o'r iaith. Y mae yn agored i gael ei feio, er hyny, oherwydd aneglurder ei ddrychfeddyliau.

Bertholdt a gyhoeddodd fath o ragarweiniad i'r Testament Newydd yn chwe rhan, yn 1812—19. Un o'r *Rationalists* ydyw, y rhai ydynt fath o lwyd-ddeistiaid, yn barnu gwyrthiau a phrophwydoliaethau yn anmhosibl. Nid yw Bertholdt yn fyr o ddysg na medr.

Beza. Gwelir talentau defnyddiol Beza i gryn fantais pan yn esbonio rhanau ymresymiadol y Beibl; mewn olrhain cyssylltiad y naill gyfran â'r llall, a grisiau olynol ymresymiad, arddengys cryn fedrusrwydd. Nid bach oedd ei graffder a'i ddysgeidiaeth ef, ychwaith. Yr oedd efe yn fwy hyddysg yn nuwinyddiaeth nag yn meirniadaeth y Testament Newydd. Etto, yr oedd ei athraw, Calfin, yn ddyfnach, nad beth am iachach, duwinydd nag ef.

Bloomfield, S. T. *(Recens. Synoptica)*. Casgliad o farnau amrywiol esbonwyr ydyw hwn, gan mwyaf o'r hen dadau a Germani. Mae arwyddion o ddysg a llafur yn yr awdwr, yn fwy nag o drefn, detholrwydd, a medr duwinyddol. Llanyddwr Arminaidd yw efe. 1827.

Bohlen, *Symbolae Pers.* 1822, sy'n cynnwys casgliad o ysgrifeniadau dwyreiniol, tra defnyddiol tuag at ddeall y Testament Newydd. Bu o ddefnydd i'r awdwr gyda rhai broddegau o eiddo Paul.

Bretschneider, C. G. *Lex. Man. Gr. Lat. in N. Test. Leps.* 1829. Mae llawer o gymhorth i ddeall Groeg y Testament Newydd i'w gael yn y Geiriadur hwn. Mae ei gyfeiriadau yn amlach i'r Septuagint, Josephus, a gwaith y tadau ol apostolaidd, nag eiddo Wahl a Robinson, yr hyn sy'n un o'i addurniadau. Eithr ceir ynddo enghreifftiau lluosog o ystyr gair ar ryw bryd neillduol, yn cael ei osod am ei wreiddiol arwyddocad. Mae Robinson i raddau mawr yn rhydd oddiwrth y gwall hyn. Nid llawer o dduwinyddiaeth sydd yn Bretschneider, ond y mae ynddo ormod, oddieithr ei fod yn iachach.

Bucer (bu farw 1551). Arddengys dalentau deongli da, golygiadau ystwyth a diorfod, rhydd, a lled wreiddiol, ac ar droion rai celfydd dros ben. Eithr nid oedd efe yn medru crafangu prif amcan yr epistol.

Bugenhagen, J. (1551). Monachaidd, athrawiaethol, cyfriniol, a disail.

Calovius (1668). Dyry sylwadau Grotius ger bron, yna etyb hwynt bob yn frawddeg. Gesyd fath o esboniad afrwydd a pherffaith Lutheraidd yn rhy aml, yn lle yr un beiblaidd a gondemnia.

Calvin, J. Ceir ei esboniad ar yr epistolau yn argraffiad Geneva, 1565. Ei wybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol oedd lawer llai nag a fedd rhai esbonwyr diweddarach; ond mewn dwyn allan feddwl ei destyn, ychydig a'i cystadlant. Yn *logic* yr esboniad y trig ei rymusder, yn hytrach nag yn ei eiriadaeth na'i frawddegiaeth. Meddai lygad craff, a chydnabyddiaeth agos â'r galon ddynol, a gonestrwydd a gwroldeb i gyhoeddi ei farn. Ni ellir byth ei ddarllen heb ennill rhywbeth, er nad yw efe i'w ddilyn yn rhy aml. Ceisiai yn ddibaid am sylwedd ysbrydol yr ysgrythyr. Ei philosophi Manicheaidd oddiwrth ei athraw, Awstin, a'i brycheuodd ef. Ni ddarllenais ond un, Chrysostom, o'i debyg am drosglwyddo ei hun i sefyllfa y personau a ddeonglai. Hon yw y brinaf o'r doniau esboniadol.

Camerarius. Un o ieithyddwyr penaf y Diwygiad Protestanaidd oedd hwn. Collodd yr 17eg a'r 18fed canrif, mewn cydmhariaeth â'r un flaenorol hon, mewn beirniadaeth.

Carpzov, J. B. (bu farw 1803) *Strict. Sacr. in Ep. ad Rom.* Y goreu am gydmharu priod-ddull Paul ag eiddo Philo; a thyna'r cwbl.

Campbell, A. *The Sacred Writings of the Apost. &c.* Cyhoeddwyd y cyfieithiad hwn fel eiddo Drd. Campbell o Scotland, Macknight, a Doddridge; eithr gadawodd yr awdwr hwynt, pa bryd bynag y galwai bedydd trochiad, a maddeuant drwy gyfrwng trochiad, arno i wneyd hyny. Heblaw hyny, mae efe ry ochrawg at Sosiniaeth. Etto, mae ynddo amryw welliadau, pan ymgadwo yn agos at y Groeg; ond mwy o aileiriad nac o gyfieithiad yw efe yn aml.

Chrysostom (bu farw 407). Gwerthfawr oherwydd ei fedrusrwydd i osod ei hun yn yr un sefyllfa â'r apostol, i ddwyn allan gyunwysiad ei fynwes, megys yn naturiol. Mae efe yn well gramadegwr, ac yn fwy synwyrol hefyd, na neb o'r hen dadau. Homiliau neu fyr-bregethau gwresog yw'r gwaith.

Clarke, A. Yn y rhan fwyaf o'r nodweddiedau penaf a ddylent enwogi deonglwr, mae y gwr mawr ei ddarllen hwn, yn eisieu. Ei nodiadau hanesiol a daearyddol y'nt y goreu. Ond, nid oedd ynddo nemawr fedrusrwydd athronyddol. Mae ei ragfarn yn meddu gormod o awdurdod ar ei farn. Ei eiriadaeth sydd weithiau yn blentynaidd. Craffder a threidd-deb ni welir yn ei ysgrifeniadau. Nid oes drem byth i ddyfnderau y gyfundrefn ddwyfol. Etto, ceir ynddo annogaethau da, ac aml bregeth drefnus. Nid annhebyg i Barnes yw efe yn hyn. O'r braidd y boddlonir heb fynu pob trysor yn nghrombil pob adnod.

Clericus, neu Le Clerc. Mae nodiadau rhagorol i'w cael drwy holl waith yr ysgolhaig hwn, pa rai a wthiwyd gan yr ieuangaf Rosenmuller i mewn i'w waith ei hun. Ei farn oedd dda, a'i ddull o ddeongli yn eglur. Etto, yr oedd efe yn fyr iawn mewn craffder duwinyddol. Cyhuddir ef, ac nid heb achos, o dueddiad at y *Rationalists*.

Cocceius (bu farw 1669). Coelgar, penboeth, *mystic*, a chredoaidd; etto yn feichiog ar wmbredd o ddysg a duwiolfrydedd, er heb esgor arnynt hyd yma, i'w cymhwyso at ei destyn.

Conquest. *The Authorized Vers. with Twenty Thous. emendations,* 1841. Ni ddaeth y cyfieithiad newydd, trefnus, a chwaethus hwn i fyny â dysgwyliad y cyffredin. Proffesa ddilyn yr awdurdodau uchaf; ond y mae ynddo ddwsingau o froddegau, hyd yn nod o fewn cylch ein hepistol hwn, yn hollol groes i'r awdurdodau a welasi i. Yn lle troi allan yn Ddr. *Conquest* concwerol, yn *Goncwest* concweredig y disgyna efe.

Cornelius a Lapide (bu farw 1637). Dichon rhai o'i ddyfyniadau allan o'r tadau fod yn ddefnyddiol. Yma ac acw, yn dra anaml, arddengys athrylithr a medr.

De Wette a ysgrifenodd Arweiniad i'r ddau Destament, lle mae y ddysg uchaf, a'r medr mwyaf, yn briod ag egwyddorion llwyd-ddeistaidd y *Rationalists.* Cyfaddefa y beibl yn air Duw, gan mwyaf, ond sugna allan o hono eilwaith ei holl ddwyfolder. Anwadal ydyw gyda'r gwyrthiau a'r prophwydoliaethau, y pryd hwn yn eu gwadu, a phryd arall fel yn adeiladu ei esboniadau arnynt. Ei waith ef yw y mwyaf *infidelaidd* o'r Rhagarweiniau i'r Testament Newydd a adwaen. Cyfieithwyd i'r Saesonaeg gan y Parch. Theo. Parker, o Roxbury, Mass. America. Mae efe wedi cyhoeddi esboniadau hefyd ar y rhan fwyaf o epistolau Paul, pa rai ydynt dra gwerthfawr ar ystyr geiriau a phriodddull brawddegawl yr apostol. Mae efe wedi mynwesu ardduliad Fries o gyfundrefn philosophaidd Kant, gan osod y teimladau yn bethau mwy sylweddol nag oeddynt gan yr olaf a enwyd. Gosodant allan darawiad anghymmodadwy rhwng gwybodaeth dyn a'i deimladau. Mae'n rhaid i'r esboniwr wrth De Wette, ond nid cyn y meddo chwaeth ddiogel y wenynen, i adael yn y blodeuyn yr oll a ddichon beri afiechyd yn y cwch.

Doddridge. Chwaeth yr esboniwr duwiolfrydig hwn oedd bur, a'i briod-ddull Seisnig yn gynllun i'w olynwyr. Ond ni feddai lawer o ffeldra nac amgyrhaeddiad meddwl; etto, yr oedd ei farn yn rhagorol, a'i bwyll a'i onestrwydd yn nodedig. Gedy ei alleiriad lawer o'i destyn yn dywyll, tra mae yn glasdwru grym yr ymadrodd gwreiddiol. Mae efe yn rhy bin-wibiog a phregethwraidd. Ei nodiadau ydynt ychydig, a chan amlaf yn gywir.

Erchhorn, J. G. Rhagarweiniad i'r Testament Newydd. *Leip.* 1804—15. Profesor Eichhorn a ddilynodd yr enwog Michaelis yn y gadair Dduwinyddol yn Gottingen. Ystyrir ei waith yn wreiddiol a thra dysgedig. Mae efe yn un o'r rhai a wadant ysbrydoliaeth Moses, gan ddal allan mai traddodiad yn unig a ddilynai efe. Rationalydd ydoedd efe, yn tybied mai yn ol barn eu cydoeswyr y dysgai'r apostolion. Etto, rhaid cyfaddef, fod o amser Semler ac Eichhorn, oddeutu 1770, gynnydd dirfawr wedi cymmeryd lle mewn rhydd-ymholiad esboniadol. Unionwyd llawer cam-farn; eithr cwympodd beirniadaeth yn ormodol odd*i*ar ei gwely credoaidd, i orwedd ar yr un newydd llwyd-ddeistaidd a elwir *Rational.* Mae hi wedi bod (ys dywedodd y Parch. Dr. Jenkyn) hyd yn ddiweddar, yn hollol wasaidd ei chlust wrth ddôr credoau, yn Nghymru. Ymollyngiad anafaidd a phwyllog, yn

unig, a'i ceidw rhag ymrwygo, a disgyn i'r ffos ddeistaidd sy'n ei haros yr ochr arall i'r llwybr.

Elsner, *Observ. ad N. Test.* 1728. Defnyddiol oherwydd ei ddyfyniadau egluriadol allan o'r hen ysgrifenwyr Groegaidd, ac ambell sylw ieithyddol a deongliadol.

Flatt (Tubingen, 1825). Arddengys gydnabyddiaeth â beirniaid diwedd y ganrif ddiweddaf a dechreuad yr un bresennol, ond diffygiol yw ei sylwadau o sail ieithyddol, ac arwynebol iawn y cloddio i bob athrawiaeth

Fritzsche, y Rationalydd, yr hwn a wnaeth yr ymosodiad cynddeiriog ar Tholuck, yn 1831, ac 1832, sy'n haeddu sylw tra pharchus, fel un a ddyrchafodd feirniadaeth ieithyddol y Testament Newydd; er ei fod yn aml yn camsyniad ystyr ei destyn, am y deongliad salwaf a phlentynusaf. Mae efe yn hidlwr gwybedyn mewn beirniadaeth, tra yn llyncu camel o gyfeiliornad barn. Ysgrifenodd ar Matthew, Marc, a'r Rhufeiniaid. Priodola i Grist a'r apostolion dybiau Phariseaidd eu hoes, yr un modd a Meyer a Ruckert.

Gesenius, a ysgrifenodd ar yr iaith Hebraeg, a'r prophwyd Esaia; ac y mae ei ddylanwad ef yn cyrhaedd gyda'r iaith a'r testyn a driniodd, hyd ar feirniadaeth y Testament Newydd. Ei Thesaurus ef yw yr helaethaf o'r holl Eiriaduron Hebreig. Ond rhagora argraffiad Winer o Eiriadur Hebraeg Simonis arno, yn athroniaeth y darddodiaid dwyreiniol. Er mor uchel yw Gesenius yn Mhrydain, yn yr ail o'r tri dosparth o eiriadurwyr ei rhestrir gan Hupfeld (1820); er ddarfod iddo, ond odid, lafurio yn helaethach na hwynt oll, yn y maes hwn. Yr oedd yntau yn gwella hyd ei ddiwedd. Gair Hebreig, i'r hwn y rhoisai efe wyth gwahanol ystyr, yn ei argraffiad cyntaf, a ollyngid yn rhydd ar bedwar yn unig, yn argraffiad 1833. Cyn llafur mawr Gesenius, trinid y Grammadeg Hebreig yn ol cyfundrefn fympwyol rheolau, megys gan Danz; neu ynte, heb un cynllun yn y byd, megys gan Vater, a'n Parkhurst ni. Grammadeg Gesenius oedd y cyntaf a ddug i mewn drefn eglur a syml ar driniaeth yr iaith barchus hon, ac a'i gwnaeth yn hawdd ei hamgyffred, a hawdd ei chynnwys yn y meddwl. Mae dull Ewald yn wahanol i eiddo Gesenius, yn ddyfnach ac anhoddach ei gipio, ond yn treiddio yn mhellach, hyd yn nod at yr elfenau mwyaf unplyg, mewn dadgylymu a chwalu cyfansoddiad yr iaith, gan ei gosod yn fwy amgyffredadwy fel trefnus gyfan-gorff. Mae traethodau Hupfeld ar yr un iaith, yn y Studien und Kritiken, yn chwalu cryn oleuni ar y pwnc. Amcenir hwynt i ddarparu y ffordd i Rammadeg Hebreig, yr hwn fydd yn rhagori ar un Ewald yn nghymmeriad sylfaenol ei olrheiniadau. Ni all deonglwr y Testament Newydd lwyddo heb ddeall iaith wreiddiol yr Hen.

Gill. Nodwedd penaf esboniad Gill yw pwysig syrthni. Mae yn fyr o grynodebiaeth a byrder. Mae ystyr y testyn yn cael ei adael yn aml heb un sylw, ac nid anaml, yn cael ei wyrdroi. Mae ynddo gelfi a defnyddiau dysgeidiaeth, heb ddysgeidiaeth ei hun. Mae ei gywir esboniadau yn llai nag a dâl amser y darllenydd i'w cael allan; a'r hyn sy'n waeth, gedy y darllenydd ef yn lled ammheus o ddwyfolder

y llyfr hwnw ag a oddefa gynnifer o wahanol ddeongliadau, ag a oddefa y beibl, yn ol Dr. Gill. Mae yr un duedd beryglus yn lliosogrwydd penau pregethwrol Barnes, ar ddim, yn aml, ond un adnod.

Glockler, a gyhoeddodd yn ddiweddar esboniad byr ar yr epistol hwn. Ymddengys mai Pantheist yw efe, yn ol y cymmysgedd diweddaraf o'r golygiadau hyny. Tybiant mai Duw yw o'r bron bob egwyddor fywiol a moesol yn mhawb. *Mystics* neu gyfrinwyr o'r radd eithaf ydynt. Etto, mae efe, yn gystal a Beneke (Pantheist cymhedrol arall) yn wyr synwyrol ar y cyfan, ac fel pe meddent deimladau difrifol ac efengylaidd. Mae awgrymau o werth i'w cael gan y ddau.

Gorres, yn ei *Account of Oriental Fables*, 1820, a geir yn agoryd y drws at athroniaeth y meddwl Iuddewig a Rhufeinig, yn yr oes apostolaidd. Sugnodd yr awdwr diddiogi hwn allan o'u *Fables*, ysbryd neu *essence* gwahanol grefyddau yr oes a'r gwledydd a nodwyd. Gall esboniwr Paul, Pedr, ac Ioan, weled yma y cyfundraethol dwyll, at ba un yr anelent eu hergydion. Mae y maes hwn wedi bod hyd yma o'r bron yn ddyeithr i droed yr esboniwr beiblaidd: eithr drwyddo, er mor annhebyg, y mae'r union lwybr at deml y gwir.

Grotius (bu farw 1645). Mae ei esboniad ar yr epistolau yn llawer gwaelach na'i eiddo ar yr efengylwyr. Mae ynddo ddysg, manyldra, a medr, i gyrhaedd ystyr geiriadol ei destyn. Ei chwaeth oedd dda, a'i ddull o ddadrys yr ystyr o'i destyn yn syml, uniongyrchol, a chryno. Yr oedd ei fynwes yn onest a diragfarn, a rhydd tuhwnt i neb o'i gydoeswyr. Dyfnder a chraffni ydynt lai amlwg ynddo. Aeth Calvin heibio iddo yn hyn. Beiai ei gyfoeswyr arno, o eisieu rhagor o Grist yn ei Hen Destament ef. Annelu dystryw i gyfundrefn Cocceius, a'r *mystics* ereill, yr oedd yntau, yr hyn oedd ganmoladwy ynddo. Ei brif wall oedd mewn dirnadaeth ysbrydol. Gedy ei destyn gyda golwg ar ystyr ieithyddol ei froddegau, heb dynu sylw y darllenydd at yr amcan crefyddol o'i flaen. Math o Armin, os nad Ariad trwyadl, oedd efe.

Guyse's *Practical Expositor*. Gweinidog ymneillduol oedd Dr. Guyse, oddeutu canol y ganrif ddiweddaf. Ei egwyddorion oeddynt Galfiniaeth lled uchel. Anaml yr ymgeisiai at feirniadaeth; eithr pan wnelai, yr oedd efe yn ddeheu ac eglur: ond, nid oedd yn ei amcan i feirniadu, yn gymmaint ag i arddangos tegwch ei gredo, a duwioleiddio ei ddarllenydd.

Hammond (1702). Llawer o feirnadaethau difreg, ac amryw camgymmerus. Mae efe yn cael y Gnosticiaid yn mhob man, yr hyn yw ei brif wall. Un o esbonwyr goreu esgobyddiaeth yw Dr. Hammond, er hyny.

Harless ar yr Ephesiaid sydd yn ddefnyddiol hefyd at yr epistol hwn, oherwydd ei feirniadaeth fanol a champus ar eiriadaeth yr apostol. Yn y nodwedd *hon* o anhebgorion esboniad, gellir dywedyd mai *master-piece* yw efe.

Hardy (1768). Lloffwyd y nodiadau, ac yn lled esgeulus, gan mwyaf, allan o Poole's Synopsis.

Hengstenberg's *Christology*, a gynnwysa Gristiaeth yr Hen Dest-

ament, iawn ddealltwriaeth o'r hyn a'n anhebgorol, cyn dirnad ymresymiadau ein hepistol dros y ffydd ol-bentecostaidd. Eithr, yn hyn, yn gystal a'i gymmeriad o'r ddawn brophwydol, anfoddlonawl yw efe i'r ysgolhaig. Diau fod celfydd-deb yn ei ymresymiadau; ond y mae efe yn rhy gaeth reolawg gyda'i brofion beiblaidd. Gesyd y barddonol brophwydi mewn *frame*, ac o'r bron, mewn *straight-waistcoats*. Etto, mae y rhan ddiweddaf o'i *Gristiology* mewn rhwyddach ysbryd na'r gyntaf. Prif hiraethiad awdwr y gwaith hwn i'r Cymry, yw cael hamdden a medr i ysgrifenu ar Gristiolaeth yr Hen Destament. Gwel ychydig yn y Traeth. ar *Ffydd.*

Henry, M. Mae enw y gwr da hwn yn barchus, a chedwir mewn coffadwriaeth dragwyddol. Nid oes ynddo nemawr o wir *esboniad.* Y mae yn llawn o bregethwriaeth. Syndod hefyd sydd, pa mor bell y dug ei synwyr a'i dduwioldeb ef tuag at ystyr ei destyn, ar wahan oddiwrth nodweddau uchaf esboniwr. Cymmysgedd anferth o ddysgleidiau danteithiol—*all in one course*—yw efe. Fel Issachar, fab Jacob, y gosododd efe bob un o bennodau ei feibl; ac yn y fan lle'u gosododd yr arosant,—yn gorwedd dan bwn o bregethau.

Hilarius, sydd esboniwr anhysbys. Gelwir weithiau yn Ambrosiaster. Blodeuodd rywbryd cyn Awstin. Cynnwysa ei waith amryw sylwadau annaturiol, ac ambell sylw lled ddedwydd a phriodol. Mae ynddo cryn orchest o bethau od.

Hodge (Prof). Gwerthfawr o ran ei drefn yn hytrach na'i gynnwysiad Lled dduwinyddol yw efe, a phrin iawn o ymgais at feirniadaeth ieithyddol. Ni ellir dywedyd iddo fyned dim yn mhellach na'i arweinydd, Calvin; ar ol yr hwn, "droed ymhwll," y gofalus ymlwybrodd. Etto, mae efe yn frith-synwyrol drwyddo oll.

Hughes, James. Casgliad lled ddestlus yw hwn, allan o esboniadau Henry, Scott, Brown, ac ereill, o'r hyn a gaffai "y detholydd" yn gyddarawiadol ag erthyglau yr enwad parchus y perthynai iddo. Dim yn ieithiadol, ychydig yn *logical*, a'r gweddill yn bregethau byrion, athrawiaethol, ac ymarferol. *Heavy luggage train* yw y cyfrolau hyn, *on the Narrow guage rail; monopolists of this corporation's paradise.* Dyn gwir dda a chall oedd Mr. Hughes: trueni na chaniatesid iddo gyfansoddi esboniad o'i feddwl ei hun. Achubasai hyny y detholiadau rhag siarad yn erbyn eu gilydd.

Hunnius (bu farw 1603). Hollol Lutheraidd ac anwreiddiol.

Jaspis, G. S. (1793). Lled wreiddiol, ond gwammal, a rhy anathrawiaethol.

Jenkins, John, o Hengoed. Addysgiadol iawn, yn fwy ar ddull nag ar flas Matthew Henry. Pe gwyddwn enw y fro sydd rhwng Uch-Galfiniaeth ac Antinomiaeth, a'r pentref ynddi lle ceir pwll Trochiadacth wrth ddrws paradwys, gwyddwn, a gallwn hysbysu, enw y fan lle mae yr esboniwr hwn yn aros. Ni nodiadau hanesiol yw y goreu: am rai beirniadol, ac ieithiadol, a medrus, a threiddiol yr awdwr, nis gellir dywedyd dim, oherwydd iddo ddewis eu cadw hyd oes ddyfodol yr ailargraffiad.

llygad. Trueni oedd i'w gyfeillion attal yr awdwr i gloddio allan ystyr ei destyn yn gelfyddol, ieithiadol, ac eglur. Ail-ddywed ei destyn mewn ymadroddion gwahanol a gwanhäol, ac (i'r ysgolhaig,) anfoddlonol. Mae yn lled bertfaith oll, canys "beibl ddwywaith ydyw."

PLATT sydd esboniwr rhagorol, yn aml cystal â Tholuck, oddieithr yn ei ymchwil cystrawenol.

REICHE sydd esboniwr dysgedig a gwreiddiol. Ei brif fai yw tybied fod Crist a'r apostolion yn dysgu yr hyn a gydweddai â chwaeth eu gwrandawwyr, ac mai yn ol a allwn wybod o farnau eu cyfoeswyr y gallwn eu hesbonio hwynt. Mae efe yn dra helaeth, olrheiniadol, ond lled wammal ac afiach ei dduwinyddiaeth.

ROSENMULLER sydd yn eir-ddeonglydd da, ond yn esboniwr egwan, a diysbryd, er yn amcanu at esbonio yn ystwyth a naturiol. Ei ddwyffon oedd Clericus a Michaelis. Ychydig a gerddodd efe yn hwylus hebddynt.

RUCKERT oedd frawd cyfundraethol i Meyer a Fritzsche: ond mae efe yn gallu myned i mewn i deimlad Paul yn well na'r blaenaf. Gwrthyd osodiadau yr apostol gyda chryn fyrbwyllder pan ymddangosont yn dywyll iddo.

SCHLEIERMACHER (1811) oedd ysgrifenydd mawr ar y gelfyddyd o ddeongli y Testament Newydd, o gynneddfau galluog dros ben. Ei dybiau duwinyddol, drwy'r cwbl, oeddynt frith-ddeistaidd.

SCHLEUSNER oedd eiriadurwr mawr yn ei oes ar Roeg yr ysgrythyrau. Yn awr, mae efe bron yn ddisylw. Ei ystyriaethau i air ydynt mor lluosog bron â'i ddyfyniadau o'i arferiad. Taflodd Wahl ef o'r neilldu ar y Testament Newydd; ac y maent yn dechreu blino arno yntau, erbyn hyn.

SCHMIDT, Chr. (bu farw 1778). Diragfarn, a threiddiol i rammadegiaeth yr apostol: ei amgyrhaeddiad ry gyfyng.

SCHMIDT, S. (1687). Mwyaf ei lafur, a'i lwyddiant, yn ol ei fanteision, o esbonwyr ei ganrif.

SCHOETGEN, *Hor. Talm.* sy'n ein cynnysgaethu â chyfymadroddion allan o'r Rabbiniaid.

SCHOTT (1829). Rhagarweiniad i lyfrau y Testament Newydd: difrifol, teg, a dysgedig.

SCOTT, Thomas. Synwyrol yn nghynnygiad ei dyb. Ychydig, er hyny, o wir ymgais at ddeongli yn ol deddfau y gelfyddyd. Mae yr awdwr duwiolfrydig yn pregethu o amgylch, ac yn gwanhau gewynau, ei destyn. Cadwodd ei amcan teg ef yn aml rhag gwyro; ond fel esboniwr, nid ydoedd na chelfydd na dysgedig. Dylasai feddu adnabyddiaeth mwy â'r testyn gwreiddiol, â'r gelfyddyd o'i ddadgymalu, â meddwl rhyddach oddiwrth iau gredöaidd, ac â threiddioldeb ysbryd.

SEMLER. Ysgrifenydd uchel ar reolau deongli, o'r un ysgol ag Ernesti a Keil, dros ddim ond y sych-lythyrenol yn unig. Bu efe gydag Eichhorn yn ffurfwyr cyfundrefn fwy resymol o ddeongli na'r rhai blaenorol. Trueni oedd iddynt lithro yn *Rationalists.*

## ATTODIAD.

Socinus, F. Uchel yn nysgeidiaeth ei oes, annibynol a llafurus. Ar ei enw ef y gelwir yr Undodwyr presennol, er eu bod yn dilyn Belsham a Priestley yn hytrach nag ef.

Staudlin, a ysgrifenodd ar y gelfyddyd o ddeongli, gan ddal, yn groes i Semler a Keil, y dylid ystyried cyssondeb y ffydd cyn penderfynu ystyr brawddegau un apostol.

Storr (1797). *Supernaturalist* dysgedig ydoedd, anfedrus yn ei driniaeth o gystrawen y testyn gwreiddiol.

Stuart, M. Tra dysgedig, manwl, a llafurus. Esboniwr grymus yn ol teg reolau iaith a chelfyddyd yw Stuart. Ei wall, os oes gwall ynddo hefyd, yw gwneyd i'w destyn wasanaethu ei olygiadau duwinyddol blaenorol ar ranau ereill o'r ysgrythyr. Er cystal fuasai genyf allu cydredeg ag ef, drwy amcan ac anhawsderau yr epistol hwn, methais, gan amlaf, er dim.

Taylor, John (1747). Enwog a dysgedig. Ariad pwyllog a grymus oedd efe. Mae yn ei esboniad lawer o olygiadau da, cywrain, a gwreiddiol; er yn lled sychlyd ac afiach.

Tholuck, Dr. F. A. G. Arddengys esboniadau y gwr dysgedig hwn y medrusrwydd uchaf yn ei gelfyddyd, tra'r olrheinia yn ferniadol eiriau a brawddegau, esgyna i awyrgylch puraf drychfeddyliau, gan ei ddwyn i wared, a'i chwalu yn gyfarwydd a chraffus ger ein bron. Gwell ieithadwr, debygwyf, na *logician*, yw efe.

Turner, Dr. H., *New York*. 1824. Nodiadau berniadol, ac nid duwinyddol, yn cynnwys cryn ddefnydd o feirniaid Germani, er nad yn ddiofal.

Usteri (Zurich, 1824), a ddadblygodd athrawiaethau yr apostol yn lled eglur, oddieithr lle cerdda yn ol traed ei athraw mawr, Schleiermacher, yr hwn nid oedd nemawr cywreiniach nag yntau. Lled arwynebol fel beirniad ydoedd, gyda'i holl rym athronyddol.

Walford. Byr, rhydd, a chryno, ond gwan fel beirniad, gan amlaf. Un o ysgol y *Cymmeryd yn ganiataol* yw yntau.

Wesley, J. (1734), difrifol, bywiog, ac athrawiaethol, yn fwy na berniadol.

Wetstein. Gwerthfawr fel beirniadaeth noeth. Cyplodd o'r bron bob brawddeg yn y Testament Newydd â'u cyffelyb allan o'r ysgrifenwyr Iuddewig, Groegaidd, a Rhufeinaidd. Gwell genyf ei ddefnyddiau na'i farn, o leiaf, ar athrawiaethau yr apostol.

Whitby (1761). Oni buasai yr iau Arminaidd oedd ar ei war, gallasai fod cystal ag un o esbonwyr Seisonig y ganrif ddiweddaf.

Winer, *New Test. Gram.* sydd anhebgorol i esboniwr y Testament Newydd. Gosododd ieithiadaeth y llyfr hwn ar sylfaen newydd cadarn, ac athronol. Anaml iawn y ceir byrbwylldra o'i fewn. At ei draed y gwelir ei holl wrthwynebwyr yn disgyn yn y diwedd.

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. JONES, MERTHYR-TYDVIL.